# AT Y DARLLENYDD.

WRTH derfynu gwaith blwyddyn arall, yr ydym yn cymmeryd y cyfleusdra i gyflwyno ein diolgarwch diffuant i'n darllenwyr, i'n dosbarthwyr, a'n gohebwyr, am eu ffyddlondeb yn ein cynnorthwyo i gadw yr HAUL yn y sefyllfa uchel y mae wedi ennill. Ac y mae yn dda genym allu adrodd ein bod wedi derbyn addewidion o gymhorth ychwanegol ar law rhai ysgrifenwyr hyddysg a medrus, yr hyn a'n galluoga i gadw'r HAUL, fel yn y blynyddau a aethant heibio, yn rhes flaenaf y cyhoeddiau Cymreig.

Y mae'r HAUL wedi cyflawnu gwaith da o amser ei gychwyniad cyntaf yn Llanymddyfri, ac wedi gwneyd ei ran er dwyn ym mlaen y cyfnewidiadau mawrion sydd wedi cymmeryd lle yn y cyfamser yng Nghymru, mewn perthynas i farn y wlad am bethau Eglwysig. Tra yr oedd y wasg Gymreig bron yn hollol yn nwylaw yr Anghydffurfwyr, a thra yr oedd y cyhoeddwyr a'r argraffwyr yn bregethwyr ac yn llyfrwerthwyr, yr oedd y werin yn cael eu camarwain o'r pulpudau ac o'r argraffdy ar faterion Eglwysig; ac nid rhyfedd i anwybodaeth a dallineb y gweinyddwyr beri cyfeiliornadau a rhagfarn yn y bobl. Ond y mae pethau wedi newid; mae llygaid y werin yn agored, ac mae gwir werth Eglwys gydag offeiriaid dysgedig a selog yn cael ei iawn brisio. Mewn canlyniad, mae yr Eglwys yn ymledu ar bob ochr: mae ei themlau yn amlhau; mae ei haddolwyr yn ychwanegu; ac y mae gwybodaeth am ei hanes, ei hawliau, ei rhagoriaethau, y gwaith y mae wedi wneuthur yn yr hen amser cyn i'r sectau

godi i fodolaeth, a'r gwaith y mae yn wneuthur yn yr amser presennol, pryd mae llawer ym mhlith y sectau wedi ymadael ag egwyddorion eu sylfaenwyr, yn cynnyddu beunydd.

Dymunwn dynu sylw ein cyfeillion at un peth o bwys neillduol yng nglŷn â'r amserau presennol. Mewn rhai plwyfi yn y Dywysogaeth, mae gelynion yr Eglwys wedi llwyddo i sefydlu ysgolion, yn y rhai ni chlywir son am grefydd o ddechreu'r wythnos hyd ei diwedd, ac yn y rhai y mae Llyfr Duw yn llyfr gwaharddedig. Er mwyn clwyfo yr Eglwys, y mae dilynwyr dynion ag y mae Cymru yn falch o'u herwydd—dilynwyr dynion o goffa bendigedig—wedi gwrthod egwyddorion ag y maent yn proffesu eu dilyn, a chwanegu at eu harwyddair, "Beibl i bawb o bobl y byd," yng nghyrddau y Feibl Gymdeithas, y geiriau "ond i blant tlodion Cymru." Ymddengys i ni ei bod yn ddyledswydd arbenig ar aelodau yr Eglwys i wrthwynebu yr anffyddlondeb hwn i egwyddorion hen dadau parchus Cymru, y rhai sydd wedi myned i'w gorphwysfa—i wrthwynebu yr anffyddlondeb hwn trwy ymdrechiadau gwresog o blaid yr Ysgolion Sul, a Dosbarthiadau Beiblaidd nosweithiol, fel moddion er attal yr anffyddiaeth sydd yn bygwth gorlifo'r wlad; a hyn yn enwedig mewn plwyfi lle y mae'r gyfundrefn wrthgrefyddol yn barod wedi cael ei sefydlu. "A gair Duw yn uchaf" sydd wedi bod yn arwyddair yr HAUL er ei ymddangosiad cyntaf, ac yr ydym yn teimlo yn awr yn gryfach nag erioed o'r farn mai prif ddiogelwch gwlad yw dysgu ei thrigolion o'u hieuenctyd yn athrawiaethau yr Efengyl; a'r moddion goreu er eu gwneyd yn ddedwydd yma a thu draw i derfynau amser yw ceisio planu ynddynt ym moreu eu hoes y duwioldeb ag sydd "ganddi addewid o'r bywyd y sydd yr awr hon, ac o'r hwn a fydd."

Y GOL.

// YR HAUL.

Cyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIF. 229. IONAWR, 1876. CYF. 20.

# HYNAFIAETH A CHYFANSODDIAD APOSTOLAIDD EGLWYS LLOEGR.

*Pregeth a draddodwyd o flaen y Gwir Barchedig Arglwydd Esgob Ty Ddewi, gan y Parch. Thomas Walters, D.D., Ficer Llansamlet, Morganwg, ar gyssegriad Eglwys yr Holl Saint, Kilvey, ger Abertawy, Tach. 4ydd,* 1875.

[Cyhoeddedig ar gais yr Hybarch Archddiacon Caerfyrddin ac amryw o offeiriaid ac ereill oedd yn bresennol ar yr achlysur.]

AT Y GWIR BARCHEDIG DAD YN NUW, W. BASIL, ARGLWYDD ESGOB TY DDEWI.

Fy Arglwydd,—Wrth wneuthur defnydd o ganiatâd eich Arglwyddiaeth i gyflwyno y bregeth a ganlyn i'ch nawdd, dymunaf hysbysu mai un dyben wrth hyny, ydyw ymdrechu dangos mewn dull mwy cyhoeddus a chyffredinol hynafiaeth ein Heglwys, a'i chyssylltiad anwahanedig â'r brif Eglwys apostolaidd.

Mae y gelynion lluosog sydd mewn cynghrair â'u gilydd, a'u hegnïon diflino i ddymchwelyd yr Eglwys, yng nghyd â'r amrywiol haeriadau disail a wneir mewn perthynas iddi, yn ei wneuthur yn ddyledswydd arbenig ar holl aelodau yr Eglwys, i fod mor gyfarwydd ag y medront mewn ffeithiau hanesyddol, i'r dyben o'u galluogi hwynt i roddi rheswm i'r sawl a ofyno iddynt am eu hymlyniad wrth hen Eglwys eu tadau, yn lle cael eu "cylcharwain â phob awel dysgeidiaeth."

Mae y parodrwydd gyda'r hwn y rhoddwyd caniatâd i mi wneuthur y bregeth ganlynol yn gyflwynedig i'ch Arglwyddiaeth, yn wystl ac yn ernes digonol o'ch awydd i gefnogi pob ymdrech i ddilëu camgymmeriadau, i symmud ymaith y rhagfarn sydd yn sylfaenedig ar anwybodaeth, ac i ddangos hynafiaeth a chyfansoddiad apostolaidd ein Heglwys.

Teimlaf yn wir ddiolchgar i Ragluniaeth dyner y nef, am ei gofal tirion am yr Eglwys, yng nghanol yr holl chwyldroadau a gymmerasant le o bryd i bryd. Er cymmaint yr anfanteision a'i hamgylchynai, mae yr Eglwys wedi ei throsglwyddo i lawr i ni heb ei dinystrio.

Teimlaf hefyd yn llawen ac yn orfoleddus, fy mod yn cael y fraint o gyflwyno y bregeth hon i esgob, yr hwn sydd yn Gymro genedigol o esgobaeth hynafol Ty Ddewi. Mae'r teimladau hyn yn ddirfawr gynnyddu pan ystyriaf mai eich Arglwyddiaeth yw y Cymro genedigol cyntaf a benodwyd am gannoedd o flynyddoedd i'r swydd oruchel yn yr esgobaeth hon. Nyni a obeithiwn yn hyderus yr arbedir bywyd eich Arglwyddiaeth am hir amser, i fod o fendith i'r esgobaeth. Y mae ymddygiad hynaws, tirion, a charedig eich Arglwyddiaeth, yn rhwym o sicrhau boddlonrwydd a chymmeradwyaeth gyffredinol.

Pan anrhydeddwyd fi â'r cyfleusdra i draddodi y bregeth hon ym mhresennoldeb eich Arglwyddiaeth, ymdrechais, hyd ag oedd ynof, fod mor onest a ffyddlawn i'r gwirionedd ag y medrwn, heb ddyweyd dim yn angharedig am ereill. Gallaf

dystio yn gydwybodol fy mod yn awyddus i beidio dolurio teimladau neb.

Gan daer ddymuno am i gyhoeddiad o'r bregeth hon fod, o dan fendith y nef, er lles a daioni i'm cydwladwyr, ac er gogoniant a mawl i Dduw.

Y mae i mi yr anrhydedd o fod,
Fy Arglwydd,
Gyda'r parch difrifolaf,
Eich mwyaf gostyngedig ac ufudd was,
THOMAS WALTERS.

*Llansamlet*, *Rhagfyr 8fed*, 1875.

---

"O Dduw y lluoedd, dychwel, atolwg; edrych o'r nefoedd a chenfydd, ac ymwel â'r winwydden hon: â'r winllan a blanodd dy ddeheulaw, ac â'r planigyn a gadarnhëaist i Ti dy Hun."—SALM lxxx. 14, 15.

MAE gwahanol farnau yn bod mewn perthynas i'r amser yr ysgrifenwyd y salm hon. Tybia rhai iddi gael ei hysgrifenu yn amser dinystr Ierwsalem gan Nebuchadonosor. Fe dybia ereill mai yn amser ymosodiad Senacherib ar Frenin Heseciah yr ysgrifenwyd hi; a thebygol yw mai hon yw y farn fwyaf gywir, o herwydd—

1. Yn amser Heseciah yr oedd Ephraim a Manasseh yn un â'r Iuddewon: cadwent y Pasc a dryllient y delwau gyda'u gilydd. Yn fuan ar ol hyn ymosodwyd ar y wlad, ac yr oedd Ierwsalem a'r deml mewn perygl. Dyma, yn ol pob tebygolrwydd, pan gweddïai y Salmydd ar Dduw, "Cyfod dy nerth o flaen Ephraim, a Beniamin, a Manasseh, a thyred yn iechydwriaeth i ni."—Salm lxxx. 2. Ond yn amser y caethiwed Babylonaidd, nid oes genym yr un hanes fod gan Ephraim a Manasseh ddim i wneuthur â materion Iwdah. Ond yr oedd Ephraim a Manasseh wedi bod yn llygad dystion o sel Heseciah yn y diwygiad; ac yn ganlynol i hyn, ni a welwn briodoldeb y weddi yn adnod 2.

2. Yr oedd Duw yn amser Heseciah yn preswylio rhwng y cerubiaid. Yno yr oedd y Secinah, neu yr arwyddlun o'r presennoldeb dwyfol. Ond yn amser Nebuchodonosor, dinystriwyd y ddinas a'r deml. Fe ddinystriwyd hefyd yr arch, y drugareddfa, a'r cerubiaid aur, ac ni adferwyd byth mo'r rhai hyn; o ganlyniad, tebyg yw i'r salm hon gael ei hysgrifenu yn amser y Brenin Heseciah.

Yn y testyn cymherir yr Eglwys i winllan. Mae y gwinwydd ynddi yn wanaidd ac yn egwan ynddynt ac o honynt eu hunain, yng nghanol gofidiau a pheryglon y byd; eithr y maent yn gryfion yng nghysuron eu Gwaredwr, ac yn amddiffynfa braich Hollalluog eu Duw.

Yr ydwyf wedi dewis y testyn fel yn un pwrpasol i'r amgylchiad hwn. Yr ydym wedi ymgynnull at ein gilydd i gyssegru a chyflwyno yr Eglwys hon at wasanaeth Duw a chrefydd am y dyfodol hyd ddiwedd amser. Adeiladwyd yr Eglwys hon rhyw ddeng mlynedd ar hugain yn ol, mwy neu lai, a chynnaliwyd gwasanaeth crefyddol ynddi o hyny hyd yn awr trwy drwydded yr esgob. Fel y sylwodd ei Arglwyddiaeth yn y boreu, nid oedd unrhyw rwystr i droi yr adeilad at ddybenion masnachol, pe buasai ewyllys i wneuthur hyny. Ond o hyn allan, mae yr adeilad wedi ei ddiogelu, ei neillduo, a'i gyflwyno at ddybenion crefyddol, tra fyddo ynddo gareg ar gareg.

Yn y blynyddoedd aeth heibio, credir yn hyderus i Dduw ymweled mewn modd grasol â'i bobl yma lawer tro cyn cyssegru yr adeilad. Pum mlynedd ar hugain i'r Sul nesaf y daethym i gyntaf i Kilvey; dyna pan y dechreuais i ar fy ngweinidogaeth yma. Wrth daflu golwg ar hen nodiadau perthynol i'r amser hwnw, gwelais yn ddiweddar bod yma saith ar hugain yn cymmuno yn yr Eglwys hon ar y Sul pen mis hwnw. Ar Sul pen mis ym mhen y flwyddyn, yr oedd y cymmunwyr yn ddeuddeg a deugain; yr oedd y nifer wedi agos a dyblu. Yn awr rhifir yr aelodau yma nid wrth y degau, ond wrth y cannoedd. Mae llawer un, yn cydaddoli â ni yma

bum mlynedd ar hugain yn ol, wedi dianc adref i wlad yr hedd; ond yr ydym ni eto ar y ddaiar yn sefyll mewn angen am ymweliadau Duw yn ei Eglwys. Priodol yw, gan hyny, i ni weddïo yn iaith y testyn, "O Arglwydd Dduw y' lluoedd, dychwel, atolwg; edrych o'r nefoedd a chenfydd, ac ymwel â'r winwydden hon," &c.

Sylwn ar—

I. Y winllan.

II. Planiad y winllan.

III. Peryglon y winllan.

IV. Gweddi y testyn mewn perthynas i'r winllan.

I. Y winllan.

1. O ran ei sefyllfa.

Yr oedd y Prophwyd Esai wrth son am yr Eglwys dan y gyffelybiaeth o winllan, yn dyweyd, "Gwinllan sydd i'm Hanwylyd mewn bryn tra ffrwythlawn." Nid mewn rhyw anial diffaith, neu greigle sych, eithr ar fryn yn llawn ffrwythlondeb. Y mae yr Eglwys yn aml yn myned dan yr enw bryn neu fynydd: "Minnau a osodais fy Mrenin ar Sïon, fy mynydd sanctaidd." "A bydd yn y dyddlau diweddaf fod mynydd ty yr Arglwydd wedi ei barotoi ym mhen y mynyddoedd, ac yn ddyrchafedig goruwch y bryniau." Ië, y mae gwinllan yr Eglwys yn ffrwythlawn o ran manteision a rhagorfreintiau. Mae y tir yn dda, y goleuni yn fawr, a'r moddion gwella yn aml. Y mae y Gair genym yn ein hiaith ac yn ein meddiant; mae yr athrawiaeth yn ei phurdeb; mae y "bryn yn dra ffrwythlawn." Y winllan,

2. O ran ei phlanigion: "Wedi ei phlanu o'r winwydden oreu."

(1.) Mae y testyn yn cyfeirio yn amlwg at yr Iuddewon fel yn blanedig yn Eglwys Dduw: "Mudaist winwydden o'r Aipht; bwriaist y Cenedloedd allan, a phlenaist hi." Felly, Duw blanodd yr Iuddewon yng Nghanaan. Yr oedd y genedl yn enwog yn nyddiau Dafydd a Solomon. Yr oedd yr Eglwys Iuddewig yn gorchuddio y wlad o Fôr y Canoldir hyd yr afon Euphrates: "Cuddiwyd y mynyddoedd gan ei chysgod, a'i changenau oedd fel cedrwydd rhagorol; hi a estynodd ei changau hyd y môr, a'i blagur hyd yr afon." Ac felly bu yr Iuddewon am oesau yn blanedig yng ngwinllan Eglwys Dduw. Eiddo iddynt hwy oedd "y mabwysiad, a'r gogoniant, a'r cyfammodau, dodiad y ddeddf, a'r gwasanaeth a'r addewidion." Hwynt-hwy bioedd yr oll o grefydd o dan yr hen oruchwyliaeth.

(2.) Yn bresennol y mae byd y Cenedloedd yn blanedig yng ngwinllan Eglwys Dduw. Mae canolfur y gwahaniaeth wedi ei ddattod, a'r rhai oedd gynt ym mhell a wnaethpwyd yn agos trwy waed Crist." Ië, yn awr y mae "rhai o'r dwyrain, ac o'r gorllewin, ac o'r gogledd, ac o'r deheu yn eistedd gydag Abraham, Isaac, a Iacob yn nheyrnas nefoedd." "Nid oes yn awr wahaniaeth rhwng Iuddew a Groegwr, o blegid yr un Arglwydd ar bawb, sydd oludog i bawb a'r sydd yn galw arno." Y winllan,

3. O ran manteision ffrwythlondeb. Mae gofal Duw am y winllan yn fawr.

(1.) Y mae hi yn meddu amddiffynfa ddwyfol. Mae hi wedi ei chloddio; mae cae wedi ei osod o'i hamgylch er mwyn ei diogelu. Mae Duw yn amddiffyn ei Eglwys: "Yn fur o dân o amgylch iddi, ac yn ogoniant yn ei chanol hi."

(2.) Y mae'r winllan wedi ei gwrteithio yn effeithiol: "Arloesaist o'i blaen."—Adn. 9.

Mae Duw yn symmud ymaith y rhwystrau oddi ar ffordd ei Eglwys; yn rhoi chwareu teg i'r planigion i ledu eu gwraidd a thyfu. Mae ein breintiau ni mewn ystyr gwladol a chrefyddol yn fawr mewn cymhariaeth i'r oesau aeth heibio. Yr ŷm ni wedi cael ein bendithio â thrugareddau, ac â manteision iachawdwriaeth.

Mae Duw wedi bod wrth y gwaith yn arloesi, ac y mae genym yn awr bob cyfle teg am iachawdwriaeth yr enaid.

II. Planiad y winllan: "Y winllan a blanodd dy ddeheulaw."

1. Mae'r winllan hon yn ddwyfol o ran ei phlaniad. Cafodd yr Eglwys ei sefydlu gan Dduw ei Hun ar y ddaiar, ac fe ofala Duw am ei Eglwys: "Pyrth uffern nis gorchfygant hi." Duw blanodd yr Eglwys: mae hi o benodiad dwyfol. Nid dyfais dyn er mwyn boddloni y teimladau yw yr Eglwys, eithr darpariaeth Duw ar gyfer angen dyn. Duw alwodd Abraham i fyned allan o'i wlad ac oddi wrth ei genedl, gan addaw ei wneuthur "yn genedlaeth fawr," "a'i fendithio a'i wneuthur yn fendith." Duw dynodd gynllun y tabernacl cyntaf, ac a rybuddiodd Moses ar wneuthur o hono "bob peth yn ol y portreiad" a ddangoswyd iddo yn y mynydd. Duw etholodd yr Iuddewon i fod yn bobl cyfammodol iddo ei Hun, yn "rywogaeth etholedig, yn freninol offeiriadaeth, yn genedl sanctaidd, yn bobl briodol i Dduw." Duw fudodd yr Israeliaid fel cenedl o'r Aipht, fwriodd allan y Cenedloedd, ac a'u planodd hwynt i mewn yng Nghanaan. Duw sefydlodd y llywodraeth yn eu plith mewn gwlad ac Eglwys. Efe ei Hun ydoedd awdwr y cyssylltiad rhyngddynt y pryd hwnw; a phlanwyd hwynt mor gadarn yn eu gwlad fel na fedrai eu gelynion ddim eu drygu, cyhyd ag y buont hwy fel cenedl yn ddeiliaid ffyddlawn ac ufudd i Frenin y nefoedd. Ac felly y gallesid dyweyd gyda'r priodoldeb mwyaf am yr Eglwys ym mhlith yr Iuddewon, mai "gwinllan ydoedd a blanwyd gan ddeheulaw Duw ei Hun."

2. Cafodd gwinllan Eglwys Dduw ei phlanu yn foreu yn ein gwlad ni.

Am lawer o oesau "hynod oedd Duw yn Iwdah, mawr oedd ei enw Ef yn Israel." Ond yn awr mae'r *commissiwn* wedi ei roddi "i fyned i'r holl fyd a phregethu yr Efengyl i bob creadur." "A phregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw Ef ym mhlith yr holl genedloedd, gan ddechreu yn Ierwsalem." Felly yr oeddynt i ddechreu gartref; eithr i beidio aros yno, ond myned allan, a pheidio dystewi hyd onid elai eu llinyn trwy yr holl ddaiar, a'u geiriau hyd eithafoedd y byd.

Planwyd yr Efengyl yn yr ynys hon ym moreuddydd Cristionogaeth. Mae gwinllan Eglwys Lloegr yn un o gangenau gwreiddiol yr Eglwys apostolaidd; hi all olrhain ei tharddiad yn ol o fewn i ychydig, os nid yn hollol, i oes yr Apostolion.* Y mae hon wedi parhau yn ein plith am dros ddeunaw cant o flynyddoedd. Y mae genym ffeithiau hanesyddol lawer yn profi hynafiaeth yr Eglwys

---

* Dywed rhai i Ioseph o Arimathea ac ereill gael eu gosod mewn llong, heb unrhyw rwyf na hwyl yn perthyn iddi, yn amser erlidigaeth Saul o Tarsus. Wedi dyoddef caledi mawr ar y môr, cawsant o'r diwedd eu trosglwyddo i dir Ffrainc. Buont yno am ysbaid blwyddyn o amser. Yn ol i'w cyfeillion yn Iwdea glywed oddi wrthynt, aeth tua deugain o honynt atynt i Ffrainc, ac yn eu plith yr oedd Philip yr apostol. Daethant wedi hyny i Brydain, a dywedir bod Ioseph o Arimathea wedi cael ei gladdu yn Ynys Afallon (Glastonbury). Y mae llawer hefyd yn hawlio fod Paul, apostol mawr y Cenedloedd, wedi anrhydeddu yr ynys hon ag ymweliad. Dywedir fod Brân Fendigaid, tad Caradog, a brenin Siluria, yn Neheudir Cymru, wedi bod yn gydgarcharor â'r Apostol Paul yn Rhufain, ac iddynt gael eu rhyddhau ar yr un pryd. Mewn canlyniad i hyn, darfu i'r Apostol Paul yn y flwyddyn O.C. 60 ymweled â theulu breninol Prydain, y rhai ag oedd wedi cael eu dwyn i gofleidio Cristionogaeth trwyddo ef. Mae'r golygiad hwn yn un naturiol iawn; ac ymddengys oddi wrth hyn fod yr Eglwys ym Mhrydain yn Eglwys wir apostolaidd, gan iddi ar y cyntaf gael ei phlanu gan Philip yr apostol, ac wedi hyny ei sefydlu a'i chadarnhau gan yr Apostol Paul. Ond, beth bynag am hyny, mae yn ddigon amlwg fod yr Eglwys wedi cael ei sefydlu ym Mhrydain o fewn ychydig i oes yr Apostolion, os na sefydlwyd hi yn nyddiau yr Apostolion eu hunain.

yn y wlad hon. Enwaf y pedair canlynol o hen dadau yr Eglwys yn profi hyn:—

*Tertullian*, yr hwn a fu byw o O.C. 160 hyd O.C. 225, a sonia am y "Brythoniaid y tu hwnt i gyffiniau y Rhufeiniaid," fel rhai a dderbyniasant yr Efengyl.

*Origen*, yr hwn a fu byw o O.C. 186 hyd O.C. 254, a gyfeiria at y Cymry fel yn un â Christionogion ereill: "Er yn rhanedig oddi wrthym ni," ebai efe. Cyfeiriad amlwg yw hwn at y môr sydd yn rhanu rhwng Prydain a Chyfandir Ewrop.

*Iustin Ferthyr*, O.C. 140, a ddywed fod "pob gwlad adnabyddus i Rufain yn cynnwys proffeswyr y Ffydd Gristionogol." Gwyddom fod Prydain Fawr yn ddigon adnabyddus i Iwl Caisar, ymherawdwr Rhufain, hanner cant o flynyddoedd cyn geni Crist, yn amser Caswallon, brenin enwog yr hen Gymry.

*Irenæus*, O.C. 169, a sonia am "Eglwysi Cristionogol ym mhlith y Celtæ," y rhai a gynnwysent amryw o lwythau Brytanaidd.

Yr oedd y rhai hyn oll yn byw yn oesau boreuol Cristionogaeth. O dan lywodraeth Cystenyn Fawr yr oedd y Cristionogion Brytanaidd yn lluosog. Yng nghynnadledd Arles, yn y flwyddyn O.C. 314, yr oedd tri o esgobion Cymreig yno wrth eu henwau—Eborius, esgob Caerefrog, Restitutus, esgob Llundain, ac Adelfius, esgob Caerlwydgoed. Yr oedd ein hesgobion yno yn feddiannol ar awdurdod cydradd ag ereill ac yn hollol annibynol o Rufain. Fel yma y gwelwn yn amlwg fod Cristionogaeth wedi cael ei phlanu yn foreu yn ein gwlad.*

8. Adferwyd yr Eglwys foreuol hon yn ol i'w sefyllfa a'i phurdeb dechreuol yn amser y Diwygiad Protestanaidd. Haera llawer o ddynion mai ymraniad oddi wrth Eglwys Rhufain yw Eglwys Lloegr; eithr camsynied hollol ydyw hyny. Nid ydym ni yn ddyledus i Rufain am ein Cristionogaeth, ac nid o Rufain y daeth yr Efengyl i Brydain.† Yr oedd genym ni Eglwys yn cynnwys esgobion, gweinidogion, a phobl yma

* Mae'r ffeithiau hyn yn profi (1) Fod yr Eglwys ym Mhrydain wedi cael ei sefydlu yn foreu: (2) Fod yr Eglwys yma yn flodeuog yn yr ail, y drydedd, a'r bedwaredd ganrif: (3) Fod esgobion yr Eglwys yng Nghymru yn cael ac yn derbyn gwahoddiad i gymmeryd rhan yn y cynnadleddau eglwysig ar y Cyfandir. Yn ystod yr holl dymmor hwn, yr oedd yr holl Eglwysi gafodd eu sefydlu gan y gwahanol Apostolion oll yn feddiannol ar awdurdod cydradd. Nid oedd Eglwys Rhufain y pryd hwnw yn honi unrhyw hawl i uchafiaeth cyffredinol, nac yn gwneuthur unrhyw ymdrech i "draarglwyddiaethu ar etifeddiaeth Duw." Y mae gan Eglwys Lloegr llawn cymmaint, os nid mwy, o hynafiaeth ac awdurdod apostolaidd yn ei chyfansoddiad, ag sydd gan Eglwys Rhufain; o herwydd nid oes genym unrhyw brofion boddhaol fod yr Apostol Pedr wedi bod yn Rhufain o gwbl yn sefydlu yr Eglwys yno.

† Er prawf o hyn, gellir enwi y ddadl fawr gymmerodd le am gynnifer o flynyddoedd rhwng yr Eglwysi Dwyreiniol, Eglwysi Asia, a'r Eglwysi Gorllewinol. Y ddadl oedd hyn:—Cadwai Eglwysi Asia eu Pasc ar yr un diwrnod ag y cadwai yr Iuddewon eu Pasc hwy, sef ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis cyntaf, yn cyfateb i'n mis Mawrth ni. Yr oeddynt hwy yn cadw'r Pasc ar ba ddiwrnod bynag o'r wythnos y dygwyddai i'r pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis fod. Ar yr ochr arall, yr oedd yr Eglwysi Gorllewinol, ac yn eu plith yr oedd Eglwys Rhufain, yn cadw y Pasc bob amser ar y Sul cyntaf ar ol hyny, gan haeru mai hwn oedd y traddodiad apostolaidd. Ond yr oedd Eglwysi Asia yn haeru eu bod hwy yn dilyn arferiad yr Apostolion eu hunain. Yr oedd yr esgobion Cymreig o'r un farn â hwynt, ac yn cadw y Pasc ar yr un diwrnod ag Eglwysi Asia. Yr oeddynt, gan hyny, yn hollol groes i Eglwys Rhufain yn y mater hwn, ac yr oedd y diffyg cydymffurfiad hwn â'r Eglwys hòno yn brawf cadarn ac yn eglur ddangos nad oedd yr Eglwys ym Mhrydain ddim wedi derbyn ei chrefydd oddi wrth Eglwys Rhufain. Parhaodd y ddadl hon hyd amser cynnadledd Nice, O.C. 325, pan y cytunwyd ac y penderfynwyd i gadw y Pasc ar yr un diwrnod trwy yr holl fyd, nid yn ol arferiad yr Iuddewon, ond ar Ddydd yr Arglwydd. Dydd Pasc

Adelphius Episcopus de Civitate Colonia [illegible]

am gannoedd o flynyddoedd cyn i neb o weinidogion Eglwys Rhufain, na dim o lygredigaethau Pabyddiaeth, ymddangos yn ein gwlad. Ni ddaeth Awstin Fynach na neb o'i gyfoedion yma o Rufain hyd y flwyddyn O.C. 597. Yr oedd yr Eglwys wedi cael ei sefydlu yn y wlad hon yn hir cyn hyny; a bu yr hen Eglwys Brydeinig yn hir yn gwrthsefyll holl ymosodiadau Pabyddiaeth. Ebai Arglwydd Bacon, "Dywedodd y Brytaniaid wrth Awstin Fynach na fyddent hwy ddim yn ddarostyngedig iddo, ac na oddefent hwy ddim iddo ef i wyrdroi cyfreithiau hynafol eu Heglwys." Cadwodd yr Eglwys Frytanaidd ei rhyddid am chwech cant o flynyddau wedi hyny, ar ol dyfodiad Awstin i'r wlad. A'r hen Eglwys Frytanaidd ydoedd yr olaf o holl Eglwysi Ewrop i ymostwng o dan awdurdod y Pab. Ond o'r diwedd, yn y flwyddyn O.C. 1213, cydymffurfiodd Eglwys y wlad hon â defodau a llygredigaethau Eglwys Rhufain.

Ond yn amser y Diwygiad, fe adferwyd yr Eglwys i'w phurdeb dechreuol. Nid sefydlu crefydd neu sect newydd wnaeth yr hen ddiwygwyr Cranmer, Latimer, a Ridley, eithr diosg yr hen grefydd a thaflu ymaith hen wisgoedd llygredig Pabyddiaeth. Gofyn wnaethant hwy "am yr hen lwybrau, lle mae ffordd dda, a rhodio ynddi." Darfu iddynt hwy ddiwygio, ar egwyddorion ysgrythyrol, y cyfeiliornadau na pherthynai i'r hen Eglwys. Darfu iddynt ysgwyd ymaith yr iau babyddol, ac ailsefydlu annibyniaeth yr Eglwys. Nid *ymraniad* ydoedd hyn, eithr *adferiad* ydoedd i burdeb dechreuol.

4. Y mae Eglwys bresennol ein gwlad yn un, o ran hanfod a bodoliaeth, â'r un for[illegible]l—un cyfran ffydd, athrawiaeth, a threfn eglwysig. Y mae hi wedi bodoli yma oddi ar yr oesau boreuol. Trawslywodraeth a thrawsawdurdod oedd eiddo Eglwys Rhufain yn y wlad hon; yr oedd ei gweinidogaeth hi yn drais ac yn ormes. Darfu i drigolion y wlad hon wrthsefyll ei hymosodiadau am oesau lawer; ond o'r diwedd, aeth y wlad a'r Eglwys o dan ddylanwad Rhufain. Yr oedd y Pab yn penodi breninoedd i'r orsedd, yn gystal a gweinidogion i'r Eglwys. Er enghraifft o hyn, digon fydd crybwyll am Philip, brenin Ffrainc.

Yn y Diwygiad Protestanaidd, purwyd y wlad a'r Eglwys oddi wrth ddylanwad Pabyddiaeth. Ymunodd yr holl genedl, yn wŷr llên a gwŷr lleyg, yn y symmudiad, a daeth yr Eglwys allan o dan y gaddug oesol; ac er gwaethaf ymledaeniad ac halogrwydd Pabyddiaeth, yr un yw yr Eglwys yn awr a chynt. Yr un yw gwyneb y glöwr cyn ac wedi ei olchi, a'r un yw yr Eglwys cyn ac wedi y Diwygiad. Nid yw penadur yn ddim llai ei werth er cael ei gladdu mewn llaid: ar ol ei olchi a'i lanhau, y mae mor bur a gwerthfawr ag erioed. Felly yr Eglwys, er cymmaint yr ammhuredd a'r llygredd fu yn ei gorchuddio hi o dan iau Pabyddiaeth, wedi bod yn guddiedig ac o'r golwg, hi ddaeth allan yn y Diwygiad yn ei phurdeb a'i gogoniant dechreuol. O ganlyniad, nid Eglwys newydd neu sect newydd a ddaeth i fodoliaeth y pryd hwnw yw Eglwys Lloegr; eithr yr hen Eglwys Brydeinig wedi ei hadferyd i'w sefyllfa a'i hannibyniaeth dechreuol, wedi ei chadarnhau â gwaed y merthyron, yn parhau mewn bodoliaeth hyd heddyw: "Wedi ei hadeiladu ar sail yr Apostolion a'r Prophwydi, a Iesu Grist ei Hun yn ben conglfaen." "Y winllan a blanodd deheulaw Duw."

III. Peryglon y winllan.

Mae gwinllan Eglwys Dduw yn

yn awr yw y Sul cyntaf wedi'r llawn lleuad a syrthio ar neu nesaf ar ol yr unfed dydd ar hugain o Fawrth; ac os dygwydd y llawn lleuad ar ddydd Sul, dydd Pasc yw y Sul ar ol hyny.

agored i beryglon: mae "ei chaeau yn cael eu rhwygo, y baedd o'r coed yn ei thwrio, a bwystfilod y maes yn ei phori."

Nid oes yr unrhyw Eglwys i Dduw yn bur ar y ddaiar: "Mewn llawer o bethau yr ydym bawb yn llithro." Y mae Duw yn aml yn ceryddu ac yn cospi ei Eglwys am anffyddlondeb ei phlant; ac felly, gwelir peryglon yn amgylchynu yr Eglwys oddi ar y dechreu. Ond yng ngwyneb y cyfan—er gwaethaf anffyddlondeb gweinidogion ac annuwioldeb y bobl—er cymmaint amrywiaeth yr ymdrechiadau sydd wedi cael eu gwneuthur o bryd i bryd i ymosod ar yr Eglwys er mwyn ei dymchwelyd hi—y mae braich anweledig y Duwdod tragwyddol wedi bod yn amddiffynfa iddi yng ngwyneb ymosodiadau ei gelynion penaf. Y mae diogelwch parhäus yr Eglwys, o dan y fath amgylchiadau, yn dystiolaeth eglur o'r ffaith mai nid ar law dyn y mae ei llwyddiant a'i pharhâd yn ymddibynu: "Nid trwy lu ac nid trwy nerth, ond trwy fy Ysbryd I, medd Arglwydd y lluoedd." Gellir dyweyd am yr Eglwys, "Ni syrthiodd, o blegid sylfaenesid hi ar y Graig." Dichon i "freninoedd y ddaiar ymosod, ac i benaethiaid ymgynghori yng nghyd, yn erbyn yr Arglwydd ac yn erbyn ei Grist Ef; ond, yr Hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd a chwardd, yr Arglwydd a'i gwatwar hwynt."

Yn awr, y mae gan bob oes ei pheryglon; ac ef allai mai prif beryglon yr oes hon yw y rhai a ganlyn:—

1. Ymosodiadau Pabyddiaeth.

Cyn y flwyddyn O.C. 1570, ychydig mwy na thri chant o flynyddoedd yn ol, yr oedd yr holl bobl yn addoli yn yr un Eglwysi, yn eistedd o dan yr un weinidogaeth, ac yn derbyn yr un sacramentau; nid oedd y pryd hwnw ddim ond un cymmundeb crefyddol o bobl trwy'r deyrnas. Yn ystod y tair ar ddeg o flynyddoedd diweddaf Harri VIII.—y pum mlynedd o deyrnasiad Iorwerth VI., y pum mlynedd o deyrnasiad Mari Waedlyd, a'r un ar ddeg o flynyddau cyntaf teyrnasiad y Frenines Elisabeth; hyny yw, am bedair ar ddeg o'r blynyddoedd mwyaf terfysglyd, mewn ystyr grefyddol, yn hanes y deyrnas—nid oedd yr un corff enwadol a chrefyddol o bobl ym Mhrydain heb law yr Eglwys. Yn y flwyddyn O.C. 1570, darfu i'r Pab Pius V. esgymmuno y Frenines Elisabeth. Dyna yr amser pan y darfu i'r blaid babyddol ac ofergoelus, o herwydd ofn melltith y Pab, ymneillduo o honynt eu hunain oddi wrth yr Eglwys; hwynt-hwy oedd yr Ymneillduwyr cyntaf yn y wlad hon: *

* Ym mhen deng mlynedd ar ol hyny, sef yn y flwyddyn O.C. 1580, darfu i un offeiriad o'r enw Robert Brown, un o brif sylfaenwyr yr Annibynwyr, y rhai a elwid ar y cyntaf "*Brownists*," ffurfio plaid neu sect grefyddol newydd. Bu y dyn hwn yn ddarostyngedig i lawer o erlidigaethau; ond mewn amser, aeth efe a'i blaid allan o'r wlad, ac ymsefydlasant yn Zealand, yr ynys fwyaf perthynol i Denmark. Rhoddwyd caniatâd iddynt yno i gynnal addoliad i Dduw yn ffordd eu hunain, ac i ffurfio Eglwys yn ol eu cynllun eu hunain. Ond yn fuan darfu iddynt anghytuno â'u gilydd ac ymranu yn gynnifer o bleidiau, fel ag y darfu i'w sylfaenydd flino ar ei swydd, a dychwelyd yn ol i Loegr ym mhen tua deng mlynedd ar ol sefydliad cyntaf y blaid, yn y flwyddyn O.C. 1589. Fe ymwrthododd Brown ag egwyddorion Ymneillduaeth, a threuliodd yr un flynedd a deugain olaf o'i fywyd yn offeiriad yn Eglwys Lloegr. Yr Eglwys Annibynol neu Gynnulleidfaol gyntaf yn Lloegr a sefydlwyd O.C. 1616 gan un Mr. Jacob, yr hwn oedd wedi coleddu golygiadau Mr. John Robinson, gweinidog i gynnulleidfa o *Brownists* yn Leyden, Holland. Dyma darddiad cyntaf ffynnonell Ymneillduaeth yn Lloegr. Mae hanes gwahanol bleidiau crefyddol ereill y deyrnas yn rhy adnabyddus i helaethu arno; ond mae yr ymrâniadau, y rhan amlaf o honynt, wedi cymmeryd lle mewn canlyniad i ymadawiad â'r Eglwys, a gwrthodiad i aros yn ei chymmundeb hi. Dywedir fod enwadau crefyddol y deyrnas yn awr, ar lyfrau y cofrestrydd cyffredinol, yn agos i gant a hanner mewn rhifedi.

"Oddi wrthym ni yr aethant hwy allan, eithr nid oeddynt o honom ni."—1 Ioan ii. 19. Y mae y blaid grefyddol hon yn awr am adennill y tir a gollwyd yn amser y Diwygiad. Ac oddi ar y flwyddyn O.C. 1827, pan basiwyd "Deddf Rhyddid y Pabyddion," y maent yn gwneuthur ymdrechiadau egnïol i ledaenu y grefydd babaidd trwy y wlad; maent yn ymgynnyg am yr awdurdod yn y weinyddiaeth a phenswyddogaethau y wlad. Yn ystod y chwech mlynedd a deugain hyn, mae Pabyddiaeth wedi ennill tir lawer ym Mhrydain.

2. Uchel ddefodaeth Eglwyswyr.

Y mae hwn ar gynnydd. Mae y Gwasanaeth a'r defodau yn bobpeth, a'r bregeth yn ddim; pan mewn gwirionedd, pregethu yr Efengyl yw prif ordinhâd Duw i ddwyn trefn ar y byd. Nid oes unrhyw foddion arall o wneuthur daioni wedi mwynhau mwy o gymmeradwyaeth y Nef. Trwy bregeth Pedr ar ddydd y Pentecost y dwysbigwyd tair mil o eneidiau, ac yr enlistiwyd hwynt o dan faner hedd. Trwy bregethu Luther yr ysgydwyd gorsedd pabyddol trais a gormes Eglwys Rhufain hyd ei seiliau, effeithiau pa ergyd a deimla hi hyd heddyw. A thrwy bregethiad yr Efengyl yn ddiau y dymchwelir hi yn hollol yn y diwedd, pan y gwna y bydyssawd adseinio gan y foullef, "Syrthiodd Babel, syrthiodd Babel." "Mor weddaidd," ynte, "ar y mynyddoedd yw traed y rhai sydd yn efengylu, yn cyhoeddi heddwch." Yr oedd yr hen Esgob Latimer yn barnu mai un o brif amcanion Satan oedd dyrchafu seremonïau a bychanu pregethau. O'm rhan fy hun, nid oes genyf lawer o ffydd mewn defnyddioldeb ffurfiau, a gorymdeithiau, ac aml sacramentau. Mae y rhai hyn oll yn dda yn eu lle. Mae y Gwasanaeth, a'r canu, a'r cwbl yn dda yn eu lle. Ond beth am gyflwr ysbrydol y bobl sydd yn gwatwar pregethau ac yn boddloni ar allanolion? "Na ddirmygwch brophwydoliaeth." Gorchymmyn olaf Paul i Timothëus oedd, "Pregetha'r Gair. Mae y ddau archesgob presennol yn Lloegr wedi cydnabod fod perygl rhag i'r blaid ddefodol ddymchwelyd egwyddorion y Diwygiad. Y mae llawer o ddynion yn ymdrechu eu dadwneyd; maent yn arwain eu cynnulleidfaoedd o gam i gam yn ol i fynwes Eglwys Rhufain.

3. Anffyddiaeth cyhoeddus.

Mae hwn yn gwenwyno y byd. Y mae tuedd gref mewn llawer o ddynion i ammheu a gwadu egwyddorion sylfaenol y Beibl. Mae hen resymau, sydd wedi eu hateb drosodd a throsodd drachefn, yn cael eu dwyn allan fel newydd bethau. Y mae y *Pentateuch*, sef pum llyfr Moses, yn cael ei anghredu; y gwyrthiau a gyflawnwyd, y rhai a gofnodir yn yr Hen Destament a'r Newydd, yn cael eu hystyried fel hen chwedlau. Mae gwirioneddau yr Efengyl yn cael eu hammheu; mae aberth iawnol y Groes a dylanwadau grasol yr Ysbryd Glân yn cael eu diystyru, &c. O, mae torf o ddynion "yn feilchion ac anwybodus, â'u serch arnynt eu hunain, yn ddiserch i'r rhai da."

4. Ymraniadau a chroesddybenion ym mhlith proffeswyr crefydd.

Mae cymmundeb y saint wedi cael ei rwygo. Y mae anghydfod proffeswyr crefydd yn beryglus i winllan yr Eglwys. Mae gormod o groesdynu yn bod rhwng yr Enwadau crefyddol â'u gilydd; mae gormod o osod i fyny allor yn erbyn allor, addoliad yn erbyn addoliad, gweinidog yn erbyn gweinidog, a chapel yn erbyn capel; mae gormod o ymbleidio yn bod o lawer. Yr oedd Sant Paul yn ceryddu yr ymraniadau crefyddol yn ei amser ef yn llym iawn. Dywedai un, "Yr ydwyf fi yn eiddo Paul, minnau yn eiddo Apolos, minnau yn eiddo Cephas, minnau yn eiddo Crist. A ranwyd Crist? Ai Paul a groeshoeliwyd

drosoch? neu yn enw Paul y'ch bedyddiwyd chwi?"—1 Cor. i. 12, 13. Y pryd hwnw yr oeddynt oll yn gydaelodau o'r un Eglwys, yn proffesu yr un grefydd, yn perthyn i'r un cymmundeb crefyddol, ac yn eistedd o dan yr un weinidogaeth; ac eto yr oedd yr apostol yn tystio eu bod hwy o dan ddylanwad teimladau cnawdol wrth ymbleidio felly: "Canys cnawdol ydych chwi eto; canys tra fyddo yn eich plith chwi genfigen, a chynhen, ac ymbleidio, onid ydych yn gnawdol ac yn rhodio yn ddynol? Canys tra y dywedo un, Myfi ydwyf eiddo Paul, ac arall, Myfi wyf eiddo Apolos; onid ydych chwi yn gnawdol?" Os oedd ymddygiad y bobl wrth ymbleidio y pryd hwnw yn gnawdol, pa faint mwy felly ydyw hi yn bresennol? Y mae dynion yn awr yn ymrestru o dan weinidogion sydd heb fod yn dal unrhyw gymmundeb â'u gilydd. Mae cyfundebau crefyddol ein gwlad, rhai o honynt, yn berffaith wrthwynebol i'w gilydd. Y mae llawer o siarad a dymuno am fwy o undeb a chydweithrediad crefyddol; mae yn anhawdd gwybod pa fodd y mae sicrhau hyn, oddi eithr mewn ymlyniad wrth yr Eglwys: nid oes modd dysgwyl am danynt mewn ymbleidio ac ymranu.* Hen arwyddair Rhufain fawr gynt oedd, "*Divide et impera;*" hyny yw, "Rhenwch a gorchfygwch"—mynwch ennill y fuddugoliaeth trwy greu anghydfod ym mhlith eich gelynion. Felly hefyd Rhufain babyddol. Fel y sylwyd, hi greodd yr ymraniad crefyddol cyntaf yn y deyrnas hon, ac y mae hi yn awr am adennill buddugoliaeth trwy greu anghydfod yng ngwersyll y Protestaniaid. Y mae perygl mewn ymraniadau; dylem ymdrechu i ymwasgu yn nes at ein gilydd, yn lle agor adwyau newyddion a rhwygo muriau Cristionogaeth ym mhellach.† Dylai pawb sydd yn

* Mae yn ammhosibl i ddychymmygu am arlun mwy dymunol o'r Eglwys Gristionogol na'r hwn a roddir yn Actau ii. 42: "Ac yr oeddynt yn parhau yn athrawiaeth ac yng nghymdeithas yr Apostolion, ac yn tori bara, ac mewn gweddïau." Parhäent yn gadarn ac yn ddiwahân mewn crediniaeth a phroffes o grefydd yr Apostolion. Yr oeddynt yn un o ran cymdeithas eglwysig, a'r Apostolion yn ben arnynt yn eu llywyddu. Amlygent yr undeb hwn trwy gymdeithasu â hwynt ac â'u gilydd mewn gweddïau, a chydgyfranogent o Swper yr Arglwydd yn y "tori bara." Dyma brif nod ac arwydd cyfeillach Cristionogol ym mhob oes. Mae Eglwys Lloegr eto yn parhau "yn athrawiaeth ac yng nghymdeithas yr Apostolion;" mae Eglwys Rhufain yn parhau yng nghymdeithas yr Apostolion; ond beth am yr athrawiaeth? Mae y prif Ymneillduwyr uniongred yn parhau yn athrawiaeth yr Apostolion; ond beth am y gymdeithas?

† Bu Crist yn gweddïo yn daer am undeb ym mhlith ei bobl yn y byd: "Y Tad sancteiddiol, cadw hwynt er mwyn dy enw, y rhai a roddaist i Mi; *fel y byddont un,* megys Ninnau. *Fel y byddont oll yn un;* megys yr wyt Ti, y Tad, ynof Fi, a Minnau ynot Ti, *fel y byddont hwythau yn un ynom Ni;* fel y credo y byd mai Tydi a'm hanfonaist I."—Ioan xvii. 11, 21. Mae yn anhawdd iawn i gredu mai gwir grefydd yw yr unig egwyddor sydd yn gynnwysedig yn y lluosogrwydd enwadau, a gwahanol gyfundebau crefyddol ein gwlad. Nid rhyw lawer o gydweithrediad cyffredinol sydd yn bod rhyngddynt hwy â'u gilydd, oddi eithr pan yn cytuno i ymosod ar yr Eglwys; ac ofnir bod cymmaint o groesddybenion ac o elyniaeth sectarol yn aml rhwng yr Enwadau crefyddol â'u gilydd ag sydd rhyngddynt a'r Eglwys. Dymuniad yr Eglwys yw gweled undeb crefyddol a chydweithrediad cyffredinol; ond nis gellir dysgwyl am hyn mewn ymraniadau pleidiol ac aml sectau enwadol. Am hyny, byddai yn anhawdd i Eglwyswyr ymuno â'r gwahanol Enwadau, yn eu cyflawniadau crefyddol, heb fod yn euog, i raddau mwy neu lai, o gefnogi yr ymraniadau hyn. Mae ymranu ac ymbleidio, ynddynt eu hunain, yn fath o wrthdystiad yn erbyn yr Eglwys; ac wrth eu cefnogi, rhoddir cynnorthwy iddynt i ddrygu yr Eglwys. Gellir coleddu golygiadau annibynol ar allanolion crefydd, ac ar bethau sydd heb fod yn anhebgorol angenrheidiol i iachawdwriaeth, heb rwygo cymdeithas eglwysig. Mae y pleidiau amrywiol sydd yn yr Eglwys ei hun yn bresennol yn eglur ddangos hyn, ac mae'r ffaith hon yn dystiolaeth gadarn o blaid natur rhyddfrydig a chymmeriad goddefgar yr Eglwys.

gwerthfawrogi y breintiau a'r iawnderau gwladol a chrefyddol a adferwyd i ni fel cenedl yn amser y Diwygiad, ymdrechu eu cynnal a'u hamddiffyn trwy undeb a chydweithrediad cyffredinol.

IV. Gweddi y testyn mewn perthynas i'r winllan: "O Dduw'r lluoedd, dychwel, edrych, cenfydd, ac ymwel," &c.

Dengys hyn—

1. Fod yn rhaid cael Duw ei Hunan i'r maes. Y mae yn dda adeiladu Eglwysi, adferyd hen rai dadfeiliedig, eu cyflwyno a'u cyssegru at wasanaeth y Goruchaf. Mae yn dda ac yn fraint i gael gweinidogion da, duwiol, a defnyddiol i lanw yr Eglwysi hyn; ond ail bethau yw y rhai hyn. Mae yr oll yn rhy fach heb gael Duw ei Hun i fod yn bresennol ynddi mewn modd grasol. Methodd ffon y prophwyd roddi bywyd i'r bachgen; rhaid oedd cael y prophwyd ei hun yno. Gall addysg grefyddol ein meddiannu ni â pharch i bethau Duw; ond mae yn rhaid cael tywalltiad o Ysbryd Duw cyn cael ymwared oddi wrth y peryglon, a bywyd newydd gyda'r achos. Mae hyn yn angenrheidiol—

(1.) Er mwyn cael llwyddiant ar grefydd gartref. Y mae yn rhaid cyfaddef gyda galar fod yr achos goreu yn isel mewn cymhariaeth i'r hyn a ddylai fod. Mae "tegwch bro, llawenydd yr holl ddaiar, heb nemawr yn ei cheisio hi." Ond pan ymwêl Duw â'i Eglwys, fe chwanega eto ati fel ym moreuddydd Cristionogaeth, pan y "chwanegodd yr Arglwydd at yr Eglwys beunydd, y rhai a fyddent cadwedig."

(2.) Er mwyn hwylusu teyrnas yr Efengyl dros y byd. Mae dinystr eilunod, gwareiddiad cenedlaethau, cadwedigaeth eneidiau, a gogoniant Duw oll yn dwyn cyssylltiad ag ymweliadau grasol Duw yn ei winllan.

(3.) Er mwyn meithrin ysbryd crefyddol mewn ystyr bersonol. Y mae yn dda gweled llwyddiant yn lluosogrwydd yr aelodau, ond gwell na hyny yw gweled cynnydd yng ngrasusau personol holl aelodau yr Eglwys. O mor hyfryd yw gweled cofleidwyr achos Iesu yn adfywio gyda'u gilydd ac yn myned ym mlaen ym mhob rhinwedd dda—gweled y ffydd yn cynnyddu, y cariad yn gwresogi, y sel yn fflamio, a holl rasusau yr Ysbryd yn bywhau. Cofiwch mai crefydd bersonol yr addolwyr yw prif addurn pob teml; heb hyn bydd y cyfan oll "fel beddau wedi eu gwyngalchu; oddi allan yn hardd, oddi mewn yn llawn esgyrn a phob aflendid."

2. Canlyniadau yr ymweliad.

(1.) Bydd y weinidogaeth o dan ddylanwad Ysbryd Duw. Bydd yr Ysbryd Glân yn cael ei dywallt arnom ni, y gweinidogion. Pan fo Duw yn myned i wella'r byd, mae Efe yn gyffredin yn dechreu ar ei Eglwys; a phan yn myned i wella yr Eglwys, mae Efe yn dechreu ar y gweinidogion. Nyni yw y rhes flaenaf yn y fyddin; o ganlyniad, pan ddisgyno yr Ysbryd arnom ni, bydd yr holl gynnulleidfa dan ei ddylanwad. Pan ddisgynodd yr Ysbryd Glân ar ddydd y Pentecost, fe ddisgynodd yn gyntaf ar yr Apostolion, ac wedi hyny ar y lluawś yn gyffredinol: "O, ynte, frodyr, gweddïwch drosom" am i Dduw dywallt ei Ysbryd arnom, fel ein "gwisger ni â nerth o'r uchelder, ac fel y byddo i Air yr Arglwydd redeg a chael gogonedd."

(2.) Cymmer diwygiad le yn y bobl. Bydd pob un yng ngafael â'i ddyledswydd. Gwaith personol yw gwaith crefydd; mae yn rhaid i bob un fod yng ngafael â'i fater ei hun. Ni fedr neb arall fod yn grefyddol yn ein lle ni ein hunain. Pan ddaeth plant y gaethglud o Babylon a gweled annhrefn Caersalem a'r wlad o amgylch, pob un yn gyntaf a adeiladodd ar gyfer drws ei dy ei hun. Pan y sylwom ninnau ar

gaerau yr Eglwys, mae ynddynt lawer o adwyau, ac y mae eisieu codi i fyny i attal y gelyn i ddyfod i mewn. I'r dyben hwn fe ddylai pob un ddechreu gartref, a phob un fod yng ngafael â'i ddyledswydd ei hun. Dylai pob un ymdrechu gloewi ei rasusau, a phob un gyrchu at y nod. Pan welir y ffyddloniaid yn y modd hyn yn adgyweirio yr adwyau, yn ysgubo ac yn glanhau eu moesau, ac yn egnïol gyda phethau a berthynant i'w heddwch, bydd yn dystiolaeth amlwg fod Duw yn ymweled â'i Eglwys. Yn bresennol, fel mae gwaetha'r modd, mae pobl y gweithio yn anaml. Yr un rhai sydd gyda hi braidd ym mhob man; mae gormod o ymddibynu ar ereill. Un o bob deg mewn cymhariaeth sydd yn gwneuthur eu rhan gydag achos yr Arglwydd; ond pan gymmer adfywiad le ar grefydd, bydd pob un yn ei le ac yn ei lanw. Bydd y gweinidogion a'r bobl yn fwy ymdrechgar ac yn fwy cynhes gyda'u gilydd.

(3.) Fe ddaw y byd at grefydd. Bydd llawer yn enlistio yn adnewyddol o dan faner hedd. Bydd y "planigyn yn cael ei gadarnhau;" bydd llawer un yn gofyn am y ffordd tua Sïon â'u gwynebau tuag yno. Ac O mor hyfryd bydd gweled cynniweirfa y bobl tua'r Groes, ac edrych arnynt "yn ehedeg fel colomenod tua'u ffenestri." Y mab yn gofyn i'r tad, y ferch yn gofyn i'r fam, y gwas a'r forwyn yn gofyn i'r meistr a'r feistres am y ffordd tua Chaersalem. Mor hyfryd fyddai gweled y wlad yn wylo o herwydd pechod, ac yn penderfynu gyda Ruth i fyned i Ganaan. Pan fo'r gwersyll yn cychwyn, y mae cynhwrf trwy dir Moab, ac y mae Amalec ac Ammon yn ymysgwyd o'r llwch.

Y CYMHWYSIAD.

1. Gweddïwn lawer am ymweliadau grasol Duw yn ei Eglwys. Y mae Duw yn peri i ni i wneuthur hyn: "Gofynwch i Mi y pethau a ddaw am fy meibion, a gorchymmynwch Fi am waith fy nwylaw." "Ymofynir â Mi gan dy Israel i wneuthur o honof hyn iddynt." Mae llawer o weddïo yn bod; ond mae eisieu gweddïo yn fwy taer a gofyn yn fwy di-ildio, cael mwy o daerni enaid mewn gweddi. Mae gorsedd gras yn cael ei hanerch yn fynych mewn dull oerllyd; mae eisieu mwy o deimlad ac ysbryd gweddi.

2. Ymdrechwn yn ddiflino i gydweithredu yn gystal â gweddïo am yr ymweliad. Mae gweddïo yn unig yn rhy fach; mae yn rhaid ymdrechu hardd-deg ymdrech y ffydd. Rhaid bod yn ddiwyd yn holl foddion gras; meddu ysbryd y gwaith, a bod yn ymdrechgar ynddo. Fe all Duw fyned â'i waith ym mlaen hebddom ni. Mae achos Duw wedi bod yn flodeuog cyn ein geni ni; bydd yn blaguro eto pan bôm ni yn priddio yn dawel yng ngwaelod y bedd. Ond nyni sydd gyda hi yn awr, ac y mae pob un o honom yn rhyw un ac yn alluog i wneuthur rhyw beth gyda'r achos goreu. O am fodd i fod yng ngafael â'n gwaith, i fod yn ymdrechgar yn ein dydd, ac yn ddiflino gyda'r moddion, rhag ofn i ni golli yr ymweliadau yn gyfan-gwbl, ac i Dduw symmud ein canwyllbren ni allan o'i le, a'n hamddifadu yn hollol o fendithion a rhagorfreintiau crefydd!

---

EMYN.

O, AM deimlo nerth dy eiriau,
O, am deimlo grym dy ras,
Yn llwyr faeddu'm hanghrediniaeth,
Yn llwyr goncro'm beiau cas:
Ti gei'r moliant
Byth tra byddaf yn y byd.

O, am deimlo'r dylanwadau
Dwyfol grymus yma i lawr;
Gweithia'n nerthol trwy dy Ysbryd,
Maddeu'm beiau duon mawr,
Fel bo'm tafod
Byth yn canu am dy ras.

*Gwytheryn.* CLEDWEN JONES.

---

Y rhai a fyddant byw i Dduw yma, a fyddant byw gyda Duw ar ol hyn.

## CONFFIRMASIWN.

### VII.

### TREFN CONFFIRMASIWN.

BELLACH ni a ddeuwn at *Drefn Conffirmasiwn.* Mewn ffordd o ragbarotoad i weinyddiad y ddefod ddifrifol hon, "pa bryd bynag y rhoddo yr esgob hysbysrwydd am ddwyn plant ato i'w conffirmio, curad pob plwyf a ddwg, neu a ddenfyn yn ysgrifenedig dan ei law, enwau y rhai oll o fewn ei blwyf ag a dybio efe fod yn gymhwys i'w cyflwyno i'r esgob i'w conffirmio. Ac os yr esgob a'u gwel hwynt yn gymmeradwy, efe a'u conffirmia hwynt yn y drefn appwyntiedig."[1] Ar y dydd penodedig, cynnifer ag a gaed yn gymhwys i'w cyflwyno a ddygir ger bron yr esgob i'w conffirmio ganddo yn y modd arferol.[2]

Ymrana "trefn Conffirmasiwn" yn naturiol i dair rhan, sef y rhan ragbarotoawl, yr arddodiad dwylaw neu y rhan ddifrifolaf, a'r rhan ddefosiynol a'r olaf.

Dechreua y rhan flaenaf o'r Gwasanaeth priod gyda rhagymadrodd i'w ddarllen ar osteg gan yr esgob, "neu ryw weinidog arall a benodir ganddo ef." Yn y rhagymadrodd hwn, gosodir allan y cymhwysderau angenrheidiol i'r ordinhâd sanctaidd, yng nghyd â natur a difrifwch dirfawr yr adduned.

Wedi dadgan natur a dyben Conffirmasiwn, fel na bo mwyach esgus nac achos o anwybodaeth yng nghylch y peth, yna yr esgob a ofyn ar osteg, yng ngŵydd Duw a'r gynnulleidfa, i'r sawl a farnwyd yn gymmeradwy ac a safant yn awr mewn trefn o'i flaen yn nhy yr Arglwydd, a ydynt hwy "yn adnewyddu yr addewid parchus a'r adduned a wnaethpwyd yn eu henwau wrth eu bedyddio, a chadarnhau a chonffirmio yr unrhyw eu hunain, a chydnabod eu bod hwy eu hunain yn rhwymedig i gredu a gwneuthur yr holl bethau a addawodd eu tadau Bedydd a'u mamau Bedydd drostynt." A'r addewid a addawodd y mechniafon ydoedd, yn iaith y Catecism,

"Yn gyntaf, ymwrthod o honof â Diafol ac a'i holl weithredoedd, a rhodres a gorwagedd y byd anwir hwn, a holl bechadurus chwantau'r cnawd.

"Yn ail, bod i mi gredu holl bynciau Ffydd Crist.

"Ac yn drydydd, cadw o honof wynfydedig ewyllys Duw a'i orchymmynion, a rhodio ynddynt holl ddyddiau fy mywyd."

I ofyniad tra phwysig yr esgob pob un a etyb yn glywedig, "*Yr ydwyf.*"

Ar ol y dadganiad pwysig ac arwyddocaol—dadganiad a ddylai fod *o'r galon*, ac nid â'r gwefusau yn unig; canys ni watwarir Duw, yr Hwn a ŵyr *ddirgelion* y galon—y dilyn y *gwersiclau* a'r *atebion*, gyda'r rhai, yn yr hen Lyfr Gweddi Gyffredin, y dechreu "trefn Conffirmasiwn." Cymmerwyd hwynt allan o "Salmau Dafydd, per ganiedydd Israel," yn ol esampl hen liturgïau. —Salm cxxiv. 8, cxiii. 2, cii. 2. Yna y canlyn y *colect*, yn yr hwn y casgl yr esgob yng nghyd ei erfyniau ei hunan a'r gynnulleidfa, megys ag y cynnwysir hwynt yn y gwersiclau a'r atebion rhagflaenorol, gan eu cyflwyno ar ffurf ddidor a pharhaol i'r hollalluog a bythfywiol Dduw ar ran y sawl y sydd ar gael eu conffirmio. Atolyga arno Ef eu *nerthu* hwynt â'i Ysbryd Sanctaidd, "a beunydd ychwanegu ynddynt aml ddoniau ei ras," sef saith dawn yr Ysbryd, am y rhai y llefara Esai y prophwyd: "Ac Ysbryd yr Arglwydd a orphwys arno Ef—ysbryd doethineb a deall, ysbryd cynghor a chadernid, ysbryd gwybodaeth ac ofn yr Arglwydd, ac a wna ei ddeall ef yn fywiog yn ofn yr Arglwydd."

---

[1] Pedwerydd rhuddell yn niwedd y Catecism.

[2] Trefn Conffirmasiwn, rhuthell gyntaf.

in public hearing

—xi. 2. Yn y weddi dilynir geiriad yr hen gyfieithadau Groeg a Lladin, ac yn y wedd hon yr arferir hwynt yn nhrefn Conffirmasiwn er dyddiau Sant Ambros.[1]

Y rhan nesaf a'r aruchelaf o'r drefn yw

ARDDODIAD DWYLAW.

A phob un o'r rhai a gyflwynwyd "yn ei drefn yn gostwng ar ei liniau ger bron yr esgob, *efe a ddyd ei law ar ben pob un yn wahanol*" fel arwydd ei fod yn gweithredu yn y swydd yn ol awdurdod ddwyfol. Ond ar yr un pryd, efe a enfyn eirchion at Dduw fel prawf diymwad a chydnabyddiaeth ostyngedig na ddichon efe o hono ei hunan ddim, nad trwy ei nerth ei hun neu ei dduwioldeb y llifa y grasusau a gyfrenir, ond o rad ras a thrugaredd Duw, ffynnonell pob gras a daioni. A'r weddi yw,

"*Amddiffyn, Arglwydd, dy blentyn hwn â'th nefol ras, fel y byddo iddo barhau yn eiddot Ti byth, a beunydd gynnyddu yn dy Ysbryd Glân fwy-fwy hyd oni ddêl i'th deyrnas dragwyddol. Amen.*"[2]

Amrywia y ffurf bresennol oddi wrth yr un a benodwyd i'w harfer yn Llyfr Gweddi cyntaf Iorwerth VI. Yma, yn ol y drefn hòno, y gweinidog a arferai y ffurf hon o eiriau:—

"Noda hwynt, O Arglwydd, a neilldua hwynt yn eiddo i Ti dros byth trwy rin dy Sanctaidd Grog a'th ddyoddefaint. Cadarnhâ a nertha hwynt ag eneiniad mewnol yr Ysbryd Glân yn drugarog i fywyd tragwyddol. Amen."[3]

Ar ol y weddi hon, yr esgob a'u noda hwynt yn eu talcenau ag arwydd y Grog, ac a ddoda ei law ar eu penau, gan ddywedyd,

"iv. Yr ydwyf fi yn dy nodi di ag arwydd y Grog, ac yn dodi fy llaw arnat yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. Amen."[1]

Pan roddwyd heibio weinyddu y *chrism* ar adeg gweinyddiad Conffirmasiwn, aeth y weddi uchod yn ammhriodol, gan fod y cyfeiriad at *eneiniad* ynddi yn colli ei rym. Cawn dri math o *eneiniad* allanol neu faterol mewn arferiad yn yr Eglwys gynt, a chedwid y tri *olew* cyssegredig yn ofalus ar wahân. Yr oedd olew sanctaidd, olew *chrism*, ac olew y claf (*oleum sanctum, et oleum chrismatis, et oleum infirmorum.*)[2] Yr olew sanctaidd (*oleum sanctum*) a arferid o flaen Bedydd, ac a elwid hefyd *oleum catechumenorum*. Tebygol mai ar gais Bucer y dodwyd heibio nodi ag "arwydd y Grog," arfer a fedd hynafiaeth ddiammheuol o'i phlaid, ond yn ddiffygiol o sail ysgrythyrol ac awdurdod apostolaidd. Hanfodion Conffirmasiwn ydynt *gweddi* ac *arddodiad dwylaw.*—Act. viii. 14—20 a xix. 6.[3]

Ar ol yr "arddodiad dwylaw" daw defosiynau terfynol trefn Conffirmasiwn. Ceir cydweddïau yr esgob a'r Eglwys ym mhellach ar ran y sawl a "seliwyd" ac a "gadarnhawyd" fel hyn yng ngŵydd Duw ac o flaen yr Eglwys. Yr esgob a ddywed, "*Yr Arglwydd a fo gyda chwi;*" a'r gynnulleidfa a etyb, "*A chyda'th ysbryd dithau.*" Ffurf o gyfarch ac ateb tra hynafol.—Ruth ii. 4, 2 Thes. iii. 16, 2 Tim. iv. 22, Galat. vi. 18. Y ffurf yn ol Llyfr Gweddi Iorwerth VI. oedd "Tangnefedd yr Arglwydd a aroso gyda

---

[1] Wheatley, *Of the Order of Confirmation*, sect. II., pt. iv.

[2] Trefn Conffirmasiwn.

[3] "Sign them, O Lord, and mark them to be Thine for ever by the virtue of Thy Holy Cross and passion. Confirm and strengthen them with an inward unction of the Holy Ghost mercifully unto everlasting life. Amen."

[1] "iv. I sign thee with the sign of the Cross, and lay mine hand upon thee, in the name of the Father, and of the Son, and of the Holy Ghost. Amen."

[2] *Hist. Anglo-Saxon Church*, *Soames*, Elfric's second epistle, 4th edit., pp. 261—281.

[3] *Wheatley*, sect. iv.

chwi," "A chyda'th ysbryd dithau." Taflwyd y ffurf hon allan ar gais Bucer yn yr adolygiad; ond yn yr adolygiad diweddaf, yn fuan wedi yr Adferiad, dygwyd y ffurf bresennol i mewn yn ei lle, ac ychwanegwyd *Gweddi yr Arglwydd* at y drefn arferedig. Heb y weddi hon, ammherffaith yw pob trefn a gwasanaeth eglwysig. Yn y *colect* cyntaf sydd yn dilyn Gweddi y Gweddïau, cawn, fel y sylwa Wheatley, y cymhlethiad godidog o ffydd a gostyngeiddrwydd ag a weddai i amserau puraf Cred. "Bydded dy dadol law byth arnynt; bydded dy Ysbryd Glân byth gyda hwy." "Tywys hwy yng ngwybodaeth ac ufudd-dod dy Air, modd y gallont yn y diwedd fwynhau bywyd tragwyddol." Yn amser yr adferiad ychwanegwyd *ail* golect at y drefn flaenorol, yn yr hwn yr atolygwn ar Dduw ar fod "yn wiw ganddo unioni, sancteiddio. a llywodraethu ein *calonau* a'n *cyrff* yn ffyrdd ei ddeddfau ac yng ngweithredoedd ei orchymmynion, fel trwy ei gadarnaf nodded yma ac yn dragwyddol y bôm gadwedig *gorff* ac *enaid*." Fe dybia rhai o'r hynafiaid fod Conffirmasiwn yn gadwedigaeth enaid a chorff.[1] Diwedd pob trefn a ffurfweddi ydyw *y fendith;* ac felly terfyna yr esgob ei weinidogaeth hon yn y geiriau a ganlyn—geiriau ag ydynt grynoad teilwng o holl fendithion y drefn aruchel yr ymdriniwyd fel hyn yn ammherffaith â hi:

"Bendith yr Hollalluog Dduw, y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân, a fyddo arnoch ac a drigo gyda chwi yn dragywydd."

Yn y *rubric* ar derfyn y gwasanaeth hwn dywedir, "Ac ni dderbynir neb i'r Cymmun Sanctaidd nes iddo gael ei gonffirmio, neu fod o hono yn barod ac yn ewyllysgar i'w gonffirmio." Mae ysbryd y rhuddell hon yn unol a chydnaws â dysgeidiaeth ac arfer yr Eglwys gyntefig, yr hon yn wastadol, oddi gerth mewn ychydig eithriadau nas gallasai oddi wrthynt, a orchymmynai yr un peth. Tra yn gosod allan fawr bwys Conffirmasiwn, eto rhag peri anesmwythder ac ofnau i rieni plant bychain a'r rhai na ddaethant i oedran pwyll, gofalodd yr Eglwys draethu mai "hysbys yw trwy Air Duw am blant a fedyddir ac a fyddant feirw cyn bod yn euog o bechod gweithredol, eu bod yn ddiammheu yn gadwedig.[1] Megys ag y rhagflaenir trefn Conffirmasiwn gan y Litani neu y gweddïau beunyddiol, yng nghyd â chynghor neu *siars* yr esgob, a hyny gyda phriodoldeb, o herwydd byrdra y Gwasanaeth priod, credu yr ydym mai terfyniad neu ddiweddglo tra phriodol hefyd i'r unrhyw fyddai gweinyddiad o Swper yr Arglwydd neu y Cymmun Bendigaid i'r sawl a dyngasant lw adnewyddol o ffyddlondeb i'r Hwn a ddywedodd, "*Gwnewch hyn er coffa am danaf.*"

---

## BEIAU.

Y NEB sydd yn ffrostio ei fod yn berffaith sydd yn berffaith mewn ffolineb. Bûm i fyny ac i lawr gryn lawer yn y byd yma; ond ni welais erioed geffyl neu ddyn heb fai, ac ni welaf byth dau ddydd Sul yn nesaf i'w gilydd. Nis gellwch gael fflwr gwyn allan o sach lo, neu berffeithrwydd o natur dyn; gwell i'r hwn sydd yn edrych am dani edrych am sugr yn y môr. Yr hen ymadrodd yw, "Heb fywyd, heb fai:" am y meirw ni ddylem ddywedyd dim heb law yr hyn sydd yn dda, ond am y byw mi allwn weled â hanner llygad nad oes neb yn ddifeius. Y mae lle meddal ym mhob pen, a dyferyn du ym mhob calon. Mae gan bob rhosyn ei ddraen, a phob dydd ei nos. Nid yw yr haul yn

---

[1] *Cyril. Catech. Mystag.* 3 & 5.

[1] Rhuddell ar derfyn "Gweinyddiad Bedydd Cyhoedd Plant Bychain."

ddifrycheulyd, ac y mae cymylau yn tywyllu y nefoedd. Nid ydyw neb mor ddoeth nad oes ganddo ddigon o ffolineb i lenwi marchnadfainc mewn ffair gwagedd. Lle ni welais hetiau ffŵl, y clywais y clychau yn tincian; canys pan oleua yr haul y mae rhai manau dan ei gysgod; felly y mae pob daioni dynol wedi ei gymmysgu â drwg: y mae swyddogion cyfraith y tlodion weithiau yn gwneyd camgymmeriad. Nid yw y gwin goreu heb ei waelodion. Nid yw ein beiau i gyd yn ysgrifenedig ar ein talcenau, ac y mae yn dda nad ydynt, neu byddai arnom eisieu hetiau llydain iawn; eto, gan sicred ag y mae wyau yn wyau, y mae rhyw feiau neu gilydd yn trigo ynom i gyd. Nis gall neb ddyweyd pan ddangoso pechodau dyn, o herwydd y mae ysgyfarnogod yn neidio o'r ffos pryd na fyddys yn edrych am danynt. Fe all y ceffyl sydd yn wan yn ei goesau beidio â thripio am filltir neu ddwy; ond y mae ynddo, a gwell i'r marchogwr gadw ei ben i fyny. Nid ydyw y gath yn llipio llaeth yrwan; ond gadëwch ddrws y llaethdy yn agored, a chewch weled yn fuan ei bod yn lladronus. Y mae tân yn y gallestr er oered yr edrycha; ond aroswch nes taro y dur, a chewch weled gwahaniaeth. Fe all pawb ddeall hyn, ond nid pawb sydd yn cofio cadw ei bylor o ffordd y ganwyll.

Os cofiwn yn wastadol ein bod yn byw ym mhlith dynion ammherffaith, ni ryfeddwn gan gymmaint pan glywom am feiau ein cyfeillion; bydd yr hyn sydd yn fraenllyd yn rhwygo, a bydd llestri sydd wedi eu cracio yn gollwng. Bendigedig yw yr hwn sydd yn dysgwyl dim oddi wrth gnawd a gwaed, canys ni chaiff ei siomi.

> Ceffyl da nid yw yn llithro,
> A gwraig dda sy byth yn cwyno.

Ond yn wir nid yw y fath geffylau a gwragedd i'w cael ond ym mharadwys y ffol, lle y mae rholenau (*dumplings*) yn tyfu ar goed. Ond yn y byd drwg yma y mae cylymau yn y coed sythaf, a chwyn yn y meusydd glanaf. Y mae y gyrwr mwyaf gofalus weithiau yn taflu y drol, a'r cegin-wragedd goreu yn colli tipyn o botes; ac fel y gwn, ysywaeth, y bydd aradwr pur dda ambell waith yn tori yr aradr, neu yn gwneyd rhych gam. Y mae yn ffolineb troi ymaith gyfaill, yr hwn ydym wedi brofi yn bur, o achos bai neu ddau; canys fe allwn wneyd i ffwrdd â cheffyl ag un llygad, a phrynu un dall yn ei le. Gan ein bod i gyd yn llawn o feiau, dylem ddysgu goddef a chydymddwyn â'n gilydd, o herwydd ein bod yn byw mewn tai gwydr, ac ni ddylem daflu ceryg. Mae pawb yn chwerthin pan ddywed y crochan wrth y *kettle*, "Mor ddu yr ydwyt!" Y mae beiau pobl ereill yn dangos i ni ein beiau ein hunain, canys y mae dwy ddafad yn bur debyg i'w gilydd; ac os oes afal yn llygad fy nghymmydog, y mae un yn ddiammheu yn fy llygad i. Fe ddylem wneyd ein cymmydogion yn ddrych er mwyn gweled ein hunain ynddo, a gwellâu ein hunain oddi wrth y beiau a welwn ynddynt hwy.

Nid oes genyf amynedd efo'r rhai sydd yn ysbïo i dy pob dyn i weled ei feiau, gan eu gwneyd yn fwy nag ydynt; gwell i'r fath bobl edrych i'w cartrefi eu hunain, o herwydd gallant weled y Diafol yn y lle nad oeddynt yn ei ddysgwyl. Y peth yr ydym yn ewyllysio neu feddwl gweled, ni gawn ei weled. Y mae beiau yn wastad yn llawer lle nad oes llawer o gariad. Mae buwch wen i gyd yn ddu os ewyllysia eich llygad ei gwneyd felly. Os aroglwn ddwfr rhosyn yn ddigon hir, cawn weled ei fod yn sawyr drwg. Byddai yn llawer mwy hyfryd os troai y rhai sydd yn edrych am feiau eu cŵn i ddarganfod pethau rhinweddol mewn pobl ereill; talai hyny yn well, ac ni safai neb â phigfforch i'w cadw

oddi wrth eu tir. Fe gymmerai lech fawr i ddal ein beiau i gyd; ond diolch i Dduw, ni a wyddom pa le i'w cymmeryd a pha fodd i ymadael â hwynt. Er ein holl feiau, eto y mae Duw yn ein caru os ydym yn ymddiried yn ei Fab; gan hyny, na fyddwn yn isel ysbryd, ond gobeithiwn fyw, gan ddysgu gwneyd rhyw ddaioni cyn i ni farw. Er bod y drol yn gwichian, fe aiff adref â'i llwyth, a gwnaiff yr hen geffyl â'i liniau toredig lawer o waith. Ni ddeua fawr o lesâd wrth orwedd i lawr a gwneyd dim, o herwydd ni allwn wneuthur pob peth fel y dewiswn. Beiau neu ddim beiau, rhaid i'r aradru gael ei wneyd, a rhaid i ddynion ammherffaith ei wneyd hefyd, neu ni fydd dim cynauaf y flwyddyn nesaf. Er can saled aradwr yw John, ni wnaiff yr angylion ei waith, ac felly fe raid iddo ei wneyd ei hunan. Cerddwch ym mlaen, Violet! *gee woa!* Depper!

THOMAS HUGHES.

*Ty Newydd, Llansilin.*

---

## CYFEILLGARWCH.

"Haiarn a hoga haiarn; felly gwr a hoga wyneb ei gyfaill."—DIAR. xxvii. 17.

DANGOSIR trwy'r ddiareb hon y dylanwad a'r effaith a wna y naill gyfaill ar y llall trwy gymdeithas, cyfeillach, a chyfathrach â'u gilydd.

Mae yr haiarn yn hogi yr haiarn, gan dynu i ffwrdd y rhwd sydd wedi magu a thyfu o'i ddeutu; felly hefyd y mae cyfeillach yn foddion yn fynych i ddifa y culni, y rhagfarn, a'r dallbleidiaeth sydd ynom. Fel ag y mae haiarn yn hogi haiarn trwy ddifa'r rhwd sydd yn ei fwyta, trwy osod min ac awch arno, felly hefyd gyfeillgarwch. Y mae hyn yn aml yn hogi dyn at waith, yn dihuno yr ysbryd cysglyd, yn gosod min adnewyddol arno, ac yn ei barotoi ar gyfer brwydr bywyd. Pan adewir yr haiarn yn hir yn llonydd, y mae yn sicr o fagu rhwd, ac yna y dygir ef eilchwyl at ei hen gyfaill, a buan y daw trwy oruchwyliaeth yr hogi i'w gynnefin ddefnyddioldeb; felly hefyd ddyn, pan yn llwfr yn y meddwl a'r ysbryd, y mae yn fynych yn adnewyddu trwyddo trwy gyfeillach hen gyfeillion. Mewn ystyr ffugrol y mae y naill gyfaill yn actio tuag at y llall fel math o faen hogi, ac felly gosodir min ar allu, yni, a nerth. Gall cyfaill gefnogi cyfaill pan y mae mewn angen; gall cyfaill gynghori cyfaill pan y mae mewn dyryswch; gall cyfaill gysuro cyfaill pan y mae mewn trallod; gall cyfaill amddiffyn cyfaill pan y mae yn ddiamgeledd; gall cyfaill gynnorthwyo cyfaill pan y mae cymhorth yn anhebgorol. Fel hyn y maent yn arllwys eu cwynion, yn newid cyfrinachau, yn cydlawenhau mewn llawenydd, yn cydofidio mewn gofidiau; ac felly darostyngant fynyddau uchel anhawsderau yn gydwastad â'r llawr, "llanwant y pant, darostyngant y mynydd a'r bryn, gwnânt y gwyrgeimion yn uniawn a'r geirwon yn ffyrdd gwastad."

Pan oedd Sant Paul gynt yn tynu tua Rhufain, ar ol y perygl, y dymmestl, a'r llongddrylliad, dyna'r brodyr yn clywed am dano ac yn dyfod i'w "gyfarfod hyd Appii-forum a'r Tair Tafarn, y rhai, pan welodd Paul, efe a ddiolchodd i Dduw ac a gymmerodd gysur." Rhoddodd y dadblygiad cyfeillgarol hwn fywyd ac ysbryd adnewyddol yn yr apostol, ac elai yn ei flaen yn nerth y fath gyfeillgarwch yn fwy hyf, hwylus, a chysurus. Fel yna, ynte, y mae nerth a dylanwad anghyffredin yn perthyn i gyfeillgarwch.

Y mae mewn cyfeillgarwch yn wastad lawer iawn o wirionedd, neu o leiaf yn ymddangosedig felly; pe amgen, nis gallai effeithio i'r graddau ag y mae am dymmor hir. Pe byddai yn hollol gau a ffugiol, delai y twyll a'r rhagrith bob yn dipyn i "wyneb haul a llygad goleuni," ac yna collai ei nerth, ei swyn, a'i

hudoliaeth. Mae cyfaill yn arwain cyfaill hyd at y drwg yn aml, nid er mwyn ei niweidio a'i ddrygu, ond yn hytrach fel y gallont gydblesera, cydwledda, ïe, fel y gallont fod yng ngwir ystyr y gair yn *gydgyfeillion.* Nid ydynt yn ystyried y canlyniadau; nid ydynt yn gweithredu ar y geiriau, "Sefwch ar y ffyrdd ac edrychwch, a gofynwch am yr hen lwybrau, lle mae ffordd dda, a rhodiwch ynddi." Y maent, o ddiffyg ystyriaeth ddyladwy, yn drygu y naill y llall trwy gyfeillgarwch. Dyna enghraifft nodedig o'r dall yn arwain y dall: "Ac os y dall a arwain y dall, y ddau a syrthiant yn y ffos." Gresyn garw fod "haiarn yn hogi yr haiarn" yn yr ystyr yna.

Y mae Duw ar ryw olwg, mewn llawer dull a modd, wedi cauad amddiffynfëydd o amgylch ogylch i'r dyn—wedi gosod rhwystrau aml a chedyrn ar ei ffordd, fel nas gall redeg trwyddynt, fel nas gall gamu drostynt, ac fel nas gall mo'u symmud yn *ddiarwybod.*

Gallwn yn y fan hon enwi ychydig o blith y lluaws—

1. *Anwybodaeth.*

Y mae dyn yn fynych, ac yn enwedig pan y mae yn ieuanc, yn teimlo awydd i gyrhaedd a chyflawnu y pechod a'r pechod; ond nis gall mewn un gwedd sylweddoli y chwennychiad mewnol profedigaethus yna am nad yw yn canfod y ffordd yn glir a goleu o'i flaen, am nad yw *ar y pryd* yn feddiannol ar wybodaeth ddigonol i'w alluogi i gyrhaedd yr amcan bwriadedig sydd yn llochesu yn hanner byw a hanner marw ar arffed ei galon! Mae'r ffordd ag sydd yn arwain tuag at y pechod amcanedig yn aml yn rhy arw; ac felly, dyna'r chwennychiad mewnol yn marw yn y groth mewn anobaith cyn dydd esgor, a'r dyn yn gorfod "canu yn iach," a hyny o ddiffyg gallu a gwybodaeth, fel y llwynog a'r grawnwin yn y chwedl. Y mae yr anwybodaeth hon yn diogelu y dyn pan yn ieuanc a dibrofiad. Pan yn y sefyllfa helbulus yma, pwy all ei hyfforddi yn fwy effeithiol na chyfaill? ïe, pwy all ddysgu'r dyn, pwy all arwain y dyn, pwy all godi dyn dros ben anhawsderau a'i osod yn ymyl pechod yn well na chyfaill, pan yn methu cyrhaedd hyn trwy ei wybodaeth ei hun? Fel yna daw yr anwybodus, dan ddysgyblaeth cyfaill, yn ysgolhaig mewn pethau drwg.

2. *Rheswm.*

Mae dyn yn greadur *rhesymol*, ac fe ddysgwylir iddo ymddwyn fel y cyfryw; ond yn lle hyn, ceir ei weled yn amddifadu ei hun o'r trysor amddiffynol hwn, gan weithredu yn hollol fel creadur *afresymol.* Dywedodd Duw wrth Adda, "O bob pren o'r ardd, gan fwyta y gelli fwyta; ond o bren gwybodaeth da a drwg, na fwyta o hono; o blegid yn y dydd y bwytëi di o hono, gan farw y byddi farw." Dywedodd y temtiwr trwy y sarff o'r tu arall, "Ni byddwch feirw ddim." Pan yn y sefyllfa hon, amddifadodd dyn ei hun o'i reswm, gan weithredu ar y cynghor direswm, "Byddwch megys duwiau, yn gwybod da a drwg." Fel yna y mae dyn o hyd, yn gweled "man gwyn" draw ac yn amddifadu ei hun o'i reswm er mwyn ei gyrhaedd, yn hytrach nag ymostwng yn ufudd i'w reswm pan y mae yn "llefaru pethau gwell" wrtho. Gall cyfaill eto yn y fan hon wneyd mwy er da neu er drwg na neb arall.

3. *Cywilydd.*

Y mae'r dyn weithiau yn chwennych cyflawnu rhyw weithred, ond nis beiddia wneyd hyny am fod gormod o gywilydd arno. Mae yr anian yn berffaith ewyllysgar, a hoffai yn fawr gyrhaedd ei amcan pe gallai wneyd hyny yn ddigon dirgelaidd. Mae gormod o gywilydd ar ddyn, yn bur gyffredin, i gyflawnu gweithred front, ysgeler, ac anonest.

Y mae cyfaill yn hynod effeithiol yn y fan hon. *Dipyn bach yn ol* yr oedd y dyn yn rhy gywilyddgar i

wneyd gweithred ddrwg yn berffaith gyhoeddus; ond *yn awr*, dan ddysgyblaeth cyfaill, gall wneyd hyny yn hollol ddidaro a digywilydd: y cywilydd gynt erbyn hyn wedi troi yn ymffrost. Dyma'r dyn yn awr yn ymffrostio yn ei wendid, yn tyngu a rhegu gyda blas, balchder, a hunanoldeb! Y mae dyn, ysywaeth, yn cyrhaedd y sefyllfa druenus hon yn bur fynych trwy gyfarwyddiadau ac esamplau cyfeillion.

4. *Cydwybod.*

Mae y gydwybod, fel y mynegfys, yn sefyll ar y groesffordd, gan gyhuddo neu esgusodi. Dengys pa ffordd i gymmeryd, a dywed yn awgrymiadol, "Dyma'r ffordd, rhodiwch ynddi."

Y mae dylanwad cyfaill ar gyfaill yn ddigonol i ddystewi "llais y gydwybod." Mae hwn yn llwyddo i'w arwain ar hyd ffordd arall—ffordd drygioni; ac yntau, druan tlawd, yn dilyn yn dyn ar ei ol yn lle gwrando, yn lle clustfeinio ar y llais mewnol. Y mae dyn eto yn y modd hyn, i raddau helaeth, yn nwylaw ei gyfeillion ac yn myned ym mhell bell dros lwybr dyledswydd, gan fogi llais cydwybod. Fel yna tynir y clawdd amddiffynol hwn i'r llawr, ac eir trwy'r tew a'r teneu ar ol cyfeillion heb ganiatâd cydwybod.

5. *Profiad.*

Y mae profiad bywyd yn dysgu gwersi hawdd, buddiol, ac adeiladol i ddyn, y rhai ddylent fod, gellid meddwl, yn attalfëydd ar ei ffordd fel nad elo yn benwan ar ei ben i bechod yn ddibrofiad beth bynag. Yng ngwyneb hyn yr ydys yn rhy barod yn hongian profiad bywyd ar yr helyg, gan ruthro yn bendramwnwgl i ganol gofid a phechod. "Haiarn a hoga haiarn" yw hi hefyd gyda phrofiad.

Yn y naill a'r llall o'r enghreifftiau blaenorol, gall cyfaill arwain cyfaill ar gyfeiliorn yn hawddach na neb arall, fel y dangoswyd; ond fe all hefyd yn ogystal gadw a diogelu ei gyfaill o fewn terfynau ym mhob un o'r enghreifftiau yma, fel y gellid dangos, yn fwy effeithiol na neb arall. Y mae yn wirionedd galarus fod llawer un wedi ei dynu a'i ddenu dros y ffordd, yn groes i'w ewyllys, dan gyfarwyddiadau cyfaill. Gall olrhain yn ol a dadgymmalu ffurfiad ei gymmeriad, ronyn wrth ronyn, hyd y cyssylltiad dechreuol â'i gyfaill. Gall ddyweyd gyda gofid, "Ni fuaswn i fel hyn heddyw oni buasai i mi wrando gormod ar hwn a hwn." Dyna iaith llawer un yn y llys, yn y carchar, yn y dafarn, &c. Gwyn ei fyd y dyn sydd yn gallu dywedyd o'r tu arall, "Y mae yn dda gan fy nghalon i na ddilynais i mo hwn a hwn." Pan wedi cyrhaedd hen ddyddiau, ni all dim friwio teimladau dyn, a briwio cysur a dedwyddwch, yn waeth nag edrych yn ol ar gyfeillion wedi eu harwain ar gyfeiliorn trwy ei ddywediadau, ei gynghorion, a'i esampl ef. Mae yr adgof hon yn ei friwio i'r byw, yn gwneyd ei sefyllfa yn hollol boenus ac aflonydd. Y mae llawer un yn "biler byw" o'r sefyllfa druenus yma. O'r tu arall, nis gall dim weini mwy o gysur mewn hen ddyddiau nag edrych ar ereill yn dilyn y dywediadau, y cynghorion, a'r esamplau da. "Haiarn yn hogi yr haiarn" er daioni, lles, a dedwyddwch ydyw peth fel yna.

Sefyllfa bwysig a chyfrifol ym mhob cylch ac amgylchiad yw actio'r cyfaill. Sefyllfa bwysig a chyfrifol yw bod yn dadau a mamau, yn feistriaid, a phenau teuluoedd, gyda meibion a merched, gyda gweision a morwynion dan eu gofal, eu llywodraeth, a'u hyfforddiant. Dylai y rhai yma actio yn eu gwahanol gylchoedd fel prophwydi, offeiriaid, a breninoedd. Fel prophwydi, dylent ddysgu ac hyfforddi; fel offeiriaid, offrymu gweddïau ac erfyniau; fel breninoedd, llywodraethu yn ofn yr Arglwydd. Dywed Solomon, "Hyfforddia blentyn ym mhen ei ffordd, a phan hen-

eiddio nid ymedy â hi." Yr hyn a ddodir yn y sach gyntaf fel rheol a' ddaw allan yn ddiweddaf; felly hefyd y mae o'r pwys mwyaf beth a osodir o flaen y plentyn fel esamplau yn gyntaf, gan mai hyny fel rheol a lŷn wrtho hyd yn ddiweddaf; ïe, "a phan heneiddio nid ymedy â hi." Rhoddwch ynte esamplau da o flaen eich plant, eich teuluoedd, a'ch deiliaid; o blegid "gwell esampl na gorchymmyn," ys dywed yr hen ddiareb. Bydd edrych yn ol ar yrfa fel hyn—bydd gweled darlun byw o honoch eich hun yn adlewyrchu yn daubaid yn eich plant, a'r rhai fu dan eich gofal, yn sicr o fod yn olygfa dra phrydferth a hapus ar derfyn oes. Yr ydych yn llanw y bylchau hyn trwy eich esamplau, er da neu er drwg, fel "haiarn a hoga yr haiarn." Dyna lyfr, er enghraifft, yn dyfod allan o'r wasg am y tro cyntaf, ac yna dyna ailargraffiad yn ymddangos "gydag ychwanegiadau;" felly hefyd y gellir dywedyd am ein hesamplau ninnau yn y gwahanol gylchoedd, naill ai er da neu er drwg, y maent yn ymddangos fel math o ailargraffiadau "gydag ychwangiadau" yn y rhai ag sydd o hyd i ni fel cyfeillion; ïe, gellir dywedyd am ein hesamplau, "er yn farw, y maent yn llefaru eto" yn y rhai sydd yn ein dilyn.

Gan fod y fath ddylanwad yn perthyn i gyfeillgarwch, dylem fod yn wyliadwrus iawn wrth ddewis a ffurfio ein cyfeillion. Mae y canlynwr yn aml yn syrthio i'r rhwyd, pan mae yr arweinydd yn medru dianc yn ddianaf. Gallem enghreifftio hyn pe byddem yn meddwl am ddau lestr, un yn bridd a'r llall yn bres. Dyna y ddau lestr yn cael eu gosod ar fan sigledig a pheryglus; ac yn ddisymmwth dyna rywbeth yn taro yn ddamweiniol yn erbyn y ddau lestr, y pridd yn myned yn yfflon mân a'r pres yn aros yn ddigleisiau a diniwed. Fel yna y mae cyfaill yn aml yn arwain cyfaill i fan profedigaethus; a phan yn y cyffro hwn, sylweddolir y geiriau, "Y naill a gymmerir a'r llall a adewir." Dyna yr arweinydd trwy ei fedrusrwydd yn dianc yn ddisgloff, pan y delir y canlynwr yn ddiogel yn y rhwyd heb fedr na chyfrwysdra i ddianc fel ei arweinydd. Y mae pethau fel hyn yn dywedyd wrthym am beidio bod yn rhy frysiog i ddethol cyfeillion. Rhaid "profi yr ysbrydion ai o Dduw y maent," o blegid yr ydym yn gwybod yn lled dda erbyn hyn mai "nid aur yw pob peth sydd yn dysgleirio." Y mae crachfeddygon o hyd ar y maes, a rhaid i ninnau hyd y gallom gadw ym mhell oddi wrthynt, neu ynte ddyoddef ein niweidio yn lle ein hiachäu! Y mae y rhai hyn, fel dyfroedd Iericho gynt, yn niweidio pawb a phobpeth o'u cwmpas.

Mewn oes, dyddiau, ac amgylchiadau fel yr eiddom ni, dylem hogi ein hofferynau ysbrydol yn feunyddiol, fel y gallom wrthsefyll ein gelynion ar faes y frwydr, fel y gallom droi eu harfogaeth yn eu herbyn, fel y gallom ladd y gelyn, beth bynag y byddo, yn y plisgyn cyn y delo yn feistr arnom. "Uwch law pob dim," fel y dywed yr apostol, "cymmerwch helm yr iachawdwriaeth a chleddyf yr Ysbryd, yr Hwn yw Gair Duw." Ië, "cymmerwch atoch holl arfogaeth Duw, fel y galloch wrthsefyll yn y dydd drwg, ac wedi gorphen pob peth, sefyll." Gadëwch i ni ddarllen yn fanwl, astudio yn galed, ac efelychu gyda bwriad da fywyd ein Harglwydd Iesu Grist trwy ffydd, fel y gallom sylweddoli'r geiriau, "Eithr nyni oll â gwyneb agored yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd megys mewn drych, a newidir i'r unrhyw ddelw o ogoniant i ogoniant megys gan Ysbryd yr Arglwydd." Cofiwn, ynte, yn wastadol pan mewn cymdeithas, "Haiarn a hoga haiarn; felly gwr a hoga wyneb ei gyfaill." Na fydded i ni er dim ddibrisio ein dyled-

swyddau cyfrifol yn y mater pwysig yma.

"Cadw, ni a atolygwn i Ti, Arglwydd, dy Eglwys â'th dragwyddol drugaredd; a chan na ddichon gwendid dyn hebot ond syrthio, cadw ni byth trwy dy gymhorth oddi wrth bob peth niweidiol, ac arwain ni at bob peth buddiol i'n hiachawdwriaeth, trwy Iesu Grist ein Harglwydd." Amen.

D. RICHARDS,
*Curad Llandyssul.*

---

## PENNILLION I HEN DDERWEN HEOL Y PRIOR, CAERFYRDDIN.

*Buddugol mewn Cystadleuaeth yng Nghaerfyrddin, Hydref 28fed*, 1875.

O DDERWEN hynafol! cofgolofn syth
O ruthrgyrch chwyrnwynt canrifoedd,
Aeth amser â'th gangau gwyrdd-ddeiliog i ffwrdd
I'w claddu yn nhreigliad blynyddoedd!
Mae'r prydferth wyrddlesni goronai dy fri,
Draw, draw yn y pellder gorphenol,
Ac nid oes ond paladr noethlymyn i'w gael
Yn sefyll ar fron y presennol.

Aeth miloedd o dderw yn ddeilchion i'r gwynt
Yng nghwrs y gwahanol dymmorau;
Ond safaist ti'n wrol a chadarn o hyd,
Gan herio y brochus elfenau!
Mae'r gwyntoedd gauafol yn chwiban o'th gylch,
A'r trymwlaw yn curo dy goryn;
Ond darnia'r elfenau goedwigoedd i lawr
Cyn dygant y rhelyw o'th ruddyn!

JOHN WILLIAMS (*Ioan Egwad*).
*Caerfyrddin.*

---

## HANES YR EGLWYS YNG NGHYMRU O DEYRNASIAD ELISABETH HYD ORSEDDIAD VICTORIA.

### PENNOD XVII.

*Adolygiad ar Effeithiau y Gwrthryfel Mawr ar Foesoldeb, Crefydd, a Rhyddid.*

CYMMERASOM olwg mor arwynebol ar y *Gwrthryfel Mawr* a'i effeithiau, fel y tueddir yr ysgrifenydd i droi yn ol i adolygu rhai o'i ganlyniadau mwyaf hynod. Parhaodd y terfysg gwladol hwn, os cymmerwn ni gyfrif yr ymrysonau yn Lloegr, Cymru, yr Alban, a'r Iwerddon, i gynneu dros ugain mlynedd, o'r flwyddyn 1640 hyd 1660; felly treuliwyd nerth ymegnïol un genedlaeth gyfan "yn ofer am ddim." Y mae galanasdra rhyfel tramor yn alaethus, ond y mae rhyfel gwladol yn annhraethol fwy dinystriol yn ei effaith ar feddiannau a moesau y genedl. Yn yr ymrafael wladol hon, cymmerodd agos holl foneddigion tiriog Cymru arfau, a thrwy hyny tlodwyd y rhan fwyaf o honynt yn fawr iawn; ac yn fuan effeithiodd hyn yn dost ar gyflwr y werin ymddibynol. Mae hyn yn amlwg hyd heddyw yng ngwaeledd a thruenusrwydd yr anneddau cyffredin, y ffermdai, a'r Eglwysydd plwyfol a adeiladwyd neu a adgyweiriwyd yn yr ail ganrif ar bymtheg. A chymmerodd dau cant o flynyddoedd i wneyd i fyny golled ugain mlynedd o ryfel. Gwir bod rhai o foneddwyr a gwerin Cymru wedi ymrestru ac ymladd yn ddewr dan faner Cromwel cyhŷd ag yr edrychasant arno fel attalfa ar dra-arglwyddiaeth Seisonig; ond ymostyngasent o galon i'r llywodraeth filwraidd, a gamenwid yn werinol, a osododd efe i fyny. Ac, yn wir, nid oedd yn rhesymol dysgwyl i genedl o syniadau mor batriarchaidd a'r Cymry, cenedl wedi bod trwy holl oesoedd ei hanes a'i thraddodiadau yn ymlynu wrth dywysogion a breninoedd treftadol, fel cynnrychiolwyr awdurdod y Nef, ymostwng yn wirfoddol i weriniaeth. Yr oedd yr *enw* ei hun yn sarhâd ar ei balchder cenedlaethol; o ganlyniad, nid oedd neb parotach i orfoleddu yn adferiad y freniniaeth na'r Cymry. Er yr holl bregethu, nid oedd Puritaniaeth eithafol werinaethol wedi gwneyd ond ychydig iawn o argraff eto ar y Cymry fel cenedl.

Amcan agored a phroffesedig y Gwrthryfel oedd dymchwelyd Esgobyddiaeth a Llywodraeth Freninol, a sefydlu yn eu lle Henaduriaeth a Gweriniaeth. Camsynied mawr y blaid eglwysig a breniniaethol oedd

ymddibynu gormod ar rym cyfraith i ddarostwng ymraniadau crefyddol a sicrhau ufudd-dod i'r "awdurdodau goruchel." Ni chymmerth un trychineb erioed le dan haul nas gwelodd dynion, yn rhy ddiweddar, pa fodd y gallesid yn hawdd ei attal trwy ddoethineb gochelgar a phrydlawn. Felly, ymddengys i ni, yn yr oes hon, y gallasai y ddwy blaid ymrysonol yn hawdd ochel appeliad at y cleddyf; ac eto nid hwyrach na fuasem ninnau un mymryn doethach na'n tadau dan gyffelyb amgylchiadau. Peth anhebgorol i ddynion mewn awdurdod ydyw adnabod yr amser. Anghofiodd Siarls I. a'r Archesgob Laud eu bod yn byw mewn oes nas gellid trin y deyrnwialen na'r fugeilffon gyda llaw uchel; eu bai hwy oedd symbylu i Puritaniaid ymrafaelgar yn eu plith eu hunain i uno mewn gwrthryfel gwaedlyd. Pechod y Puritaniaid oedd anghofio rhybudd yr Arglwydd Iesu: "Pawb a'r a gymmerant gleddyf, a ddyfethir â chleddyf." Y mae llawer iawn wedi cymmeryd mewn llaw gyfreithloni gwaith y Puritaniaid yn y Gwrthryfel mawr hwn; ond fel y dywed Mr. Henry Richard yn ei draethodyn galluog, *The Effects of the Civil War in England on the National Liberties, Morality, and Religion*, "os barnwn gyfiawnder y rhyfel hwnw wrth safon mantais genedlaethol, nid oes brin rhyfel mewn hanes at yr hwn y gallwn gyfeirio gyda mwy o hyder pendant fel yn cadarnhau a darluniadu yr egwyddor mai ei effaith naturiol yw drygu, ac nid achlesu, achos rhyddid diysgog, crefydd wir, a phur foesoldeb." Addefwn gydag yntau, er mwyn dadl, fod y rhyfel hwn ar y cyfan yn llai treisgar ac annynol na rhyfeloedd cyffredin; ond profwyd ei effeithiau cyfamserol a dilynol mor chwerw na ddymunem byth eu hail archwaethu. Ac er i'r blaid orchfygedig dderbyn dyrnod trwm iawn dros amser, dyoddefodd y gorthrechwyr friw llawer mwy difrifol ei barhâd trallodus a'i graith foesol. Os teimlodd y genedl bwys teyrnwialen arglwyddiaethgar Siarls, fe brofodd fod cleddyf gormesol Cromwel yn llawer trymach ar eu gwar. Fel y dywed Mr. Richard, "yr oedd Lloegr wedi ei hamddifadu o bob rhith a chysgod o ryddid gwladol am yr hwn yr oedd wedi aberthu a dyoddef cymmaint." Diddymodd Cromwel bob rhyddid ymadrodd yn y Senedd, a phob criglyn o lywodraeth genedlaethol a chyfansoddiadol, gan osod i fyny ormes filwraidd dra arglwyddiaethgar dros yr holl dir. Rhanodd holl Loegr a Chymru yn ddeuddeg ardal, bob un dan reolaeth penswyddog milwraidd â llu o wŷr arfog dan ei awdurdod, i ddifa holl frasder y wlad trwy dreth a thrwy drais, dan yr esgus fod hyn yn angenrheidiol i ddiogelu heddwch y Wladwriaeth. Dyma gyflwr pethau pan, fel y sylwa Mr. Richard, "yr oedd teyrnasiad y saint wedi cael ei sefydlu. Yr oedd Puritaniaeth yn eistedd ar uchelfëydd y tir, ac yn gwneyd fel y mynai yn yr Eglwys a'r Wladwriaeth."

A phan ddygwyd Cromwel ei hun oddi ar y chwareufwrdd ym mreichiau marwolaeth, "os drwg gynt, gwaeth gwedi." "Dros amser," fel y sylwa Arglwydd Macaulay, "yr oedd y drygau anysgar oddi wrth lywodraeth filwraidd, i ryw radd, yn cael eu lleihau gan ddoethineb a mawrfrydigrwydd y dyn mawr oedd yn dal y brif awdurdod; ond pan basiodd y cleddyf a driniai efe i ddwylaw cadbeniaid na feddent mo'i alluoedd na'i rinweddau, yr oedd yn rhy debyg y byddai i iawn drefn a rhyddid drengu mewn un dinystr gwarthus." Nid oes le i ammheu nad oedd Cromwel yn ddyn o'r fath nerth meddyliol ac ymegnïad penderfynol nad ymddangosodd ei gyffelyb ond mewn ambell oes; a thra fu byw llwyddodd trwy fawr ymdrech i gadw ysbrydion cythryblus

a digofus y dydd dan afael ei grafanc gref. Ac nid ydym yn ammheu nad oedd yn offeryn hynod yn llaw Duw i gyfarfod amgylchiadau neillduol ei oes, nac yn anfoddlawn i gydymdeimlo ag ef i ryw radd dan y baich mawr o ofalon a chyfrifoldeb a dynodd ei uchelgais ar ei ben. Dywedir ei fod yn rhagofni cael ei lofruddio mor fawr fel na ddiosgodd ei arfogaeth oddi am dano i gysgu dros rai blynyddau cyn ei farwolaeth.

Yn nechreu yr ymrafael rhwng y brenin a'r Senedd, y mae yn amlwg fod Puritaniaeth wedi dringo i safle uchel a chadarn ym meddwl y wlad, a thros amser cadwodd ei gafael o'r tir hwn, yn ei ffurf Bresbyteraidd. Mor bell a hyn yr oedd yn ymlynu, mewn egwyddor neu broffes, wrth ffurflywodraeth unbenaethol ac wrth grefydd genedlaethol; ond wedi i Olifer Cromwel ddisodli dylanwad y Cadfridog Fairfax gyda'r fyddin, a gosod ei hun yn ben ar blaid yr Annibynwyr, diddymwyd gosodiadau mwy doeth a chymmedrol y duwinyddion a'r gwladgarwyr Henaduriaethol i roddi lle i'r syniadau mwyaf eithafol. Er enghraifft, yn lle dal priodas megys ordinhâd Duw a chyfammod i'w selio yn unig gan weinidog rheolaidd o'r Eglwys, diraddiwyd yr undeb fuasai trwy oesoedd yn gyssegredig "trwy Air Duw, gweddi, a chynghor duwiol" i fod yn ddim mwy na chytundeb gwladol o flaen un o'r swyddogion milwraidd, y rhai a gynnysgaeddwyd gan y cleddyf a phob awdurdod flaenorol a feddai y Goron, y Senedd, a'r Eglwys. Ac o bob peth treisgar dan haul, nid oes dim tebyg i dra-arglwyddiaeth filwraidd. Trowyd y Senedd allan gyda gorthrech a sarhâd; nid oedd dim llywodraeth yn y wlad, na phenswyddogion i ranu cyfiawnder ac amddiffyn y gwir, ond y milwyr, a'r rhai hyny yn benben â'u gilydd. Nid oedd gobaith am dangnefedd a diogelwch, ond rhyw ddysgwyl ofnadwy am ymrafaelion gwaedlyd a pharhâus rhwng penaethiaid y fyddin am feddiant o gleddyf y cawr syrthiedig, sef Cromwel.

Anhawdd yw cyfrif yn rhy uchel draul y Gwrthryfel Mawr hwn i'r ddwy blaid ymrysonol. Benthyciodd y Senedd 11,000,000p. oddi ar y blaid wrthfreninol cyn cymmeryd y maes yn erbyn y brenin; ac yn 1646 talwyd 400,000p. i'r Ysgotiaid (y Presbyteriaid arfog yn y gogledd) am fradychu'r brenin i ddwylaw ei lofruddion. Nid oedd hyn ond rhan fechan o draul y gorchfygwyr, ac o'r baich anoddefadwy a ddisgynodd ar gefn y genedl dros lawer o flynyddoedd; mewn gair, cafwyd fod bys bach Cromwel a'i filwriaid yn drymach na holl gorff Siarls a'i lys. Nid oes genym ddim damcaniad o fawr gost y Rhyfel Gwladol hwn i'r blaid freningar, trwy ddinystr ac ysbeiliad eu heiddo a'u tiroedd, dros hir amser.

Ond peth dibwys oedd hyn oll mewn cymhariaeth i'r llygredigaeth moesol a achoswyd trwy ddymchweliad cyfamserol yr orsedd a'r allor. Creodd ysbryd dialgar, gwaedlyd, ac aflywodraethus trwy holl gylch cymdeithas. Anghyfaddasodd hyd yn oed proffeswyr mwyaf croch crefydd a rhyddid i fyw yn llonydd a heddychol mewn duwioldeb ac onestrwydd; ïe, fel y gwelsom eisoes, troes olwg y byd meddylgar oddi wrth Gristionogaeth ei hun i edrych am rywbeth cystal neu well mewn deistiaeth ac anffyddiaeth. Fe ddywed Macaulay, am benbleth a chymmysgedd rhyfedd yr oes dan sylw, fod "atheistiaid wedi troi yn Buritaniaid, Puritaniaid yn atheistiaid; gweriniaethwyr yn amddiffyn hawl ddwyfol breninoedd, y llyswyr mwyaf ymgreiniol yn crochlefain am ryddid y bobl; barnwyr yn chwythu yn fflam gynddaredd tyrfaoedd terfysglyd, gwladgarwyr yn pocedu llygrwobrwyon oddi wrth alluoedd tramor; tywysog pabyddol yn arteithio Presbyteriaid i Esgobyddiaeth yn un rhan o'r ynys, a Phresbyteriaid yn tori

anudon perjury



penau pendefigion pabyddol a boneddigion yn y parth arall." Dyma ffrwythau y Gwrthryfel a gychwynwyd gydag amcan o amddiffyn rhyddid crefyddol a gwladol, fel y sylwa Mr. Richard. Sonir mwy na mwy am foesoldeb a duwiolfrydedd y bobl a sancteiddiad y Sabbath yn Llundain, a thrwy yr holl deyrnas, ar doriad allan y Rhyfel Gwladol, ac am y cyfnewidiad mawr a rhyfeddol a'i dilynodd—anfoesoldeb ac annuwioldeb ofnadwy y wlad yn niwedd y cyfnod hwnw, flynyddau rai cyn i esampl Siarls II. a'i lys allu llygru moesau y genedl. Nid oes yn holl hanes llenyddiaeth Seisonig ddim cyffelyb i halogrwydd moesol digywilydd, ac annuwioldeb gwynebpres barddoniaeth chwareuol yr awdwyr oedd y pryd hyny yn cogino pethau trythyll ac anniwair at archwaeth lygredig dinaswyr Llundain a threfi poblogaidd gwageddus ereill, y rhai a ymhyfrydent yn eu gwrando, ac edrych ar yr arddangosiadau mwyaf anweddus ac aflan. Dywed Macaulay fod y gyfran hon o lenyddiaeth Seisonig "yn warth i'r iaith a'r cymmeriad cenedlaethol . . . . . . yn ddaiarol, anianol, a chythreulig. . . . . Amgylchynir ni gan dalcenau o bres, calonau fel meini isaf y felin, a thafodau wedi eu gosod yn fflam gan uffern." Fel hyn y bu i ddymchweliad pob awdurdod gyfansoddiadol, eglwysig, a breninol, trwy benboethni a gormod rhysedd Puritaniaeth weriniaethol ac appeliad at y cleddyf yn hytrach nag at y gyfraith a'r dystiolaeth, achlysuro yr ormes, yr aflywodraeth, a'r llygredigaeth moesol mwyaf echrys a galarus yn holl hanes oesoedd diweddar.

Dygodd y rhyfel crefyddol hwn hefyd warth mawr ar y Diwygiad Protestanaidd yng ngolwg cenedloedd pabyddol y Cyfandir. Dengys i ni mor dueddol ydyw penboethni crefyddol, heb un ffrwyn i'w attal rhag rhedeg yn ynfyd, i roddi lle i ragrith ac anwiredd, fel y dywed Lilburne am y "Penau Crynion:" "A fu erioed genedlaeth mor wrthgiliedig, gau, ac anudongar a'r rhai hyn? A fu dynion erioed yn proffesu gradd uwch o sancteiddrwydd, crefydd, a *sel* dros Dduw a'u gwlad na'r rhai hyn? Y maent yn pregethu, yn ymprydio, yn gweddïo; nid oes dim yn fwy cynnefin ganddynt nag ymadroddion allan o'r Ysgrythyr Lân, enw Duw, a Christ yn eu geneuau. Prin y gellwch siarad a Chromwel am unrhyw beth na ddyd ei law ar ei fron, y cyfyd ei olwg i fyny, gan alw Duw yn dyst; wyla ddagrau, griddfana, ac edifarhâ hyd yn oed pan y tery chwi dan y drydedd ais." Ond, fel y sylwasom eisoes, nid oedd Cromwel hanner cymmaint gormeswr creulawn a llawer o'i swyddogion a adawodd ar ei ol wedi meddwi ar waed eu cleddyf treisgar.

"Yn wir," medd Mr. Henry Richard, "pan sieryd dynion crefyddol am gyfnod y Weriniaeth, gwnaent hyny gyda chyfyngiad rhyfedd a pherffaith haerllug o'r ymadrodd 'moesoldeb Cristionogol.' Fel hyn, siorhânt ni fod byddin Cromwel yn gorff o ddynion arbenig o foesol. Ond pan ddelom i ymofyn ym mha ystyr yr arferant y gair 'moesol,' cawn eu bod yn cyfyngu ei arwyddocâd i ymwadiad â rhyw ychydig o'r chwantau pechadurus personol anferthaf. Nid oedd gwrthddrychau eu mawl amgen nag mewn yfed, a thyngu, ac mewn ymroddi i arferion penrhydd tebyg i wŷr meirch Rupert. Ond a gynnwys moesolder, yn yr ystyr Gristionogol, ddim rhagor na hyn? A oes dim a fedd â rheoleiddiad y galon a meithriniad tymmer gysson ag ysbryd yr Efengyl? Onid gwir yw bod Cristionogaeth yn darlunio anwireddau ysbrydol yn fwy drygfawr a pheryglus fyth na phechodau cnawdol, a bod rhan fwy o lawer o foesddysg y Testament Newydd yn cael ei annelu yn erbyn y (pethau) blaenaf nag hyd yn oed

yn erbyn y rhai olaf? Ac wrth y safon yma, pa ryw fath oedd y 'moesoldeb' oedd yn ffynu yng ngwersyll Cromwel, ac o'r gwersyll yn ymwasgaru yn eang trwy 'gymdeithas?' Moesoldeb ag oedd berffaith gysson ag ymollyngiad penrhydd i holl nwydau gwaethaf ein natur. Nid oedd yn gwahardd iddynt fynwesu dygasedd, malais, ac anghariadoldeb hyd yr eithaf. Nid oedd yn eu hattal oddi wrth weithredoedd o 'ail-daliad' mileinig a dial sychedig am waed. Yn wir, yr oedd y drychddelw o gymmeriad a ddelid i fyny y pryd hyny mewn anrhydedd uchaf yn taflu dirmyg ar holl rinweddau *nodweddol* Cristionogaeth—'ymysgaroedd trugareddau, cymmwynasgarwch, gostyngeiddrwydd, addfwynder, ymaros,'" &c.

Fel hyn anfoesolwyd yr holl genedl a'r oes hòno i raddau dychrynllyd. Yr oedd fflam y Gwrthryfel Mawr hwn mor angerddol fel y cynneuodd ei gwreichion fân ymladdfëydd, ac ymrysonau gwaedlyd, ac anrhaith ym mhob cyfeiriad rhwng ardal ac ardal, rhwng teulu a theulu, rhwng gwr a gwr. "Dyddiau truenus a gwaedlyd oeddynt," chwedl Baxter, pan y cyfrifid y neb a laddai fwyaf o'i gaseion yn fwyaf anrhydeddus o bawb." Gellid yn wir ddywedyd llawer rhagor am ddrygioni a thrueni y genedlaeth hòno. Ni welodd Satan erioed oes fwy cyfaddas yn holl hanes Cred (wedi ei braenaru â'r cleddyf selotaidd, a'i gwrteithio â gwaed ymbleidwyr ymrysongar) i hau a phlanu deistiaeth ac anffyddiaeth, i greu yng nghalonau miloedd ragfarn yn erbyn crefydd a duwioldeb, cred a phroffes Gristionogol, wrth weled gweithredoedd anfad dynion â Gair Duw a gweddi yn uchaf ar eu tafodau, a'u bysedd yn dyferu gan waed eu cymmydogion.—Gwel Bp. Burnet's *History of his own Times*, Marden's *Later Puritans*, Macaulay's *Hist. of England*, Richard's *Effects of the Civil War, &c.*

## CYMMEDROLDEB.

*Crynodeb o Anerchiad a draddodwyd gan y Parch. W. Williams, yn Ysgoldy Cenedlaethol Llanbedr, Nos Wener, Tachwedd 12fed,* 1875.

Y MAE cymmedroldeb yn gofyn sylw a chydweithrediad difrifolaf pob dosbarth a math o grefyddwyr. Ein dyledswydd *bob amser* ydyw cyduno i wrthryfela yn erbyn pechod ym mha ffurf bynag y bodola, i wrthweithio dylanwad pob drygioni, ac i gasglu pob nerth sydd ynom, fel gwlad a chenedl, i fwrw cestyll annuwioldeb i'r llawr; a gwyn fyd na fyddai felly, o herwydd "mewn undeb y mae nerth." Gobeithio y gwelir effeithiau daionus yn deillio oddi wrth gydymdrech Eglwyswyr ac Ymneillduwyr i orchfygu un o brif elynion ein gwlad, sef meddwdod.

Y mae dau allu nerthol ar y maes yn brwydro yn erbyn y gelyn hwn, sef "Temlyddiaeth Dda" a "Chymdeithas Cymmedroldeb Eglwys Loegr." Nid ydwyf yn bwriadu dyweyd dim am rinweddau y naill na'r llall o'r cymdeithasau hyn (er, y mae yn rhaid cyfaddef, fod rhinweddau yr olaf yn fwy cydweddol â'm teimladau a'm barn); eto, ef allai mai nid anfuddiol nac ammhriodol mewn cyfarfod o'r fath yma fyddai crybwyll wrth fyned heibio fodoliaeth y gymdeithas sydd mewn cyssylltiad â'r Eglwys.

Y mae wedi bod yn gweithio yn egnïol a llwyddiannus am tua thair blynedd ar ddeg; ac yn ystod yr amser yna, y mae wedi gwneuthur daioni mawr, er ef allai yn fwy felly ym mhlith y Seison nag yn ein plith ni, y Cymry. Mae o dan nawdd y Frenines, ac o dan lywyddiaeth y ddau archesgob. Yr islywyddion ydynt y mwyafrif o'r esgobion ac urddasogion ein gwlad, ac ym mhlith aelodau y pwyllgor y mae prif enwogion ein teyrnas. Nid ydynt yn arbed arian, amser, na thalent er mwyn hyrwyddo y gwaith sydd ganddynt mewn llaw. Bendith fawr

fyddai gweled cangen o'r gymdeithas hon wedi ei sefydlu ym mhob plwyf, gan mai ei hamcan ydyw llesoli dynoliaeth, dyrchafu moesoldeb, a diwygio agwedd grefyddol ein gwlad.

Mae gan y gymdeithas hon, yng nghyd â'r gymdeithas arall a enwyd eisoes, waith pwysig mewn llaw, a gorchwyl anhawdd i'w gyflawnu; ond os dyfalbarhânt gyda dybenion cywir, a chydag ymddibyniad hollol ar gyfarwyddyd a bendith Duw, y maent yn sicr o lwyddo. "Ym mhob llafur y mae elw," meddai'r Gwr Doeth; ac er mai ychydig o ffrwyth a welir yn awr, ceir gweled mwy yn y dyfodol. Bydd i'r gwaith ymeangu; bydd i'r had gwerthfawr sydd yn cael ei roddi i lawr gynnyddu ac amlhau; bydd i'r lefain ag sydd yn lefeinio ychydig does yn bresennol, effeithio nid yn unig ar yr oes bresennol, ond hefyd ar yr oesoedd sydd i ddyfod. Er cymmaint sydd wedi ei wneyd i rwystro meddwdod rhag gorlifo ein gwlad, y mae digon o waith eto i'w gyflawnu. Dywedir fod dros drigain mil o fywydau dynol yn syrthio yn ysglyfaeth bob blwyddyn i grafangau y gelyn ofnadwy hwn—trigain mil yn y deyrnas hon yn unig! A beth raid fod y nifer yn holl wledydd Cred y byd, heb son am wledydd paganaidd! Y mae yng nghylch cant a deugain o filiynau o bunnau yn cael eu gwastraffu yn flynyddol yn y deyrnas gyfunol hon ar wirodydd meddwol, y rhai sydd megys gwenwyn marwol yn achosi hadau marwolaeth naturiol, moesol, a chrefyddol i gael eu hau yng nghyfansoddiad ein cenedl. Mae yr hadau hyn yn gwanhau ein cyrff, yn iselhau ein cymmeriad, yn distrywio cynneddfau a galluoedd yr enaid, ac yn sugno ymaith ein bywyd ysbrydol. Ië, pe byddai i'r meddwyn ystyried gymmaint o ddaioni gwirioneddol y mae yn golli, a maint y poen diddiwedd y mae yn ennill, wrth ymbleseru yn y dafarn ac mewn manau ereill uwch ben ei gwpan melltigedig, hwyrach y byddai iddo arafu ei gamrau ac ystyried ei ffyrdd, eu ffieiddio a'u gadael. Pa beth y mae yn golli? Y mae yn colli ei iechyd, ei feddiannau, ei gymmeriad, ei burdeb meddwl, heddwch ei gydwybod, a dedwyddwch o bob math. Beth ydyw ei ennill? Dim ond gofidiau a thrallodion, griddfan a gwae, dinystr enaid a chorff, distryw tymmorol a thragwyddol.

1. Mae y meddwyn yn colli ei iechyd.

Yr achos o lawer iawn o glefydau, afiechyd, a gwendid corfforol ydyw anghymmedroldeb o bob math, naill ai ynom ein hunain neu ynte yn ein rhieni (canys cofiwch fod clefydau yn cael eu trosglwyddo o'r rhieni i'w plant). Y mae cymmedroldeb o'r ochr arall—cymmedroldeb mewn cwsg, ymborth, a diod—yn estyn yr oes, yn peri i ddyn fwynhau iechyd corfforol, a thrwy hyny mwynhau bywyd cysurus o dedwydd, ac ef allai marw o addfedrwydd henaint.

2. Y mae yn colli ei feddiannau a'i gyfoeth, ac yn dwyn ei hun i'r amgylchiadau mwyaf cyfyng.

Mae yn treulio ei amser ac yn gwastraffu ei arian ar yr hyn nid yw yn digoni. Y mae yn colli pob blas a hyfrydwch yn ei waith a'i orchwylion bydol, ac yn suddo yn ddyfnach dyfnach ym mhleserau gwag a difudd y ddiod feddwol, a thrwy hyny yn analluogi ei hun i fod yn ddefnyddiol yn y cylch ym mha un y mae yn troi.

3. Mae y meddwyn yn colli ei gymmeriad, ac yn diraddio ei hun ym mhob ffordd.

Nid llawer o barch sydd gan neb i'r meddwyn; a phe buasai sefyllfa y gymdeithas ddynol wedi ei dyrchafu i'w sefyllfa briodol, buasai pob dyn rhesymol yn ffieiddio meddwdod fel y peth mwyaf dirmygedig ac adgas; byddai iddo ffieiddio y drwg, ond tosturio wrth gyflawnydd y drwg. Nis gallwn roddi unrhyw

ymddiried yn y dyn sydd yn boddi ei reswm a'i deimladau da, a thrwy hyny iselhau ei hunan yn y modd mwyaf gwarthus. Y mae yn waeth na'r anifail direswm, yn cyflawnu pechodau gwaradwyddus a chywilyddus, yn defnyddio iaith isel ac annheilwng o hono ei hun fel dyn, a'i fynwes yn nyth i bob aderyn aflan.

4. Cas ganddo burdéb; ychydig os nid dim mae yn wybod am dano.

Mae yn ymhyfrydu mewn golygfëydd a chyflawniadau pechadurus; y mae wedi colli delw a *stamp* ei Greawdwr i raddau pell iawn, ac y mae yn fwy tebyg i wallgofddyn nag ydyw i fod anfarwol.

5. Ond yn olaf, atolwg, nid ydyw yfed a meddwi yn rhoddi cysur a dedwyddwch i ddyn!

Onid ydyw yn alltudo gofalon y byd o'r meddwl? Onid ydyw yn peri i ofidiau a thristwch ddiflanu o'r fynwes a myned ymaith? Gadawaf i brofiad rhai o honoch ateb, ac yr ydwyf yn sicr mai tystiolaeth ddiysgog pob un ydyw, mai cwpan chwerw ydyw y cwpan meddwol; y mae yna angeu yn ei waelod; mae yna gnofëydd cydwybod yn aflonyddu ar heddwch y meddwl, a buasai llawer un yn rhoddi y byd, pe byddai yn ei feddiant, am waredigaeth oddi wrth gyhuddiadau yr arthes hon. Mewn gair, diwedd yr holl feddwon anedifeiriol ydyw cywilydd, gwarth, dinodedd, ac angeu dychrynllyd.

Dyna rai o'r amryw effeithiau y mae meddwdod yn gael ar ddyn fel *person unigol;* ond cofiwn nad oes neb yn byw na marw iddo ei hun. Y mae dyn yn fod cymdeithasol; y mae yn dal cyssylltiad ag ereill, ac y mae dedwyddwch neu drueni lluaws o'i gydgreaduriaid yn ymddibynu ar ei ymddygiad ef. Os yn feddwyn, y mae yn elyn i'w deulu, i gymdeithas, ac i'r deyrnas yn gyffredinol—yn elyn mewn modd moesol a chrefyddol. Ië, peidiwn â cholli golwg ar yr olaf, sef crefydd. Cofiwn fod dyn yn dal perthynas â'i Greawdwr hefyd. Nis gall trwy unrhyw weithred o'i eiddo, bydded dda neu ddrwg, ymysgwyd oddi wrth y berthynas hon. Bydd yn rhaid iddo roddi cyfrif o'i oruchwyliaeth ac o'r modd y mae wedi ymddwyn fel goruchwyliwr ar eiddo Duw. Bydd iddo dderbyn gwobrwy am iawn ddefnyddiad o'i drugareddau, neu ynte gosp haeddiannol am esgeulusdod a chamddefnydd o honynt.

Yn y fan yma, a gawn ni ofyn i lwyr-ymwrthodwyr gymmeryd un cynghor yn garedig, sef peidio ymddiried *gormod* yn eich gwaith da a chanmoladwy, ar draul esgeuluso gorchwyl mwy pwysig. Nid ydwyf am eich digaloni mewn un modd, ond yr wyf am i chwi gofio fod mwy nag un ffurf o anghymmedroldeb. Y mae y fath beth a phosiblrwydd i ddyn fod yn anghymmedrol mewn cwsg, a thrwy hyny fod yn euog o segurdod; mewn ymborth, a thrwy hyny fod yn euog o lythineb; ac mewn pleserau a gofalon y byd, ac o ganlyniad yn gwasanaethu Mammon, ond yn anghofio ac yn ammharchu Duw. Yn eich cyfarfodydd, bydded i chwi ystyried eich gwaith fel parotoad y ffordd i rywbeth uwch. Dysgwch yr aelodau, yn enwedig yr ieuenctyd, fod ganddynt eneidiau anfarwol, a bod Crist wedi tywallt ei werthfawr waed i brynu eu *cyrff* yn gystal a'u heneidiau oddi wrth weithredoedd drwg a phob llygredd pechadurus; ac a fydd iddynt halogi y temlau ysbrydol hyn trwy eu gwerthu yn gaeth i'r "llew rhuadwy," i "dduw y byd hwn," i fod o dan ei lywodraeth haiarnaidd? Dysgwch iddynt barchu eu hunain fel bodau sydd wedi eu bwriadu i ymhyfrydu yn yr Arglwydd, ac i fwynhau cymdeithas y saint perffeithiedig, yr angylion, a'r seraphiaid sydd yn mwynhau presennoldeb digyfrwng "Duw a'r Oen;" ac a fydd iddynt ymfoddloni ar ymborthi ar gibau y moch ac ar ymbleseru yng nghym-

**deithas gwehilion anwariaid y byd?** Dysgwch iddynt i ymddyrchafu o laid pechod, i osod eu traed ar Graig yr Oesoedd, a gweddïo am i Ysbryd y Duw byw hwylio eu cerddediad o "nerth i nerth" hyd nes yr ymddengys pob un o honynt ger bron Duw yn Sïon, y Ierwsalem nefol.

---

## AMSER.

Amser yw y mwyaf annarluniadwy ac anghysson o bob peth. Ddoe wedi myned heibio, y fory heb ddyfod, ac heddyw sydd yn myned ymaith. hyd yn oed pan y ceisir ei attal; ac fel mellten o'r cwmwl, ar unwaith yn dysgleirio ac yn diflanu—yn byw ac yn marw.

Amser ydyw mesurwr pob peth, ond ei hun yn anfesuredig; ac efe yw prif ddynoethwr pob peth, ond ei hun nis gellir ei ddynoethi: fel gwagle, mae yn anamgyffredadwy, o blegid nid oes derfyn iddo. Mae yn fwy dirgel yn ei darddiad na'r afon Nile, ac yn ei orpheniad na'r Niger. Daw ym mlaen fel y llanw mwyaf araf, ond ffy ymaith fel y ffrwd mwyaf gwyllt. Rhydd adenydd ysgafn i bleser, ond traed o blwm i boen; efe a rydd ar fenthyg ffrwyn i *ddysgwyliad*, ond i *fwynhâd*, *ysbardyn*. Amddifada Glendid o'i swynion i'w trosglwyddo ar ei darlun; adeilada gofadail i Haeddiant, ond a'i gwrthod i Balas. Hwn ydyw diflanol a thwyllodrus wenieithwr celwydd, ond cyfaill ffyddlawn a pharhäus gwirionedd. Amser ydyw y mwyaf cyfrwys, ac eto y mwyaf annigonol o bob ysbeiliwr; a thrwy ymddangos nad yw yn cymmeryd dim, caniatëir iddo gymmeryd pobpeth, ac nis digonir ef hyd nes dwg y byd oddi wrthym, a ninnau oddi wrth y byd. Ar ei adenydd mae efe bob amser, eto goddiwedda bob peth gan ei gyflymdra; er yn awr ei fod y presennol gyfaill, efe fydd y dyfodol gorchfygwr Angeu.

Amser, cryd gobaith ond bedd **uchelgais, ydyw sarig gospwr ffyliaid,** ond cynghorwr iachusol y doeth, gan ddwyn pob ofnau i un, a'i holl ddymuniant i'r llall! Ond fel Cassandra, rhybuddia ni ag ymadrodd yr hwn a anghredir gan y doethaf yn rhy hir, ond a gredir gan yr ynfyd yn rhy ddiweddar. Doethineb a gerdd o flaen amser, cyfleusdra yn gydymaith ag ef, ac edifeirwch tu ol iddo. Y gwr a'i gwnaeth ef yn gâr iddo, a ofna ond ychydig oddi oddi wrth ei elynion; ond yr hwn a'i gwna ef yn wrthwynebwr iddo, a feddianna ond ychydig i obeithio oddi wrth ei gyfeillion.

Wr, ymswyn wrth gofio'r amser—gollaist,
A gwella dy dymmer:
Brau yw'r ty y sy dan ser,
Nefoedd i'r cyfryw nifer.

---

## BUGEILIAID EPPYNT.

*Sierlyn.* Boreu da, fechgyn; sut y mae *politics* a helyntion crefyddol yn myned rhagddynt yn awr? middling

*Idwal.* Gweddol bach; yn wir, nid yn dda ~~yn y byd~~; mi a welais well bethau yn well o lawer.

*Ifor.* Yr wyf yn deall eich bod chwi, yr Ymneillduwyr, yn parhau i baffio a melltithio eich gilydd yn barhäus. Pan na fyddwch chwi yn melltithio yr Eglwys, yr ydych yn melltithio eich gilydd yn fyw a marw.

*Sierlyn.* Hynod mor brin y buaist ti, Ifor, yn hanes capel y *policeman* y tro o'r blaen. Yr ydwyf fi wedi clywed llawer o'r hanes wedi hyny.

*Ifor.* Moes glywed, ynte.

*Sierlyn.* Mae capel y *policeman*, fel y gelwaist ti ef, yn sir Aberteifi, tua chwech milltir o Gastell Newydd Emlyn. Mae ysbryd bod yn flaenor yn blino rhan go fawr o'r gynnulleidfa hòno, neu yng ngeiriau Hiraethog, mae "pab bach" ym mynwes llawer iawn o'r bechgyn gwledig hyny. Nid oes syched yn y byd arnynt am wybodaeth o un math, dim ond eisieu bod yn *ddiacon;*

dyma safle uchaf ymgais y bechgyn hyn!

*Ifor.* Ië, druain o honynt, cael bod yn flaenor! fel pe buasai bywyd tragwyddol, a phob peth arall, yn sicr wrth hyny.

*Sierlyn.* Mi welais ambell bleutyn tair blwydd oed ac ambell symlyn (*idiot*) yn cael ysnodenau ac ychydig bluf yn eu capiau, ac yr oeddynt wedi hyny yn meddwl mai hwy oedd y dynion pertaf a mwyaf pwysig yn y byd. Felly mae y gwirioniaid hyn; dim ond cael bod yn flaenor, dyna hwy yn eu tyb eu hunain y dynion mwyaf pwysig yn y byd. Os collant eu hamcan, y maent yn myned yn gynddeiriog wyllt, yn llawn cythreuleiddiwch a phob nwydau uffernol—celwydd a melltith, pob ystryw annynol ac anghristionogol.

*Ifor.* A glywaist ti am y tynu ofnadwy a fu ar y dysglau a'r cwpanau yn y capel hwnw ar foreu cymmundeb?

*Sierlyn.* Do; o bob annuwioldeb, dyna'r peth chwithaf a glywais. Mynai ei anffaeledigrwydd ysgymmuno pedwar neu bump o flaenoriaid am eu bod fel Dr. Dolinger o'r Almaen yn pallu cyfaddef ei anffaeledigrwydd—yn pallu rhoi cymmundeb i ymgeisydd o rodiad gweddus. Ar ol iddo yn rhyfygus gyssegru yr elfenau trwy ryw fath o weddi ryfedd, dyna'r diaconiaid yn myned ym mlaen i gymmeryd y bara a'r gwin. Dyna ei anffaeledigrwydd yn tynu y dysglau a'r cwpanau yn ol o'u dwylaw, a hwythau, fel Luther a Dolinger yn llawn penderfyniad, a dynent y dysglau yn ol, ac yno y bu yn dynu ofnadwy am ryw amser hir. Plaid y gweinidog â'u "Ow" fawr, a phlaid y diaconiaid a'r ymgeisydd am aelodaeth â'u "Hai." Ef allai na fu o'r blaen y fath deimladau wrth fyned at y fath waith pwysig—"Hai" a "Ow" crefyddol.

*Ifor.* Y mae llawer o son gan yr Ymneillduwyr fod eisieu glanhau yr Eglwys; byddai yn llawer gwell iddynt lanhau eu budreddi eu hunain yn gyntaf.

*Sierlyn.* Buasai yn llawer rheitiach i Mr. Henry Richard, Dr. Rees, Abertawy; Dr. Hiraethog, J. Thomas, Llerpwll, a phob coeg ddoctor—doctoriaid bwtwm plwm o Germani ac America—lanhau gwersyll aflan Ymneillduaeth yn gyntaf; maent yn warth i Gristionogaeth ac i'r oes yr ydym yn byw.

*Ifor.* Yr wyt ti, Sierlyn, yn bur hapus yn dy gymhariaethau weithiau; i ba beth yr wyt yn cyffelybu yr areithwyr hyn?

*Sierlyn.* Beddau gwedi eu gwyngalchu ydynt; y maent tu allan yn ymdrechu dangos yn lân, ond o'u mewn yn llawn budreddi. Maent fel ty colomenod yn lân mewn ymddangosiad, ond tu fewn yn llawn celwydd a phob ammhuredd. Ni fu ty un golomen erioed yn fryntach nag yw capel y *policeman.*

*Ifor.* A wyt ti yn cofio am Malen Twm Rhosser?

*Sierlyn.* Ydwyf yn dda. Yr oedd o gartref bob amser yn fath o bincen goeglyd, a'i phlant bychain gartref yn yr ynfydwch a'r brynti mwyaf. Math o blant i Malen Twm Rhosser yw pobl y dadgyssylltiad; nid ydynt yn gofalu dim am lanhau eu tai eu hunain. Bu y doctoriaid hyn yn areithio ar hyd a lled sir Aberteifi yng nghynhwrf etholiad 1868; ond nid oes son eu bod yn dyfod yma yn awr i wneyd dim at lanhau capel y *policeman* a chapeli ereill. Beth pe buasai *policeman* wedi bod yn gwasanaethu fel hyn mewn Eglwys, byddai holl fechgyn y dadgyssylltiad yn ei godi i'r wasg, i bob pulpud, a phob *platform* trwy y deyrnas.

*Ifor.* A glywaist ti fod cryn ymdrech wedi bod i gelu cyssylltiad y gweinidog â galw y *policeman* i'r capel?

*Sierlyn.* Do; ond y mae Ifan Benfain wedi brathu y dirgelwch trwyddo: efe oedd y blaenaf. Aeth ato ar ddiwedd y gad, gan ddiolch iddo

am ei wasanaeth dirfawr. O hyn allan gelwir y capel yn *Philippi*, o barch i'r swyddwr gwladol.

*Ifor.* Mae ysbryd Eglwys Rhufain yn dyfod yn fwy amlwg o hyd yn y gwersyll ymneillduol: mae anffaeledigrwydd ar ei gynnydd yn barhäus.

*Sierlyn.* Ydyw, y mae Ymneillduaeth yn myned yn agosach i Rufain bob dydd. Nid *anffaeledigrwydd* yn unig sy'n gweithio ei ffordd yno, ond yr ysbryd melltithiol ofnadwy hwnw a hynododd Eglwys Rhufain trwy yr oesoedd—rhyw anathema melltigedig—melltithio dynion a'u bwrw i uffern os na fyddant yn cydweled â phob peth fydd ei anffaeledigrwydd a'i ffyddloniaid ysgeler yn ddyfeisio.

*Ifor.* At beth yr wyt yn cyfeirio, Sierlyn?

*Sierlyn.* Ti glywaist son ddigon am helynt y *policeman* ar ol i'w anffaeledigrwydd eu melltithio. Fe ddeisyfodd yn ei weddi esgymmunol ryfygus, os na fyddai i'r dynion hyn wella, am i angeu ddyfod i'w cymmeryd ffwrdd. Bu farw un o honynt, yr hwn oedd amaethwr cyfrifol, gan adael gweddw a saith o blant i alaru eu colled. Yr oedd y dyn mwyaf caredig mewn cylch o ugain o blwyfi, yn briod o'r fath dyneraf, yn dad serchus, ac hefyd yn llysdad o'r fath oreu; yn gymmydog call a hawddgar, a'i holl fywyd am y pum mlynedd ar hugain diweddaf o'i oes yn esampl i'r holl wlad: ond methai, fel y Dr. Dolinger o'r Almaen, â chredu yn anffaeledigrwydd y pab, ac o herwydd hyny bu farw dan felltith y *Vatican* ymneillduol. Dywedir mai gweddi ei anffaeledigrwydd gafodd ei gwrando!

*Ifor.* Sierlyn anwyl, mae'r pethau erchyll hyn yn ddigon i beri i wallt unrhyw ddyn rhesymol sefyll yn syth ar ei ben! Nid oes nemawr ddim gwahaniaeth rhwng Ymneillduaeth a bod yn barod i briodi ag Eglwys Rhufain.

*Sierlyn.* Na, fe ellir cael priodas pryd y mynir. Ar farwolaeth y gwr caredig a nodais, ymddangosodd ysgrif front a chythreulig mewn papyr a gyhoeddir yn sir Feirionydd am Tachwedd 12fed, lle mae ei anffaeledigrwydd mewn dull cyfrwys, blagardaidd, a phabyddol yn ei felltithio. Am nad oedd gweinidog enwog ag oedd wedi pregethu yn ei angladd wedi cyduno i'w felltithio, ond wedi ei ganmol yn fawr fel dyn teilwng o'i efelychu, a bod ei farwolaeth yn golled i'r ardal, mae y gweinidog hwn wedi cael ei alw yn "Ifan y Gof," "Masnachwr Ceffylau," ac enwau enllibus ereill. Dywedir fod papyrlen y llythyr wedi ei chael o'r swyddfa; ond ni chlywais pa un ai llawysgrif ei sancteiddrwydd, neu ynte rai o'i ffyddloniaid a gyfarfuent ar y pwnc yn y *Vatican*, ydyw.

*Ifor.* Y mae yn rhaid fod rhyw greaduriaid dynol barbaraidd iawn yn y parth hwnw.

*Sierlyn.* Wele ddysgrifiad a gefais i fel *specimen* o honynt mewn llythyr boreu heddyw:—"*Ifan Dwmpath:* Rhyw delpyn o greadur yn debyg i ryw fath o ddyn, agos yr un hyd a'r un led. Ni fu o olwg ei fam ddydd na nos, nes oedd tua deugain oed. Mae yn cludo ffon fawr yn ei law, ac yn cadw rhywbeth amrosgo o amgylch ei drwyn, a'i lygaid yn debyg i *veranda*, yr hon a eilw efe yn *spectol*, nes gwneuthur ei olwg yn aruthrol iawn i ddyeithriaid. Mae rhywbeth yn angenfilaidd ac erchyll yn ei olwg; mae fel pe byddai yn fath o gymmysg-ryw o ddyn a chi. Mae yn cyfarth a chnoi yn barhäus—ddydd a nos, Sul, gwyl, a gwaith, gartref ac oddi cartref, mewn amser ac allan o amser, yng nghwsg ac yn effro; canys y mae yn breuddwydio llawer iawn, a phryd hyny y mae yn tori allan yn ei gwsg i gyfarth a chnoi yn erchyll. Am ei draed y mae dwy *glocsen* fawr yn debyg i fadau Caerlleon, a dwy socas wen am ei goesau; ac wrth ei gynffon y mae ci o'r enw 'Lion,' yr hwn sydd yn cynnorthwyo ei feistr i gyfarth a chnoi. Nid oes un math o waith

Cêr is gear furniture
ger is a cry



gan y ddau greadur hyn ond cyfarth a thrafiynou, ac y maent yn wasanaethgar iawn i'w anffaeledigrwydd o gapel Philippi. Fel y mae ambell i gorgi dwl ar gais plant direidus, pan fyddant yn taflu ceryg i'r dwfr neu rywle arall, yn rhedeg ar eu hol, heb un amcan yn y byd, gan gyfarth a chnoi yn gethin; felly mae y ci hwn, dim ond gwaeddi 'Ow, Ifan,' dyna fe ffwrdd yn y man, gan gyfarth a chnoi, nad ŵyr efe ddim yn y byd beth y mae yn ei wneyd. Y mae weithiau yn malu ewyn yn chwithig, nes peri i lawer gredu fod y gynddaredd arno." Felly, fechgyn, chwi welwch mai bodachod digrif ofnadwy sydd yn gwneyd i fyny y gwrthryfelwyr hyn.

*Ifor.* Yr oeddwn wedi sylwi er ys blynyddau fod ysbryd y Pabyddion wedi dyfod i angladdau yr Ymneillduwyr; o blegid canmolid y dynion mwyaf diegwyddor a drygionus, os byddent ar delerau da â'r pregethwyr. Gosodid y dynion gwaethaf braidd yn y nefoedd, nes peri i'w hangladdau ddrewi gan y fath ganmoliaeth ffiaidd; ond os dysgwyddai yr ymadawedig fod yn meddu digon o wroldeb moesol i draethu ei lên yn erbyn amcanion brwnt ac uchelgeisiol y *Vatican,* nid oedd son am un da ynddynt, ond yn hytrach yn dywyll ac anfoddhaol!

*Sierlyn.* Mae hen ddiareb yn dywedyd, "Rome was not built in one day;" felly nid ar unwaith yr aeth yr Ymneillduwyr mor agos i Rufain. Mae capel Philippi wedi dyfod yn hollol barod i fyned yno. Y mae rhai o bregethau *melltithiol* a geir o bulpud Philippi tu hwnt i ddim a gyhoeddwyd yn Rhufain erioed. Mae llythyr y *Nos* am Tachwedd 12fed ar farwolaeth y gwr gonest a phenderfynol a nodais, nid yn unig yn warth i'r oes a'r wlad hon, ond yn warth i Gristionogaeth o ddechreu y cyfnod hyd ddiwedd y byd. Gwelais syniadau Pio Nono am Dr. Dolinger a llywodraeth yr Almaen, a darllenais bregeth Cardinal Manning yn Aberystwyth, lle y crybwylla am Prwssia, &c.; ond y maent yn dangos yn efengyl bur mewn cymhariaeth i chwedlau drygionus Philippi a llythyr ufelaidd y *Nos.*

*Idwal.* Yn wir, yr wyf fi wedi amddiffyn llawer ar Ymneillduaeth trwy fy oes; ond y mae arnaf fi gywilydd clywed son am helynt y *policeman,* y melltithio pulpudaidd, a llythyr y *Nos.* Cwympo i gwmni drwg mae y gweinidog hwn wedi wneyd: y gêr ddrygionus hon sydd wedi ei felltithio. Pe buasai heb gwympo i'r gymdeithas ystrywgar hon, gallasai fod yn ddyn defnyddiol; gall bregethu o'r goreu. Gobeithio y gad efe y personau drygionus y mae wedi cyfeillachu â hwynt; nid oes modd iddo wella tra yn y gymdeithas anfad hon.

*Sierlyn.* Hai, fechgyn, wele lythyr newydd eto; dyma fe:—"Mae symmudiad ar droed i anrhegu Philip Dafydd â bathodyn arian anferthol yn debyg i gauad berwedydd, ac arno yn gerfiedig, 'Oddi wrth ei Anffaeledigrwydd Ioan XXII. a'r ffyddloniaid i Philip Dafydd, yr heddgeidwad, yn y gad ar faes yng nghapel Philippi, Medi ——, 1875;'" ac o'r tu arall fel hyn: "This medal is a small token of gratitude from his Infallibility John XXII. and the faithful to Phillip David, for the great fidelity and bravery which he displayed at the terrible battle of Capel Philippi, Sept. ——, 1875."

---

## Adolygiad y Wasg.

**MOSES: A BIBLICAL STUDY.** *By J. J. Oosterzee, D.D. Translated from the Dutch by James Kennedy, B.D. Edinburgh: T. & T. Clark.*

MAE cyhoeddwyr y llyfr uchod yn haeddu diolchgarwch crefyddwyr y wlad hon, ac yn enwedig diolchgarwch gweinidogion yr Efengyl, am eu llafur a'u hanturiaeth yn gosod mewn

cyrhaedd darllenwyr yr iaith Seisonig luaws o lyfrau tra gwerthfawr. Y maent wedi cyhoeddi amryw o weithiau yr hen ysgrifenwyr Seisonig ar delerau tra isel; ond eu gwaith mwyaf neillduol yw'r cyfieithadau o esboniadau a llyfrau pwysfawr ereill ysgrifenedig gan dduwinyddion y Cyfandir, yn enwedig Almaenwyr dysgedig. Tuedd eu cyhoeddiadau yw yn hytrach yn efengylaidd: nid ydynt yn ymddangos yn hoff o drafod pynciau ar y rhai y mae Cristionogion uniongred yn anghytuno; o herwydd hyny y mae cynnyrchion eu gwasg yn dderbyniol gan grefyddwyr yn gyffredinol a ddaliant bynciau anhebgorol y Ffydd Gristionogol.

Y maent yn y llyfr hwn, fel mewn un neu ddau sydd wedi ei ragflaenu, wedi bod yn lloffi neu yn hytrach yn medi mewn maes anarferedig gan dduwinyddion y ddinas hon. Cyfieithwyd ef o waith a ysgrifenwyd yn iaith trigolion Iseldiroedd yr Almaen, iaith dra anadnabyddus i drigolion yr ynys hon, ond eto yn iaith ag sydd yn dwyn perthynas agos â'r Seisoneg. Y mae yn achos llawenydd mawr i ni wybod bod gweithiau mor werthfawr yn cael eu cyhoeddi yn y chwaer iaith.

Mae'r gwaith yn ei natur yn ymdebygoli i lyfrau yr Almaenwr Krummacher, y rhai a gymmerasant afael ar feddyliau llawer o'n cydwladwyr ychydig flynyddau yn ol. Mae yn traethu ar hanes y deddfroddwr Iuddewig mewn ffordd dra denawl a medrus, mewn deuddeg o bennodau dan yr enwau—1. Babandod; 2. Yr Arweiniad i fyny; 3. Y Galwad; 4. Y Daith; 5. Y Cyfryngiad; 6. Amser Llawen; 7. Y Tramgwyddiad; 8. Adolwg ar Fywyd; 9. Y Prophwyd yn Melltithio; 10. Dysgwyliad am Iachawdwriaeth.

Nid oes gofod genym i sylwi ar gynnwysiad y pennodau hyn bob un ar ei ben ei hun, ac nid oes lle i ddewis un oddi wrth y lleill; ond gellir dyweyd fod pob un yn cynnwys defnyddiau dwy neu dair pregeth. Mae syniadau yr awdwr yn tueddu at argyhoeddi'r synwyr a chyffroi'r serch; ac y mae dullwedd y cyfieithydd yn rhwydd a naturiol; a'r llyfr yn un a ellir ei ddarllen gyda phleser a lles. Bydd yn werthfawr ar dywydd garw pan bo hen Gristion yn methu mwynhau'r fraint o gyrchu i dy yr Arglwydd o achos afiechyd neu wendid corfforol.

---

## Hanesion.

### PREGETHAU YR OES.

TRADDODODD y Parch. John Griffiths, periglor Merthyr Tydfil, un o'i bregethau cyffröus ar bregethau. Fe ddywedodd fod llawer yn prynu eu pregethau am hyn a hyn y dwsin, y rhai sydd yn cael eu hanfon gyda'r *post* erbyn boreu dydd Sadwrn. Mae un dosbarth yn pregethu yn undonol, diflas, a difywyd; a'r dosbarth arall yn rhochian yn eu gyddfau. Y mae y dull presennol o bregethu yn annaturiol. Gofyna pa ham na all dynion bregethu yn eu dull naturiol eu hunain, fel mae aelodau seneddol yn gwneyd, a chwnsleriaid hyd yn oed wrth amddiffyn lladron a chnafiaid. A ydyw hyawdledd i gael ei gyfyngu i amddiffyn lladron, cnafiaid, a drygweithredwyr?

Mae Mr. Griffiths am gael cyfnewidiad trwyadl yn y dull o bregethu, ac mae ef ei hun wedi cymmeryd cynllun newydd; nid oes dim ofn arno ddywedyd ei feddwl yn ei ddull plaen a di-dderbyn-wyneb, heb ofni digio boneddiges yr yswain na neb arall. Achwynodd hefyd fod pregethwyr yr oes hon yn hoffi hofran uwch ben eu gwrandawyr, ac yn defnyddio iaith annealladwy iddynt. Yr ŷm yn cydweled ag ef ar y pwnc hwn. Yr ydym wedi clywed lluoedd o bregethau yn cael eu traddodi yn hollol anaddas i ddynion annysgedig, yn defnyddio geiriau mawr heglog ac ansathredig. Pan mae gweinidog yn siarad wrth ei wrandawyr ar fater eu heneidiau, dylai siarad yn blaen a dirodres.

### DR. BASIL JONES, ESGOB TY DDEWI.

Pan ddeallodd plwyfolion Llangynfelyn, plwyf genedigol yr esgob, ei fod wedi cael ei ddyrchafu i fod yn esgob Ty Ddewi, penodwyd pwyllgor er codi tanysgrifiadau er ei anrhegu â thysteb. Cyfranodd y plwyfolion yn ewyllysgar, y tlawd a'r cyfoethog, Eglwyswyr ac Ymneillduwyr. Penderfynwyd anrhegu yr esgob â Beibl gwerth 20p.

Cymmerodd y cyflwyniad le yn yr ysgoldy, pan yr oedd Mr. H. C. Fryer yn y gadair. Siaradodd y cadeirydd yn uchel am addasrwydd Dr. Basil Jones i lanw y gadair esgobol ar ol yr enwog Dr. Thirwall. Dywedodd Mr. David Owen, Dolclettwr, fod ei ddymuniad wedi ei gyflawnu, sef dangos parch i'r esgob, yr hwn a fagwyd yn y plwyf. Siaradodd y warden Mr. Jones yn garedig am ei hen gyfaill hoff ac anwyl, a siaradodd amryw ereill yn y cyfarfod. Cyflwynodd y Parch. D. Lewis, ficer, y Gyfrol Sanctaidd i'r esgob. Ar glawr y gyfrol, y mae llafn aur wedi ei gerfio â chyflwyniad pwrpasol.

### DYRCHAFIADAU EGLWYSIG.

Mae y Parch. Gilbert C. F. Harries, ficer Gellir Gaer, sir Forganwg, wedi cael ei benodi i ficeriaeth Llangatwg, Castell Nedd.

Penododd Esgob Llandaf y Parch. John Griffiths, ficer Cwmafon, i reithoriaeth Sant Andreas, Dinas Powys, yr hwn a ddaeth yn wag trwy farwolaeth y Parch. John Morgan.

### YR AELOD SENEDDOL DROS FWRDEISDREFI CEREDIGION.

Talodd Mr. D. Davies, A.S., Llandinam, ymweliad yn ddiweddar ag Aberystwyth, y dref mwyaf Radicalaidd yn y sir, ac anerchodd ei bleidwyr. Nid oes dim dadl nad oedd y Radicaliaid yn meddwl y buasai i Mr. Davies felltithio y Toriaid, ond cawsant eu siomi: bendithiodd Mr. Davies hwy yn lle eu melltithio. Y mae Mr. Davies wedi newid ei farn am Geidwadaeth; yn ol tystiolaeth yr aelod anrhydeddus, nid yw'r Toriaid wedi'r cwbl mor garbwl ag y mae y Radicaliaid am i'r byd gredu. Addefodd Mr. Davies fod eu blaenor yn ddyn galluog, cyfrwys, ac yn ddyn a all roddi y Ty mewn tymmer dda mewn winciad llygad, hyd yn oed pan y mae ef ym mreichiau cwsg. Cymmeradwyodd y Weinyddiaeth yn fawr am brynu Camlas Suez.

Mae yn amlwg fod yr aelod anrhydeddus wedi newid ei farn ar bethau er pan aeth ef i'r Senedd; ac yr ydym yn dymuno llongyfarch y Ceidwadwyr ar dröedigaeth Mr. Davies.

## ESGORODD,

Lewis—Tach. 23, priod Mr. B. Lewis, Pen y Morfa, ar ferch.

White—Rhag. 11, priod Mr. G. H. White, cyfferiwr, Mountain Ash, ar ferch.

## PRIODWYD,

Thomas—Davies—Yn Llanhywel, gan y Parch. J. Davies, B.D., Mr. David Thomas, nai yr enwog Lefi Thomas, D.D., gweinidog y Bedyddwyr, â Miss Elizabeth Davies, Treglemais Fawr.

## BU FARW,

Abadam—Hyd. 27, yn Middleton Hall, Caerfyrddin, Edw. Abadam, Ysw., 66 oed.

Bird—Rhagfyr 9, yn Thistle Grove, Brompton, Llundain, Mr. Edward Francis Bird, ail fab y diweddar Mr. Edward Bird, Montpelier, Caerodor.

Brigstocke—Yn Mount Vernon, Hampstead Heath, Llundain, Margaretta, merch y diweddar Mr. John Brigstocke, Caerfyrddin, 37 oed.

Prytherch—Rhag. 14, yn Llanstephan, Caroline Georgina Catherine, gweddw y diweddar Daniel Prytherch, Ysw., ynad yr heddwch ac is-raglaw dros sir Gaerfyrddin, 70 oed.

Starke—Rhag. 8, James Ravenscroft Starke, Ysw., Castell Llacharn, 65 oed.

Vaughan—Medi 6, yn Port Louis, Mauritius, Eugene Edward, mab henaf y diweddar Is-filwriad E. J. Vaughan, Caerfyrddin.

### Y LLITHIAU PRIODOL, IONAWR, 1876.

| Ionawr. | Suliau a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 1 Sad. | Enwaediad ein Harglwydd * | Gen. xvii. 9<br>Rhuf. ii. 17 | Deut. x. 12<br>Col. ii. 8—18 |
| 2 Sul | 2 Sul gwedi'r Nad. | Esai xlii.<br>Mat. i. 18 | Esai xliii. neu xliv.<br>Actau i. |
| 6 Iau | Ystwyll ein Harglwydd † | Esai lx.<br>Luc iii. 15—23 | Esai xlix. 13—24<br>Ioan ii. hyd 12 |
| 9 Sul | 1 Sul gwedi'r Ystwyll | Esai li.<br>Mat. v. 33 | Esai lii. 13 a liii.; neu liv.<br>Actau v. 17 |
| 16 Sul | 2 Sul gwedi'r Ystwyll | Esai lv.<br>Mat. ix. 18 | Esai lvii. neu lxi.<br>Actau ix. 23 |
| 23 Sul | 3 Sul gwedi'r Ystwyll | Esai lxii.<br>Mat. xiii. 24—53 | Esai lxv. neu lxvi.<br>Actau xiv. |
| 25 Maw | Tröedigaeth S. Paul | Esai xlix. hyd 13<br>Gal. i. 11 | Ier. i. hyd 11<br>Actau xxvi. hyd 21 |
| 30 Sul | 4 Sul gwedi'r Ystwyll | Iob xxvii.<br>Mat. xvi. 24 hyd xvii. [14 | Iob xxviii. neu xxix.<br>Actau xviii. hyd 24 |

* Y Colect, Epistol, a'r Efengyl briodol i'w arfer hyd yr Ystwyll. Y Rhagymadrodd Priodol am Nadolig i'w arfer yng Ngwasanaeth y Cymmun.

† Credo Sant Athanasius i'w arfer.

CARMARTHEN:

Printed and Published by William Spurrell, at his Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Friday, the 31st December, 1875.

// YR HAUL.

Cyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIF. 230. CHWEFROR, 1876. CYF. 20.

## HANES YR EGLWYS YNG NGHYMRU O DEYRNASIAD ELISABETH HYD ORSEDDIAD VICTORIA.

(*Parhâd o dudalen* 24.)

### PENNOD XVII.

*Adolygiad ar Effeithiau y Gwrthryfel Mawr ar Foesoldeb, Crefydd, a Rhyddid.*

CYFLAWNWYD gweithred o ragrith digyffelyb ar ddydd merthyrdod Siarls. Ymdrechodd y Cadfridog Fairfax, modd bynag, i achub y brenin o ddwylaw ei lofruddion, ac yr oedd yn bwriadu i'w gatrod ei gipio oddi arnynt trwy orthrech. Ond daeth hyn i glustiau Cromwel, Ireton, a'r Mil. Harrison, a chynghorasant Fairfax fod yr Arglwydd wedi gwrthod y brenin, ac annogasant i ymofyn mewn gweddi am gyfarwyddyd y Nef mewn achos mor ddifrifol. Ond celasant oddi wrtho eu bod wedi llawnodi gwarant marwolaeth eu penadur. Ac i weddi fawr ragrithiol, fel ag yr oeddynt wedi cytuno ym mlaenllaw, yr aethant, a pharasant ynddi gyda'r taerineb a'r meithder, hyd oni ddaeth y gair fod diwrnod y fwyell angeuol wedi ei daro. Yna mynai Cromwel yn ddifrifol iawn i Fairfax ymostwng a boddloni i ewyllys yr Arglwydd.

Fel y bydd cigfrain ac eryrod yn pesgu ar gelanedd rhyfel, y mawr ymgyfoethogodd milwriaid, a chyfreithwyr, a gweinidogion ar ddadgyssylltiad a dadwaddoliad yr Eglwys a'r Wladwriaeth. Dywedir nad oedd y Milwriad Phylip Jones o Langyfelach, Morganwg, yn werth dim rhagor nag ugain punt yn y flwyddyn cyn y Gwrthryfel; ond trwy yr ymrysonfa wladol hòno, daeth i feddu *pedair mil o bunnau* yn flynyddol! Gwnaeth Cromwel ef yn arglwydd ar ei dy, yn gyfringynghorwr, ac yn llywydd ar ei gyfoeth tirol yng Nghymru—ysbail oddi ar y Goron a'r Eglwys a'u pleidwyr gorchfygedig. Yn wir, yr oedd y Senedd Buritanaidd yn dwyn ym mlaen y fasnach fwyaf annuwiol gyda golwg ar fywoliaethau a meddiannau eglwysig. I'r perwyl hwn, penodasant un John White, o sir Benfro, cyfreithiwr a phenmeinciwr o'r Deml Ganol, yn un o'r *feoffees* i brynu i fyny fywoliaethau a thiroedd eglwysig ar draul y wlad i'w rhoddi i Anghydffurfwyr a gelynion y brenin a'r esgobion. Yr oedd White yn un o brif ffaglyddion (*fire-brands*) y

to be dealt in the seat of the county



Senedd Hir, ac yn aelod a chadeirydd o'r gyfrinach fradwrus a gamenwid yn *Bwyllgor Crefydd.* Cyhoeddwyd rhai o areithiau y Cromwelyn penboeth hwn yn 1641, dan yr enw, *First Century of Scandalous and Malignant Priests;* a llyfryn arall—*The Looking-glass*—yn 1644. Amcan rhy lwyddiannus y pentewynion llenyddol hyn oedd gosod y wlad ar dân o gynddaredd yn erbyn yr Eglwys a'i holl weinidogion rheolaidd a breningar.

Ond wedi dienyddio'r brenin y cafodd creaduriaid Cromwel y rhan frasaf o'r ysbail—tiroedd a meddiannau am ddim ond enw o bris, i fod yn llwch yn llygaid y wlad; er enghraifft, "Mawrth 25med, 1650, gwerthwyd maenorau Llandegla, Gwytherin, ac arglwyddiaethau, maenorau, a thiroedd ereill, i John Jones a George Twistleton, Ysweiniaid, am 3,797p." Ac o ba le y daeth yr arian pridwerth? onid o elw eu cleddyf?

Y John Jones hwn oedd y Milwriad Jones, trysorwr y Senedd, yr hwn a gyhuddai y milwyr o'u twyllo o'u cyflogau; o herwydd yr hyn, ar eu dadfyddiniad, y codasant terfysg arfog, ym Mawrth, 1647, ac yr ymdeithiasant i Wrecsam, y daliasant y Mil. Jones ac ereill yn garcharorion, gan eu bygythio y mynent eu tâl—y dreth a godasent oddi ar y wlad. Ac yn y cyfamser, yr oedd sir Ddinbych ei hun yn unig yn talu 260p. pob mis i gynnal y fyddin seneddol, gyda bwyd a lletty am ddim i'r gwŷr meirch. Ffoes y Cadfridog Mytton i Gastell Holt, a'r milwyr yn ei ymlid ac yn saethu ar ei ol. Y mae hanes y Mil. Jones yn un dygwyddfawr a hynod. Ganed ef ym Maescarnedd, Drws Ardudwy, Meirion. Er ei fod o deulu tiriog, anfonwyd ef yn ieuanc i Lundain i ddysgu crefft; ond aeth yn was wr boneddig, ac oddi wrth hwnw at Syr Thomas Myddelton o Ddinbych, Arglwydd Faer Llundain; a bu yn ei wasanaeth lawer o flynyddau hyd nes torodd y Gwrthryfel Mawr allan, pryd yr ymrestrodd dan faner y Senedd, yr hynododd ei hun yn y fyddin, ac y gwnaed ef yn filwriad gan Cromwel, ac wedi hyny yn un o'r *Dirprwywyr Gwyddelig* yn llywyddiaeth yr Iwerddon, swydd y cyhuddir ef o'i gweinyddu gyda thrais a gormes. Ymddengys ei fod yn ddirwestwr brwd; o leiaf, yr oedd yn trin darllawyr a thafarnwyr yn dost, ac yn erlid pawb o farn wahanol. Daliai fod myned i mewn i dafarn, yr un ffunud a myned i'r Eglwys Esgobyddol, yn bechod peryglus a chospadwy. Priododd Mrs. Jane Whitestone, chwaer Olifer Cromwel. Ond wedi adferiad Siarls II., cymmerwyd ef i fyny; cafwyd ef yn euog o gymmeryd rhan yn nienyddiad ei frenin, a chrogwyd ef fel teyrnfradwr a theyrnleiddiad yn Hydref, 1660.

Yr oedd y Milwriad George Twistleton yn fab i John Twistleton, Ysw., Barrow Hall, sir Gaerefrog. Priododd Gymräes, sef Mary, merch ac etifeddes William Glyn, o Leiar, Clynog Fawr, yn Arfon, lle y claddwyd ef yn 1667, yn naw a deugain oed. Efe a wnaed yn llywydd Castell Dinbych, fel olynwr Syr Wm. Myddelton, yn aelod o'r gorfforiaeth yng Ngwyl Mihangel, 1648, ac yn henadur (*alderman*) yn 1650. Yr oedd yn arglwyddiaethu ar bob peth perthynol i'r fwrdeisdref hynafol hôno dros ddeuddeng mlynedd, ac yn un o farnwyr Uchel Lys Cyfiawnder (*The High Court of Justice*); a dywedir ei fod yn cydsynio i roddi llawer i farwolaeth, yn unig o blegid eu hymlyniad wrth achos y brenin, am ba drais ac anghyfiawnder y difreiniwyd ef gan y Cynghor Trefol yn 1660. Trinid carcharorion hefyd yn greulawn iawn, fel yr adrodda yr hanesydd Pennant enghraifft am un o'r hynafiaid, Dafydd Pennant, Ysw., o Fychtyn, uchel-sirydd swydd Fflint yn 1640, yr hwn a gymmerth arfau o blaid y brenin. Wedi ysbeilio ac

fire brands

price

lot

brewers

bag-fu...



anrheithio Bychtyn, yr oedd tlodi y teulu mor ddwfn, fel y buasai y boneddwr gwladgarol hwn wedi marw o newyn, tra yn garcharor yng Nghastell Dinbych, oni bai serch a ffyddlondeb ei wraig, yr hon a fyddai yn cerdded yn fynych o gymmydogaeth Treffynnon i Ddinbych gyda chydaid o flawd ceirch iddo. Gwel *Enwogion Cymru*, *A. & M. Denbigh*, *Records of Denbigh*, Pennant's *Tour*, Hume's *Hist. of England*, &c.

D.S.—Bydd i'r pennodau dilynol a gorphenol gynnwys hanes Eglwyswyr enwocaf y ddeunawfed ganmlwydd, y Diwygiad Methodistaidd a'i ganlyniadau, yr Adfywiad mawr yn yr Eglwys er dechreu y ganmlwydd bresennol.

K—p 108

## CELFYDDYD A'R YSGRYTHYRAU, GAN ARCHESGOB WHATELY.

Y MAE rhai pobl wedi meddwl fod yn rhaid i ni gymmeryd ein gwybodaeth am seryddiaeth, a'r holl gelfyddydau ereill, oddi wrth y Beibl. Ac felly, pan ddeallodd a phrofodd seryddion fod y ddaiar yn troi ar ei hechel, ac nad ydyw yr haul yn myned o amgylch y ddaiar, dywedodd rhai yn erbyn hyn, ei fod yn afresymol, o herwydd bod yr Ysgrythyrau yn son am godiad a machludiad yr haul. A darfu hyn yn bur debyg achosi i rai seryddion wrthod y Beibl; o herwydd dysgwyd, os derbynient hyny megys dadguddiad o Dduw, y rhaid iddynt anghredu gwireddau a ddangosasant eu hunain. Felly hefyd, meddyliodd rhai fod yn rhaid iddynt gredu, os derbyniant yr Ysgrythyrau, fod y ddaiar, a'r holl lysiau ac anifeiliaid a fu erioed ynddi, wedi eu gwneyd mewn chwech diwrnod o gyffelyb hyd a'r dyddiau presennol; a hyny cyn crewyd yr haul, wrth yr hwn yr ydym yn mesur ein dyddiau. Am hyny, y maent yn dyweyd nad ydyw dadguddiadau daiaregwyr, y rhai sydd yn profi fod y ddaiar a llawer o anifeiliaid yn bodoli am gyfnodau meithion cyn y crewyd dyn, yn cytuno â chred yn yr Ysgrythyrau.

Nid oes amser yn awr i fyned trwy yr holl wrthwynebiadau, y rhai sydd o bwys a'r lleill ef allai yn weiniaid, a wnaethpwyd ar ochr celfyddyd, neu hyny a feddyliwyd yn gelfyddyd, yn erbyn hanes Moses am y greadigaeth, sefyllfa y byd cynnar, a'r diluw, ac i ddyfod ym mlaen â'r atebion a roddwyd i'r gwrthwynebiadau yna; eithr y mae o bwys i roddi yr egwyddor ar yr hon y dylai y Beibl, neu ryw ymadrodd neu ysgrifen arall, gael ei ddarllen a'i ddeall, sef sylwi ar y peth yr oedd gan yr ysgrifenwr a'r llefarwr yn ei feddwl. I gymmeryd esampl, os dywedwn i neb fyned mewn llinell syth o un man i fan arall, ac i fod yn sicr o gyrhaedd y fan cyn myned o'r haul i lawr, dealla efe hyn yn dda, gan sylwi ar y peth yr oedd genym yn ein meddwl. Gwyddwn na all fod llinell syth ar wyneb y ddaiar, ac nad ydyw yr haul yn wir yn myned i lawr, ond bod y ddaiar yn troi oddi wrtho. Ond ni waeth i'r peth dan sylw a ydyw efe yn gwybod hyny ai peidio; nid oes arnom yn awr eisieu dysgu mesuriaeth a seryddiaeth, ond gwneyd yn ol ein geiriau, y rhai a all y dysgedig gan gystal a'r annysgedig eu deall. Eto gwaith yr Ysgrythyrau yw dysgu dynion, nid seryddiaeth a daiarddysg, neu un gelfyddyd arall, ond crefydd. Rhoddwyd hwy i ddangos i ddynion, nid y modd y gwnaethpwyd y byd, ond pwy a'i gwnaeth, gan eu harwain i'w addoli Ef, sef Creawdwr nef a daiar, yn lle addoli ei greaduriaid, y nefoedd a'r ddaiar eu hunain, fel duwiau, yr hyn a wnaeth y paganiaid. Ac er bod yr Ysgrythyrau yn rhoddi hanes ammherffaith a byr am y ddaiar a'r pethau nefol, ac yn llefaru am danynt yn iaith ac yn ol meddyliau pobl anwybodus, eto y maent yn cyflawnu y dyben y gwnaethpwyd hwynt, pan y maent yn dysgu nad ydyw y nef a'r ddaiar yn dduwiau i gael eu

haddoli; ond darfod i Dduw greu y nef a'r ddaiar, ac Efe a wnaeth yr holl anifeiliaid a dyn hefyd. Ond am seryddiaeth a daiarddysg, a chelfyddydau ereill, gadawyd i ddynion, pan oeddynt yn ddigon gwybodus i'w gwelläu eu hunain, i wneyd dadguddiadau o honynt trwy eu nerth eu hunain.

THOMAS HUGHES.

---

## EMYN.

Y Duw a rodd fodoliaeth
  I'r holl fydyssawd maith,
Brydferthodd yr eangder
  O'r bron â'i ddwyfol waith,
Wrandawo fy ochenaid
  O bydew'm llygredd cas,
Ac a orchuddio'm noethni
  A harddwch nefol ras.

Y Duw sydd â theyrnwialen
  Y cread yn ei law,
A'i fawredd pur, diderfyn
  Yn llanw'r "byd a ddaw,"—
At Hwn 'rwyf fi, bechadur
  Tylawd, yn dyrchu'm llef,
O eigion fy nhrueni
  At eurog borth y nef.

Fy Nuw, er maint dy fawredd,
  Fe'th alwaf mwy yn Dad,
Can's unig Fab dy fynwes
  Sy'n frawd a chyfaill mad
I golledigion Eden,
  A wnaed yn ddeiliaid ffydd;
Fe'u dwg hwy o'u trueni
  I'w dawel nef ryw ddydd.

MYFENYDD.

---

## ATHRONIAETH ANIANYDDOL.

### PEIRIANWAITH A'R GALLUOEDD LLAFURIOL.

Y MAE amryw ystyriaethau i'r geiriau gwaith a llafur. Mae dyn yn gweithio pan fyddo yn planu ac yn adeiladu, yn dwyn beichiau, &c. Y fath yma o waith yw llafur corfforol neu gelfyddydol, i'w wahaniaethu oddi wrth waith y meddwl mewn myfyrdodau, astudiaethau, a chynlluniadau. Y mae march, ych, neu asyn yn gweithio pan yn llusgo men neu aradr, yn cludo beichiau, neu yn troi peiriant, &c. Mae peiriant hefyd yn gweithio pan fyddo yn codi dwfr, malu, llifio, dyrnu, &c. Felly gwynt, dwfr, ac agerdd a wnânt waith o ddau fath—anianyddol a pheiriannol neu gelfyddydol. Yn eu cyflwr naturiol, y mae yr elfenau hyn yn cyflawnu gwaith gwastadol, mawr, a phwysig iawn o dan lywodraeth dwyfol ddoethineb a daioni. Dyma eu gwaith anianyddol; ond y maent yn gwneyd gwaith peiriannol neu gelfyddydol pan fyddont yn troi melinau a pheiriannau, yn gyru llongau dros wyneb y dyfnder, neu yn llusgo cerbydau ar ffordd haiarn, &c.; a pha beth bynag fyddo yn achosi cyflawniad gwaith a elwir yn *allu* llafuriol. Dywedir yn gyffredin bod tri math o alluoedd llafuriol—galluoedd anifeilaidd, elfenol, a pheiriannol. Gallu anifeilaidd yw nerth creaduriaid byw, megys dynion, ysgrubliaid, &c.; gallu elfenol yw grym gwynt, dwfr, agerdd, &c.; ond am beiriannau, nid ydynt ond arfau ac offerynau trwy y rhai y mae gallu yn gweithredu. Y maent yn trosglwyddo, yn cyfranu, ac yn rheoleiddio y nerth a dderbyniwyd ganddynt oddi wrth ryw allu a effeithiodd arnynt. Nid ydynt yn meddu, yn creu, nac mewn gwirionedd yn ychwanegu gallu na nerth; ond y maent yn ei ddefnyddio, neu yn ei droi i gymmaint o fantais—mor hylaw, hawdd, ac effeithiol—fel pe na wyddem amgen y gallem gredu eu bod yn meddu gallu hanfodol ynddynt eu hunain.

Ond pa fodd y mae gallu anifeilaidd ac elfenol yn gweithredu ar arfau a pheiriannau? Trwy ymbwyso ac ymwasgu arnynt. Pan y byddo saer yn tori pren ar drws, er esampl, ni wneir dim gwaith heb bwyso ar y llif; ac nis gall march symmud cerbyd neu fen heb ymegnïo i bwyso ar y tresi, a gwthio ei draed yn erbyn y ddaiar. Gŵyr pawb hefyd mai pwys y gwynt neu bwys y dwfr sydd yn troi y felin, yr un ffunud ag y try y pwysau yr awrlais neu y *cloc*. Yma y mae yn angenrheidiol

i ni ystyried bod ymbwysiad yn cael ei effeithio ym mhob cyfeiriad neu ffordd, y gellir pwyso i fyny yn gystal ag i lawr, ym mlaen neu yn ol. Mewn agerdd-beiriant o weithrediad dwbl (*double-acting steam engine*) y mae yr agerdd yn ymbwyso i fyny ac i lawr bob yn ail. Nerth, gan hyny, nid yw yn ddim amgen na phwys y corff gweithredol; gall felly gael ei fynegu mewn nifer penodol o bwysi, megys 2 bwys, 10 pwys, 112 pwys, tynell, &c.

Y peth nesaf i'w ystyried yw symmudiad y corff yr ymbwysir arno yn effeithiol i'w ysgogi. Rhaid i hyny hefyd gymmeryd lle o fewn rhyw derfyn mesuredig neu amgyffredadwy; gall na symmudodd ond ychydig, rhyw led blewyn, neu fodfedd, llathen, gwrhyd, neu filltir. Neu, gall fod wedi symmud fyrddiynau o filltiroedd fel y cyrff nefol; eto, gallwn bob amser gyfrif neu dyfalu pa faint a symmudodd mewn rhyw ffugyrau mynegol. Drachefn, y mae pob corff yr ymbwysir arno yn sicr o wrthsefyll a gwrthweithredu mwy neu lai, yn ol ei dewychder, ei gydlyniad, a'i ystwythder, a'i anymmodolrwydd neu anyni (*inertia*) naturiol. Dichon hefyd fod llawer o wahanol gyrff yn gwrthsefyll a gweithredu yn erbyn y gallu llafuriol. Ond gan ein bod yn medru mynegu nerth y gallu wrth bwys, rhaid mai rhyw faint neu nifer o bwysau yw y grym gwrthsafol, a'i fod bob amser yn rhywfaint llai na'r pwysiad sydd yn ei symmud, nid hwyrach mai gronyn, wns, neu dynell yw, fel y gellir bob amser ei gyfrif neu ei ddyfalu mewn ffugyrau penodol a mynegol. Yn y lle nesaf, rhaid ystyried bod rhywfaint o amser yn cael ei dreulio ym mhob gweithred. Os symmudodd unrhyw gorff, rhaid ei fod wedi cymmeryd rhywfaint o amser i symmud. Gall ei fod wedi cael ei symmud mewn moment, mewn mynyd, awr, wythnos, mis, blwyddyn, neu oes; er hyny, gellir yn wastad cyfrif neu ddyfalu yr amser a'i fynegu mewn ffugyrau rhifedig.

Ar y seiliau amlwg hyn y cyfrifir gallu, cyflymder, symmudiad, a gwaith effeithiol pob gweithredydd llafuriol—dyn, anifail, neu beiriant. Dylem hefyd ystyried y dull y gweithreda y gwahanol alluoedd llafuriol. Dyn ac anifail sydd yn gweithredu trwy nerth ac egni gewynol, gwynt trwy ei ymwthiad neu ymwasgiad, dwfr trwy ei bwysigrwydd a'r nerth ysgogol a ennill yn ei rediad, agerdd trwy rymusder ymchwyddol gwres. Y mae natur yn meddu llawer o weithredyddion galluog ereill, megys ehedfaenyddiaeth, trydanyddiaeth, galfanyddiaeth, &c.; ond nid yw dyn hyd yn hyn wedi gallu eu troi ond i ychydig o wasanaeth. Nid annhebyg yw y dichon gwybodaeth eangach, oesoedd sydd i ddyfod, gyfaddasu y galluoedd hyn i gyflawnu dybenion a gwaith anhygoel ei gynnyrchiad i ni. Prin y coeliasai ein cyndeidiau y buasem ni yn y dyddiau hyn yn gallu gyru cerbydau, melinau, a llongau trwy ferwi dwfr.

### LLAFUR DYNOL.

Nerth dynol yw y gweithredydd mwyaf egwan ac annigol o'r holl alluoedd llafuriol. Nid yw ei rym ond bychan a dieffaith mewn cymhariaeth, heb law ei fod yn anhwylus a chostus iawn i osod ar waith gynnifer o ddynion ag a gynnyrchent gymmaint o waith effeithiol ag a ddichon ychydig feirch, ffrwd o ddwfr, awel o wynt, neu agerdd ychydig alwyni o ddwfr ei wneuthur yn llawn cystal. Y mae yn amlwg fod grym dyn i droi peiriant neu i symmud corff pwysfawr neu drwm, mewn cymhariaeth i'w gorff ei hun, yn ymddibynu llawer ar nifer y gewynau a elwir i weithrediad a'r ystum corfforol y bydd ynddo. Un o'r dulliau mwyaf effeithiol o ddefnyddio nerth dynol yw rhwyfo cwch,

o blegid bod y gewynau cryfaf mewn gweithrediad, a'r esgyrn yn cyfateb i wifion neu drosolion a'u hattegion yn ymyl y pwysau a symmudir. Y nesaf yw codi beichiau, neu dynu rhywbeth i fyny oddi ar lawr. Ychydig a all ei wneyd wrth gerdded, a llai pan fyddo yn rhedeg; o blegid bod y rhan fwyaf o'i rym yn cael ei dreulio i symmud ei gorff ei hun trwy yr awyr wrthsafol, ac i orchfygu attyniad y ddaiar. Pan fyddom yn cerdded tir gwastad, prin y teimlir grym attynedigaeth ddaiarol; ond pan y dringir gallt serth, y mae pwysigrwydd ein cyrff yn ein blino yn fuan. Ar y llaw arall, pan elom i lawr i oriwaered y mae pwys ein corff yn cynnorthwyo ein disgyniad, a phrin y gallwn attal ein rhediad wedi unwaith gychwyn, os bydd y llechwedd yn serth, cymmaint yw effaith attynedigaeth a grym ysgogiad ein sylwedd diyni.

Cyfrifir bod dyn o gryfder cyffredin yn alluog i godi deg pwys i'r uchder o ddeg troedfedd mewn eiliad. Y peiriannydd Ffrengig, Morin, yn *Mechanique Mechanique*, a rydd y cyfrifiadau canlynol o lafur dynol dan yr amrywiol foddau o osod ei nerth gewynol ar waith:—

GWAITH DYN MEWN UN FYNYD.

*Parhâd i lafur*, 8 *awr yn y dydd.*

| | Unydau. |
|---|---|
| Codi ei gorff ei hun ... | 4250 |
| Gweithio ar y droed-felin... | 3900 |
| Tynu a gwthio ar wastad... | 3120 |
| Gwthio a thynu i fyny ac i lawr ... ... | 2380 |
| Troi rhodl ... ... | 2600 |
| Rhwyfo ... ... | 4000 |

*Am* 6 *awr yn y dydd.*

| | |
|---|---|
| Codi pwysau â chwerfan ... | 1560 |
| „ „ â'i ddwylaw ... | 1470 |
| Cario ar ei gefn a dychwelyd yn wag ... ... | 1126 |

*Am* 10 *awr yn y dydd.*

| | |
|---|---|
| Gyru berfäu llwythog i fyny ar hyd astyllod ... | 720 |
| Lluchio pridd â rhaw i 5 troedfedd o uchder ... | 470 |

GWAITH DYN YN CODI DWFR GYDA GWAHANOL OFFERYNAU A PHEIRIANNAU.

*Am* 8 *awr yn y dydd.*

| | |
|---|---|
| Gyda dirwynell o ffynnonau dyfnion ... ... | 2560 |
| Gyda sugnedydd (*pump*) cadwynog unionsyth ... | 1730 |
| Gyda melin droed ... | 3176 |
| „ olwyn Chineaidd ... | 2167 |
| „ ysgrwy Archimedaidd | 1505 |
| „ rhaff a chelwrn (*bwced*) | 1054 |

Ond ym mhob llafur y mae lludded. Y ffordd fwyaf diflin yw gadael i bwysigrwydd naturiol y corff weithredu heb nemawr egni gewynol. Er hyny, ni ddyfeisiwyd hyd yn hyn ond ychydig iawn o foddion i wneyd gwaith effeithiol yn y dull esmwyth hwn. Y mae carcharorion yn aml yn gwneyd y fath yma o waith anewyllysgar ar y felin-droed, pan fyddont yn "dringo grisiau diddiwedd heb fyned yn ddim uwch."

Ond, fel y dywedwyd eisoes, y mae defnyddio nerth dynol yn beth mor ddifantais fel na ddewisir ef oddi gerth lle na byddo ond ychydig rym yn angenrheidiol, neu pan fyddo medrusrwydd yn ofynol yn gystal a nerth.

LLAFUR ANIFEILAIDD.

Y mae ceffylau, ychain, asynod, camelod, ac elephantiaid yn cael eu defnyddio fel gweithredyddion llafuriol mewn amrywiol wledydd. Yn ein gwlad ni, y march sydd yn gweithio fwyaf o'r hoil anifeiliaid. Mae gwaith ychain bron ar ddarfod. Y mae yr asyn eto yn gwneyd peth gwasanaeth. Mae y march yn anifail mor gyflym, cryf, a llafurus, fel yr ydym yn ei ddewis i bob gwaith cyfatebol i'w nerth; ac ar yr un pryd yn greadur mor hardd, deallus, a hoff, fel yr ydym yn prisio ei wasanaeth yn fawr lle na byddo ond rhwysg neu ddifyrwch yn galw am dano.

Wrth dynu y mae y march yn defnyddio nerth ei ewynau a phwys ei gorff. Y mae ei rym yn ymddibynu, gan hyny, ar ei gyfansoddiad

gewynol, cryfder ei aelodau, uchder ei ysgwyddau, a phwysau ei gorff; gwyddom fod ei allu *tynol* yn lleihau yn ol cynnyddiad ei gyflymder. Os bydd yn gorfod teithio mwy na thua phedair milltir yn yr awr, y mae ei rym yn lleihau yn bur amlwg. Yn ol amcan-gyfrif y Proffeswr Leslie ac ereill, os tybir bod y llwyth a all ei lusgo, pan yn teithio 2 filltir yn yr awr, yn 100 o rywbeth, yn ol 3 milltir, 81 a all ei dynu; yn ol 4 milltir yn yr awr, 64; yn ol 5 milltir, 49; yn ol 6 milltir, 36. Pan gyrhaeddo ei gyflymder eithaf, nis gall gludo dim ond ei gorff ei hun; felly, ni farchogwyd ef erioed yn ei gyflawn gyflymder.

Ond er mai pan yn teithio yn araf mewn cymhariaeth y gall ceffyl lusgo y llwyth trymaf i bellder, ymsymmudiad chwyrn i fyned dros y rhwystr ar unwaith yw y mwyaf manteisiol pan na bo ond egnïad byr yn ofynol.

Ystyrir bod march cyffredin cyn gryfed â phump o ddynion. Y peiriannydd enwog James Watt a osododd nerth ceffyl yn 33,000 o unydau o waith; ac er fod hyn yn llawer mwy nag y dichon nemawr farch ei wneyd, dyma y mesur sefydledig wrth yr hwn y cyfrifir nerth melinau, agerbeiriannau, &c.

Y mae gallu effeithiol ceffylau gwedd a cherbyd-feirch yn ymddibynu yn fawr ar faintioli, lled, a ffurf yr olwynion; ar wastadrwydd, llyfnder, a chaledrwydd y ffordd,* a'r modd y byddont wedi eu bachu wrth y glud a symmudir; a pha un a yw y llwyth yn wastad ac yn mantoli ar ystwythynau (*springs*), neu yn gorwedd fel "pwys marw" ar yr echel, ac yn blino yr anifail wrth *ysgegio* dros bob careg neu lanerchyn anwastad.

Y mae olwynion mawr yn haws i'w llusgo na'r rhai bychain, o blegid bod rhai mawrion yn gallu myned dros anhawsderau yn rhwyddach. Felly, pe byddai olwynion blaen cerbydau gymmaint a'r rhai ol, byddai yn haws eu llusgo; ond gwneir hwynt yn llai er mwyn troi y cerbyd yn hwylus. Olwynion culion yw y rhai hawddaf eu llusgo, o herwydd bod y rhygniad yn llai, os bydd y ffordd yn galed; ond os bydd yn drom (hyny yw, yn feddal ac ymollyngol), olwynion llydain yw y goreu am nad ydynt yn suddo cymmaint i'r dom. Y mae olwynion â chantiau culion yn llawer gwaeth am ddryllio ffyrdd a'u tori yn *rhawtiau* ar hin wlyb.

Os bydd yr olwynion hefyd yn berffaith sythion, gellir eu symmud gyda llai o nerth na phan fo gwâl noeog ynddynt, trwy fod yr edyn yn gwyro allan o'r both at gemyg y cant; ond y mae olwynion sythion yn fwy chwannog i ddymchwelyd ar ffyrdd ochrog. I'r gwrthwyneb, os bydd "*gwâl*" da yn yr olwynion,

* Wrth olrhain dechreuad ein prif-ffyrdd, yr ydym weithiau yn rhyfeddu wrth ba reol y byddai ein hynafiaid yn gosod i lawr linellau o ffyrdd, gan nad oeddynt yn astudio sythni na gwastadrwydd; ond "yn cyrchu troféydd" er mwyn disgyn y glynoedd a'r nentydd dyfnaf, a dringo y carneddau a'r clogwyni uchaf a serthaf. Os gadäwn yr hen ffyrdd Rhufeinig o'r neilldu, y gwirionedd yw, na chynlluniwyd erioed mo'r rhan fwyaf o hen ffyrdd ein gwlad; ac i ddeall eu dechreuad, rhaid i ni adgoffäu bod amser wedi bod pan oedd yr holl wlad yn un anial ammhreswyliedig a didriniad, digauad, ac nad oedd llawer o'r ffyrdd mawr presennol ddim lletach na llwybr troed o le i le. Wedi hyny daethant yn rhodféydd meirch pynioreg; a phan ddaeth cludeiriau olwynog i arferiad, teimlwyd yr angenrheidrwydd am eu cyweirio, eu lledu, a'u gwastatäu mor bell ag yr oedd yn ddichonadwy. Ond dros oesoedd arosodd ein prif-ffyrdd mewn cyflwr truenus. Y pryd hwnw yr oedd hen ffyrdd bryniog a geirwon Cymru yn rhagori ar brif-ffyrdd trymion, lleidiog, ac ymollyngol Lloegr, lle y byddai cynnorthwy gwedd gref yn aml yn ofynol i dynu cerbydau breninoedd Lloegr o'r dom, pan fyddent yn cael eu dymchwelyd yn ddigon "ammharchus" i ganol y pwll yma a'r ffos acw.

y mae pwysau y llwyth gogwyddedig yn disgyn ar yr edyn fel ar gynnifer o gynnalbyst unionsyth, heb nemawr o berygl i'w ofni oddi wrth ddymchweliad; ac ar yr un pryd, y mae y rhygniad yn erbyn y ffordd yn llai na phe bai y cantiau yn llydain. Bydd y saer-troliau yn wastad yn gwneyd ei olwynion i "siglo yn rhwydd" ar eu hecheli. Dywed wrthym eu bod yn ysgafnach i'r ceffylau na phe tröent yn ddiwyrni fel rhod melin. I'r gwrthwyneb, bydd adeiladwr cerbydau yn gofalu rhag gwneyd olwynion "rhoclyd a rhinclyd." Y mae y "*wâl*" yn bur gyfaddas i ffyrdd llechweddog Cymru; ond pe gwneid prawf o gryfder yr olwynion dysglog a rhai sythion o'r un defnyddiau a mesuriadau, y mae yn amlwg mai y rhai sythion a garient fwyaf o lwyth ar ffordd berffaith wastad, yn ol y ddeddf sylfaenol—pa beth bynag a ennillir mewn un ffordd, rhaid ei golli ffordd arall. Os gofynwn i'r gof pa ham y mae yn curo y cylch yn grwm, dywed wrthym mai i osgoi rhygniad yn well trwy fod llai o arwynebiad yn y cant i gyfarfod ag anllyfnder y ffordd, i rwystro i faw a thom globynu mor hawdd ar yr olwynion, ac i'r ymylau miniog ddryllio cymmaint ar y ffordd.*

**Y mae mwy hefyd yn ymddibynu ar y dull o fachu anifeiliaid wrth beiriant neu gludair olwynog nag a feddyliodd llawer. Y mae yr anifail yn gallu rhoddi ei nerth mewn gweithrediad yn fwy manteisiol pan fo "llinell y tyniad" yn rhedeg ar i fyny yn syth, oddi wrth ganolbwynt pwysigrwydd y corff sydd i'w symmud, at ei fron. Pan fachir dau geffyl y naill o flaen y llall, nis gallant *dynu* cymmaint o lwyth a phan fyddont yn ystlysau eu gilydd, am fod y blaenaf yn gorfod llusgo peth ar yr olaf, yn gwyro o linell union y tyniad, yn methu cadw amser gydag egnïadau yr olaf, neu o wir gyfrwysdra yn gwneyd llai na'i ran o'r gwaith. Gyda'r tipyn gwybodaeth yma yr ydym yn gallu aru cymmaint â deuben yn nwbl ag y gwnai ein tadau â gwedd dri cheffyl, heb law arbed gwasanaeth "hogyn gyru."** Yn yr Alban, troliau un ceffyl sydd yn cario y cwbl o'r bron, ac *un dyn* yn gyru dwy o honynt, rhag colli gwaith ennilledig y meirch trwy draul gorchwyliad certwynwr ychwanegol.

Defnyddir anifeiliaid hefyd i droi peiriannau i ddyrnu, corddi, malu

* Odid na sylwodd pob craff fod edyn olwynion cerbydau a meni yn llawer lluosocach na'r rhai a geir mewn melinau a pheiriannau cyffelyb; ac fe ofynir, pa ham y mae pedair ar ddeg o edyn yn olwyn y cerbyd hwn, a dim ond pedair aden yn olwyn sidyll y fuddai-droi yma er enghraifft? Y mae'r rheswm yn amlwg; y mae y blaenaf wedi ei fwriadu i ymgynnal o dan pwys llwyth y cerbyd, a gofalwyd fod i un neu ddwy o'r edyn ddisgyn o dan y pwysau oddi arnodd i'w gynnal i fyny ym mhob sefyllfa y try yr olwyn; ond nid oes dim pwysau ar y sidell (a pheidio son am bwysiad yr awyr), a'i gwasanaeth yn unig yw gwneyd i'r fuddai droi yn wastad trwy grynoi y nerth hyrddiog a rydd y corddwr iddi, a'i roi allan yn rheolaidd a chyfnerthog. Y mae pedair aden yn ddigon i sicrhau ysgogiad canolgyrchol, ac yn tori trwy yr awyr wrthsafol yn haws. Pe byddai iddi ddeuddeg asgell, byddai gwrthwynebiad yr awyr gymmaint deirgwaith, ac wyth aden cymmaint ddwywaith, a phob ychwanegiad neu leihâd arall yn dilyn yr un cyfartaledd, a chaniatäu bod yr holl edyn cyfrifedig o'r un gwneuthuriad a mesuriad. Y mae nifer olwynion o bob math yn ymddibynu ar nerth y pwysau neu wasgiad y gofynir iddynt ymgynnal dano neu i'w erbyn. Campusrwydd peirianwaith yw na byddo dim yn niffyg na dim yn ormod ynddo. Gwaith olwynion peiriannol yw crynoi, trosglwyddo, cyflymu, arafu, a newid cyfeiriad yr ysgogiad a gyfrenir iddynt. Ar yr un egwyddor y mae cant y sidell wedi ei llunio heb un ymyl onglog iddynt i wrthdaro yr awyr.

Nid yw wyth par o esgyll ddim gormod i rod fawr melin i gynnal yn ddisigl fantoliad cywir ei chylchdroadau dan bwys egnïedig y dwfr, ac y mae yn ofynol i badlau olwynog agerddlongau fod wedi eu cyfnerthu â chynnifer o esgyll i wthio y dwfr yn ol yn egnïol ac effeithiol.

ceryg a rhisgl, i godi sylweddau o fwngloddiau, a phob dyben cyffelyb, lle byddo nerth dynol yn annigonol neu yn rhy gostus, a phan na byddo yn werth myned i'r draul o osod gwynt, dwfr, neu agerdd ar waith. Ond lle bynag y gellir defnyddio gallu difywyd, y mae dyngarwch yn gystal a'n helw yn ein rhwymo i arbed llafur a lludded yr anifail, druan, yr hwn sydd yn ddarostyngedig i'r un dyoddefiadau a ninnau, tra y mae llafur gormodol yn ei nychu ac yn byrhau ei oes a'i wasanaeth.

Wrth droi peiriannau, rhaid i'r anifail gerdded o gwmpas mewn cylch dysgrifiedig, yr hwn ni ddylai un amser fod yn llai nag o ddeg i bymtheg llath ar draws. Weithiau bachir yr anifail cylchrodiol wrth olwyn, ond gan amlaf wrth garfan orwelog yn gweithredu fel trosol ar baladr pensyth â chogwrn danneddog yn un pen iddi, yr hwn a dry "olwyn-gocos" cyssylltedig â'r peirianwaith gweithiol.

Er bod yr Ysgrythyrau yn dywedyd wrthym bod y Creawdwr bendigedig wedi rhoddi i ddyn ar ei gread arglwyddiaeth ar bob peth byw a symmudai ar y ddaiar, nid ydyw hanesyddiaeth gyssegredig nac anghyssegredig yn hysbysu i ni pa bryd y galwodd am wasanaeth yr anifeiliaid. Y mae yn debygol fod dyn wedi byw yn annibynol (gyda golwg ar gynnorthwy y creaduriaid isradd) cyhŷd ag y cafodd ei rym a'i egnïadau ei hun yn ddigonol i gyfarfod ei angen a'i ddymuniad; ond pan luosogodd ei hiliogaeth, a'i angenion a'i gynlluniadau gyda hwynt, profodd yn fuan fod ei nerth a'i lafur yn cynnyrchu llawer llai nag a atebai i'r gofynion a wneid arnynt, a'u bod yn gwbl anghyfartal i raid gynnyddol cymdeithas. Heb law hyn, y mae hanes y byd gynt yn profi yn amlwg fod y cenedlaethau boreuaf o ddynion yn llawer mwy anghymmedrol yn y cynlluniau a gymmerent mewn llaw nag oesoedd hwyrach. Pan oedd y byd yn ei febyd a'i blentyndod, a dynion am fod yn dduwiau ar y ddaiar, eu hadeiladau i gyrhaedd i'r nef, a chaerau eu dinasoedd i amgylchu gwledydd cyfain; eu byddinoedd i fod yn lluosocach na thywod y môr, eu hymherodraethau i ymledu hyd eithaf y ddaiar, a'u henw a'u mawl i barhau yn dragywydd yng nghof, arswyd, a syndod yr holl oesoedd, prin y gellir credu bod nerth gewynol dyn wedi bod yn abl, dros nemawr o amser, i ddigoni trachwant, rhaib, afrad, rhwysg, a gwagedd arglwyddiaethol. Y mae yn wir na thyfodd mawrhydi Babilonig a Ninefeaidd mewn diwrnod, a bod oes dyn y pryd hwnw yn ymestyn dros gannoedd o flynyddoedd, eto y mae yn ddiammheu bod anifeiliaid a pheiriannau o ryw fath ar waith yn ebrwydd ar ol y diluw. Am weithydd a gorchwylion y cynddiluwiaid ni wyddom ond ychydig. Dywed Moses, "A Chain a aeth allan o ŵydd yr Arglwydd, ac a drigodd yn nhir Nod o'r tu dwyrain i Eden. Cain hefyd a adnabu ei wraig; a hi a feichiogodd, ac a esgorodd ar Enoch: yno yr oedd efe yn *adeiladu dinas*, ac efe a alwodd enw y ddinas yn ol enw ei fab *Enoch*." Dyma fam dinasoedd y ddaiar. A'r chweched genedlaeth o Cain a gynnyrchodd y celfyddydwyr cyntaf a welodd y byd: "A Lamech a gymmerodd iddo ddwy o wragedd; enw y gyntaf oedd Adah, ac enw yr ail oedd Silah. Ac Adah a esgorodd ar Iabal; hwn ydoedd tad pob preswylydd pabell a pherchen anifail. Ac enw ei frawd ef oedd Iubal, ac efe oedd tad pob teimlydd telyn ac organ. Silah hithau a esgorodd ar Tubal-Cain, gweithydd pob cywreinwaith pres a haiarn. Chwaer Tubal-Cain ydoedd Naamah." A thrachefn, "Cawri oedd ar y ddaiar yn y dyddiau hyny; ac wedi hyny hefyd, pan ddaeth meibion Duw at ferched dynion, a phlanta o'r rhai hyny

iddynt: dyma y cedyrn a fu wŷr enwog gynt." Er bod Abel yn fugail defaid, Iabal oedd y cyntaf a arweiniodd fywyd ymdeithiol (*nomad*) fel buelydd, neu borfelwr, magwr, a phorthmon, yn preswylio mewn pebyll er mwyn bod yn gyflëus i symmud o le i le, fel y byddai eisieu dwfr neu borfa ar yr anifeiliaid Ond i ba berwyl y cadwai ei anifeiliaid? Prin y gallwn gredu mai bucheswr a llaethwr yn unig oedd. Ni chadwai hwynt i'w lladd a'u bwyta y mae yn sicr, gan na fwytëid cig cyn y diluw, a digon annhebyg yw eu bod yn werthfawr yn unig er cael eu crwyn yn wisgoedd; ac mewn oes mor ddidduw, ychydig o ofyn a allai fod am danynt yn ebyrth. Gan hyny, onid yw yn rhesymol i ni gredu bod dynolryw wedi cynnyddu cymmaint, a'u llafur mewn canlyniad wedi myned yn ormod i nerth ddeng ewyn neu fraich ac ysgwydd dyn ei wneyd; ac felly, bod cymhorth yr anifail i gludo beichiau a llafurio y ddaiar, os nid i deithio ar negesau masnachol neu ddifyrol, mor angenrheidiol fel yr oedd eu magu a'u darpar wedi dyfod yn beth ennillfawr. Credir mai ychain oedd y llafurwyr anifeilaidd cyntaf ar y ddaiar.

GLANMOR.

---

## MESUR CLADDEDIGAETHAU MR. OSBORNE MORGAN.

DYGIR y mesur hwn i'r Senedd nesaf gyda sain y dulcimer a'r chwibanogl ymneillduedig ac uch-Radicalaidd. Gwir amcan y mesur hwn ydyw cymmeryd meddiant o un o ragfuriau yr Eglwys a dim arall, canys nid oes un angen am dano o gwbl. Mae y wlad yn foddlawn i bethau fel ag y maent; nid oes gan yr Ymneillduwyr ddim un gwrthwynebiad i Wasanaeth yr Eglwys i gael ei ddarllen uwch ben beddau eu cyfeillion a'u perthynasau. Deorwyd y symmudiad hwn ym mhenau nifer o Radicaliaid ymneillduedig Cymru. Fel y gŵyr ein darllenwyr eisoes, arweinydd y blaid ymosodol yw Mr. Osborne Morgan, A.S., mab i offeiriad, yr hwn a dreuliodd ei oes yn yr Eglwys. Mae yn ymddangos fod Mr. Morgan yn aelod o'r Eglwys, ac yn galw ei hun yn gyfaill iddi. Gwareder ni oddi wrth y fath gyfeillion.

Nid ydyw yn beth tebyg y bydd i'r ymosodwyr adael un gareg heb ei throi; er ateb eu pwrpas, bydd iddynt amgylchynu môr a thir er proselytio yr aelodau seneddol. Gan hyny, y mae yn ddyledswydd arbenig ar yr Eglwyswyr i wrthsefyll mesur diangenrhaid a dialw Mr. Morgan; dylai pob Eglwyswr, llên a lleyg, sefyll ar y mur i wrthsefyll yr ymosodiad dyfodol. Nis gellir dysgwyl i'r Llywodraeth gymmeryd y mater i fyny; ond y mae yn ddyledswydd ar arweinyddion naturiol yr Eglwys, sef yr esgobion, wneyd hyn. Y mae y pwnc hwn wedi bod dan ystyriaeth mewn amryw gynnadleddau yn y gwahanol esgobaethau; ond wedi y cwbl, nid yw y cynnadleddau hyn yn cynnrychioli teimladau a barn y cyhoedd ar y mater. Beth mae ein bugeiliaid, yr esgobion, yn gymmeradwyo? Nid oes ganddynt fel corff ddim un cynllun i ddwyn o flaen Ty yr Arglwyddi. Dywedodd un o honynt yn ddiweddar ei fod ef yn credu y bydd i fesur Mr. Osborne Morgan, neu ryw fesur cyffelyb iddo, basio trwy Dy y Cyffredin y senedd nesaf. Ar ol hyny y bydd iddo fyned i'r Ty Uchaf, ac nid oes un ammheuaeth yn ei feddwl na fydd i farn bwyllog ac addfed Ty yr Arglwyddi daflu allan bob adran o'r mesur a fydd yn debyg o beryglu gwir grefydd a Christionogaeth. Yr unig gasgliad allwn dynu oddi wrth hyn ydyw, nad yw Ty y Cyffredin, yr hwn sydd yn cynnrychioli Cristionogion, yn feddiannol ar farn ymarferol a phwyllog. Os nad yw ein seneddwyr yn alluog i amddiffyn Cristionogaeth yn y Senedd, y mae

yn llawn bryd i'r cyhoedd i ymarfogi er amddiffyn Cristionogaeth yn Nhy y Cyffredin, a'u hiawnderau fel Pryd-einiaid, a phenderfynu yn ddiysgog na fydd i'n hopiniynau gael eu dyhuddo gan bleidleisiau Gwyddelig ac Ysgotaidd.

Y mae cyfraith claddu yn yr Iwerddon nad oes neb ond offeiriad, neu weinidog yr enwad yr oedd yr ymadawedig yn perthyn iddo, pan y bydd ef farw, i ddarllen gweddïau arferol yr enwad uwch ben bedd yr ymadawedig. A ydym ni yn Lloegr wedi myned mor ddifater am ein Cristionogaeth a goddef i unrhyw ber-son neu bersonau gael eu claddu yn y fath ddull a fydd yn beryglus i wir grefydd neu Gristionogaeth? a raid i ni ymddibynu ar farn ym-arferol a phwyllog Ty yr Arglwyddi? Nid ydyw y gyfraith yn caniatäu i ddynion gael eu claddu yn yr Iwerddon gyda neu heb un gwasan-aeth crefyddol; a ydym ni yn Lloegr grefyddol ac uchelfreintiog yn fodd-lawn i'n cyd-ddinasyddion gael cladd-edigaeth asynod? Yn ol mesur Mr. Morgan, nid oes un darbodaeth ar gyfer un math o wasanaeth crefyddol; gadewir hyn i fympwy cyfeillion yr ymadawedig. Yn yr Iwerddon, nis gall neb fyned i fynwentydd Eglwysi newyddion, y rhai a adeiladwyd yn ddiweddar ar draul Eglwyswyr ar safle newydd; pa ham na chawn ni yr un fraint yn Lloegr? Os caiff y mesur hwn basio, gwneir cofrestrwyr claddedigaethau o'r holl offeiriaid. Mae y draul o gadw y mynwentydd yn yr Iwerddon yn cael ei dalu gan warcheidwaid y tlodion. Yn Lloegr, rhoddir y baich hwn ar y rhai sydd yn talu trethi yn wirfoddol: ar yr Eglwyswyr mae y draul yn cwympo i gadw y mynwentydd mewn trefn, ac mae y Sanbalatiaid a'r Moabiaid hyn yn gofyn hawl i ddefnyddio y mynwentydd, ac ereill yn gorfod talu y draul. Nis gall haerllugrwydd fyned ym mhellach na hyn!

Un ffordd i roddi attalfa ar ym-yraeth yr Ymneillduwyr yw cau yr holl fynwentydd yn raddol; y mae y dull presennol o gladdu yn yr un tir drosodd a throsodd yn un ffiaidd, ac yn niweidiol i iechyd y cyhoedd. Y mae y rhan fwyaf o fynwentydd y trefi wedi cael eu cau, a bernir y dylid gwneyd yr un peth yn ein pentrefi; y mae llawer o'r mynwent-ydd gwledig yn orlawn. Dyna blwyf poblog Risca, sir Fynwy, nid oes yno ddim lle i gladdu meirw y plwyf.

Cynllun arall a gynnygir yw, fod i fynwentydd newyddion gael eu gwneyd ar draul y plwyf i'r Ymneill-duwyr gladdu eu meirw. Condemn-iodd Mr. Henry Richard, un o bleidwyr Mr. Morgan, y cynllun hwn fel un ffol a gwastraffus. Mae yn gofus gan ein darllenwyr i'r mesur gael ei daflu allan yn y Senedd ddiweddaf; nid oedd y mwyafrif yn ei erbyn ddim ond 14. Y tro di-weddaf oedd y cyntaf i'r pwnc gael ei ddwyn o flaen y Senedd bresennol. Dysgwylid y buasai y mwyafrif yn llawer mwy yn y Senedd y tro hwn: yr oedd llawer yn absennol; nid oeddynt yn barnu fod un angen am eu pleidleisiau. Nid oes dim un ddadl nad oedd y cyhoedd yn ymddi-bynu ar fwyafrif y Ceidwadwyr. Ni wnawd un ymdrech i betisiyno y Senedd yn ei erbyn, ac ni alwyd sylw ein seneddwyr at y pwnc o gwbl. Nid oes un ammheuaeth na ddarfu i Mr. Morgan a'i blaid wneyd pob ymdrech o'u tu hwy. Pleidleis-iodd dros y mesur dan sylw o sen-eddwyr Lloegr 168, Albanaidd 34, Gwyddelig 34; y cyfanswm yn 236. Pleidleisiodd yn ei erbyn o aelodau Seisonig 237, Albanaidd 4, Gwyddelig 9; y cyfanswm yn 250. Yr oedd mwyafrif yr aelodau Seisonig yn 69 neu 75, a chyfrif y *pairs*. Yr oedd 77 o Geidwadwyr yn absennol. Ni phleidleisiodd dim ond 8 o aelodau yn siroedd Lloegr, Cymru, ac Ynys Wyth dros y mesur, dau ranwr, un eisteddle wag, ac yn ei erbyn 42.

Y cwestiwn yw, a ydym ni yn barod i aberthu ein barn i'r Albaniaid a'r Gwyddelod? Ni fydd i'r mesur hwn effeithio dim ar yr Iwerddon nac Ysgotland. Nid oes genym ddim hanes i'r aelodau Seisonig farchogaeth dros benau yr aelodau Albanaidd yng nghylch materion oedd yn dwyn cyssylltiad uniongyrchol â'r wlad hòno. Yr oedd y mwyafrif dros y mesur yn lleihau y naill flwyddyn ar ol y llall. Yn 1870 yr oedd drosto 235, ac yn ei erbyn 124, y mwyafrif yn 111; yn 1871 yr oedd drosto 213, ac yn ei erbyn 151, y mwyafrif yn 62; yn 1872 yr oedd drosto 181, ac yn ei erbyn 110, y mwyafrif yn 71; ac yn 1873 yr oedd drosto 282, ac ei erbyn 219, y mwyafrif yn 63.

Dywedir i un o'r Weinyddiaeth bresennol sylwi wrth un o aelodau y *Convocation* ei bod o'r pwys mwyaf i Eglwyswyr wrthwynebu Bil y Claddedigaethau, a dadgan eu golygiadau arno ar unwaith; ac hefyd, wedi cynghori yr esgobion, gael barn y clerigwyr ar y mater. Gan ein bod wedi cael ein rhybuddio eisoes, a bod y pwnc wedi cael ei ddwyn o flaen yr offeiriaid yn swyddogol, a hwy yn unig, y mae yn ddyledswydd ar y lleygwyr, y rhai sydd yn feddiannol ar yr un teimladau a'r offeiriaid, i wrthdystio yn erbyn y mesur, canys nid yw y pwnc hwn yn perthyn i'r clerigwyr yn unig. Y mae holl egwyddor y sefydliad eglwysig yn dwyn cyssylltiad â'r pwnc. Mae yr Esgob Claughton yn ystyried fod yr hyn y mae yr Ymneillduwyr yn ofyn yn rhan o gynlluniau Cymdeithas y Dadgyssylltiad. Fe ddywedodd Mr. Osborne Morgan ei hun ei fod yn gobeithio y byddai i'r Ty ddiddymu y cerpyn diweddaf o anghyfartaledd crefyddol; serch hyny, y mae ef yn pleidleisio yn ffyddlawn dros ddadgyssylltiad a diwaddoliad yr Eglwys Dywedodd Mr. Miall y dylent ei hymladd i'r carn er cael unrhyw wasanaeth a ddewisa yr Ymneillduwyr; a chyhoeddir yn barhäus na fydd iddynt foddloni ar hyn, ond bydd yn rhaid iddynt gael cyfartaledd crefyddol perffaith yn y fynwent, yn yr Eglwys, ac ym mhob lle. Y mae y pwnc hwn yn addfedu i'r ymdrech fawr yn y Senedd nesaf, ac y mae o'r pwys mwyaf i'r cyhoedd siarad yn groew arno—yn erbyn pob dull a modd i ddadgyssylltu yr Eglwys, er ei fod yn cael ei gario ym mlaen dan fwgwd.

Y mae yn dda genym ddeall fod cymdeithas wedi ei sefydlu er gwrthwynebu y mesur hwn. Nid oes dim rhwymau arianol ar neb o'r aelodau; gall pob Eglwyswr ymuno â hi: ym mhlith y rhai ddarfu ei ffurfio, y mae enw un gweinidog Undodaidd. Gall y sawl sydd yn dewis ymuno â hi, anfon eu henwau i'r Parch. Canon Ridley Hambleden, periglordy Henley on Thames, neu at W. H. Kitson, Ysw., Torquay, ysgrifenydd.

---

MEIRWON Y MOROEDD.

BEDDRODAU y môr agorir,—a'u meirw,
Lu mawr, adgyfodir;
Yn y farn hwy a fernir,
Yr un talm a meirwon tir.

GWYNIONYDD.

---

## AROSWCH AM Y DIWEDD, GAN THOMAS CARLYLE.

YN y byd yma sydd yn perthyn i Dduw efo'i newidiau a'i ystormydd, lle y mae dynion a chenedloedd yn cwympo megys heb gyfraith, a barn am anghyfiawnder yn cael ei oedi, a ydych yn meddwl am hyny nad oes ddim cyfiawnder? Dyma beth y mae'r ffol wedi ei ddywedyd yn ei galon. Yn hyn yr oedd y doeth yn wastad yn ddoeth, o herwydd iddo wadu a gwybod nad oedd yn bod. Yr wyf yn dywedyd drachefn nad oes dim arall heb law cyfiawnder. Canfuaf un peth cryf ar y ddaiar yma—y peth cyfiawn neu y gwir beth. Fy nghyfaill, pe buasai genyt holl fagnelau Woolwich yn rhuo ar

dy ol mewn rhywbeth anghyfiawn, ac yn gweled coelcerthau afrifed yn aros o'th flaen i losgi am oesoedd o herwydd dy fuddugoliaeth trwyddi, myfi a'th gynghorwn i sefyll, rhoi i lawr dy gleddyf, ac yn enw Duw ei wrthod! A lwyddi? Druan, beth a fydd dy lwydd? Os yw y peth yn anghyfiawn, ni lwyddi er i goelcerthau losgi o ogledd i ddeheu, a chlychau ganu, a chyhoeddwyr ysgrifenu prif erthyglau, a'r pethau cyfiawn gael eu sathru i lawr a'u rhoi allan o olwg llygaid dynion fel pethau wedi eu dilëu a'u dyfetha. Llwydd? Mewn ychydig o flynyddau y byddwch wedi marw, ac yn dywyll, yn oer, heb lygaid, yn fyddar; ni welwch eto byth fflamiau coelcerthau neu brif erthyglau, neu seiniau y clychau. Pa fath yw y llwydd yna? Gwir ydyw fod pob peth yn y byd yma yn myned wrth yr hyn sydd agosaf i'r uniawn; rhaid i ni gymmeryd i fyny gyda'r hyn sydd ddim ym mhell iawn oddi wrth yr uniawn. Mae cadwraeth dda can gystal a'r un nad ydyw yn llesol. Ewyllysiwn, er mwyn cadwraeth, y byddai y gadwraeth dda wedi ei gadael, ac i'r gadwraeth aflesol, gan ryw law garedig, gael ei thori ymaith yn annhosturiol, gan ei gwahardd i ddangos ei hunan byth eto! Y cyfiawn a'r da yn unig a fyddant ac a gânt y goreu yn yr ymdrech yma; y mae'r lleill yn rhwystr, yn oedi, ac yn rhoi y fuddugoliaeth mewn perygl. Tuag at yr un tragwyddol hwnw, oddi wrth yr hwn y deua uniondeb a daioni, y mae yr annhrefn yma yn arwain. Yr ydym eisoes yn gwybod i ba le y mae i gyd yn arwain; beth a lwydda, a pha beth na lwydda! Y trymaf a gyrhaedda y canol. Y mae i'r trymaf, yr hwn sydd yn syrthio trwy ganol pethau anfeidroldeb ac anwadalwch—ei wendid a'i rwystrau, ïe, weithiau yn syrthio ac yn cael ei daflu yn ol; am hyny, llawenhâ rhyw ffol, gan ddyweyd, "Wele, y mae y trymaf yn esgyn"! Ond y mae yn myned tua'r canol o hyd mor fuan ag y mae yn fuddiol iddo, gan ddisgyn yn is ac yn iselach; a thrwy gyfreithiau sydd henach na'r byd, a chan hened a meddwl cyntaf ei Wneuthurwr, y mae yn rhaid iddo ddyfod yna.

Aroswch am y diwedd. Ym mhob rhyfel, os aroswch am y diwedd, yn gyfartal i'w haeddiant y llwydda pob ymladdwr. Yr oedd ei haeddiant a'i nerth yn y diwedd yn un, ac yr un fath. Ymladdodd â'i holl nerth, ond yn ol mesur ei haeddiant y llwyddodd: nid ydyw ei farwolaeth yn fuddugoliaeth drosto. Y mae yn marw yn wir; ond y mae ei weithredoedd yn fyw—yn fyw mewn gwirionedd. Ni allasai Wallace ddewr, er ei dori yn bedwar darn ar yr esgynlawr, rwystro i'w Alban fod rhyw ddiwrnod yn ddarn o Loegr; er hyny, fe rwystrodd iddi fod yn rhan ar ammod orthrymus ac annheg; gorchymmyna eto, megys â llef duw, oddi wrth ei hen Falhalla a Theml y Dewr, i'r uniad fod yn wir ac yn uniawn megys rhwng brawd a brawd, nid yn dwyllodrus megys rhwng caethwas a meistr. Os yw yr uniad â Lloegr yn wir yn un o'r bendithion mwyaf a ddygwyddodd i Alban, eto yr ydym yn diolch i Wallace nad ydoedd y felltith fwyaf! Nid ydyw Alban fel Iwerddon, o herwydd i ddynion dewr gyfodi yma gan ddyweyd, "Wele, ni feiddiwch chwi ein sathru i lawr fel caethweision, ac ni chewch, ac ni allwch chwaith"! Canlyna arni, ti galon ddewr, ac na phalla mewn amserau da a drwg. Y mae yr achos yr wyt yn ymladd am dano, gan belled ag y mae yn wir ac yn ddim pellach, yn sicr o lwyddo. Yr anwiredd yn unig a ddyfethir, fel y dylai fod; ond y mae y gwir yn rhan o gyfreithiau natur ei hun, yn cydweithio â phethau tragwyddol, ac ni ellir byth ei orchfygu.

THOMAS HUGHES.

*Tynewydd, Llansilin.*

## ADDYSG GREFYDDOL MEWN YSGOLION DYDDIOL.

YN fuan ar ol i Ddeddf Addysg ddyfod i weithrediad, codwyd yr iwbwb fawr yn erbyn addysg grefyddol—"Nid oedd dim eisieu dysgu y Beibl o gwbl i blant; yr oedd yr Ysgol Sul, y capel, a'r gweinidog yn ddigon i wneyd y diffyg i fyny." Dyna ydoedd iaith Cynghrair Birmingham a'i chynffon, a dyna oedd iaith pleidwyr y byrddau a'u haelodau: "addysg ddi-Dduw a di-Feibl" oedd ar eu banerau. Ymunodd Ymneillduwyr Cymru grefyddol—gwlad y capeli a'r cerdded i'r cyrddau, Sul, gwyl, a gwaith—gwlad sydd yn cymmeryd arni barchu y Beibl—gwlad sydd yn ymffrostio ei bod yn fwy crefyddol nag un wlad dan ser y nef. Nid oes un sir fe ddichon yng Nghymru mor drystfawr ar y pwnc hwn a sir Aberteifi—sir y breintiau mawr; serch hyny, y mae yn ymddangos i Syr Thomas Lloyd, Barwnig, o Fronwydd, aberthu ei sedd yn y Senedd o herwydd iddo bleidio addysg Feiblaidd. Hawyr anwyl! pa fodd y collodd pobl sir Aberteifi eu cariad at y Beibl? pa fodd y cyfnewidiodd yr aur coeth da, ac y syrthiodd y cedyrn? a pha fodd y cymmerodd plant a fagwyd ar fronau y capel a'r Ysgol Sul eu dallu, ac ymuno â'r dysgawdwyr di-Dduw? Y mae hyn yn dangos fod rhywbeth allan o le, a bod crefyddolion ein hoes ni wedi gadael yr hen lwybrau a'r hen ffordd dda. Dywedaf wrthynt yng ngeiriau Nicander,

"Llygrodd eich esampl eu tyner oed;
Fu waith erioed greulonach;
Hudasoch hwy oddi wrth eu mam,
I sugno llysfam afiach."

Seculariaeth sydd yn amcanu gwneyd cythreuliaid cyfrwys o'r to sydd yn codi. Y mae pleidwyr Cynghrair Birmingham eu hunain wedi gweled eu camsynied; y maent wedi gweled o'r diwedd fod y Cynghrair yn arwain y bobl i berygl a dinystr. Mae hyd yn oed Mr. Spurgeon, prif oracl yr enwad y mae ef yn perthyn iddo, wedi cefnu ar y Cynghrair, ac wedi siarad yn blaen o blaid addysg grefyddol. Siaradodd y gwr Parchedig ar agoriad ysgoldy newydd yn Walworth ychydig amser yn ol, ac addefodd ei fod unwaith yn un o aelodau y Cynghrair; ond y mae ef wedi cael ei droi, ac yn sefyll i fyny yn awr o blaid yr egwyddorion y mae Eglwyswyr yn ymladd drostynt. Fel hyn y siaradodd Mr. Spurgeon:—

"Dywedir wrthym yn barhäus fod ysgolion y byrddau wedi cymmeryd y gwaith o addysgu y werin allan o'n dwylaw; ond po mwyaf diwyd y mae y byrddau yn addysgu, dylai yr Eglwys fod yn fwy diwyd i gyfranu addysg grefyddol. Gall addysg fydol fod yn dda, ond gellir ei droi i ddrwg oni bydd i addysg grefyddol fod yng nglŷn ag ef, a'i halltu gyda gwybodaeth bur Gair Duw."

Y mae y gwr Parchedig yn barnu y daw yr amser i ben pan y cymmerir addysg oddi ar y Llywodraeth. Camsynied mawr oedd creu y fath beiriant a bwrdd ysgol, yr hwn sydd yn gweithredu yn groes i ysbryd y ddeddf i ddinystrio yr ysgolion gwirfoddol trwy wastraffu arian y trethdalwyr yn gywilyddus, y rhai sydd yn cyfranu yn haelionus tuag at yr ysgolion enwadol. Nid ydyw hyn ddim amgen, meddai Mr. Spurgeon, nag erlid y Beibl. Mae y ffaith fod y Beibl yn cael ei wahardd yn yr ysgolion yn gystal a dywedyd ei fod yn niweidiol i blant. Mae yn dda genym weled Ymneillduwyr o safle ac enwogrwydd Mr. Spurgeon wedi gweled o'r diwedd nad yw addysg ddi-Dduw yn debyg o droi allan yn fendithiol. Gofynodd, "Pa ham y mae yn rhaid i'r hyn sydd yn un o anhebgorion addysgiaeth gael ei esgeuluso a gwrthod ei gredu o achos hanner dwsin o anffyddwyr? Pa ham y rhaid i ni roddi heibio darllen

y Beibl i'w boddio hwy, a gwneyd anffyddiaeth yn grefydd genedlaethol Lloegr? Er mor ddrwg yr wyf yn meddwl am y grefydd genedlaethol, y mae yn well genyf am dani na chael Mr. Bradlaugh yn archesgob Caergaint, a chael ei athrawiaeth ef i'w dysgu i'r oes sydd yn codi."

Gwrandëwch, chwi Ymneillduwyr Cymru, ar eiriau Ymneillduwr. Nid oes un ammheuaeth na ddarfu i lawer o honoch gymmeryd eich hudo i bleidio addysg ddi-Feibl. Ymwadwch fel y gwnaeth Mr. Spurgeon â'r gyfundrefn ag sydd yn debyg o wneyd y bobl yn genedl o anffyddwyr agored. Mae y Moabiaid a'r Hagariaid bydol â'u holl rym yn ceisio difodi yr ysgolion enwadol yng Nghymru, y rhai sydd wedi bod yn fendith i filoedd o blant y Cymry.

RHEIDIOL.

---

## CONFFIRMASIWN.

### VIII.

### TYSTIOLAETH YMNEILLDUWYR.

MEWN ffordd o "attodiad" i'r hyn a draethwyd eisoes o barth Conffirmasiwn, gadawer i ni daflu cipdrem dros farn "y rhai nad ydynt o honom ni"—tystiolaeth ddiduedd gwŷr enwog a lafuriasant y tu allan i gylch yr Eglwys Esgobyddol.

Dywed *John Calvin*, "Hen ddefod yn yr Eglwys oedd i blant Cristionogion, wedi dyfod o honynt i oedran pwyll, gael eu dwyn at yr esgob er mwyn cyflawnu y ddyledswydd hòno a ofynid oddi ar law y sawl a fedyddiwyd yn eu cyflawn oedran; am hyny, y sawl a fedyddiwyd yn eu babandod, gan na allent y pryd hwnw wneuthur cyffes o'u ffydd, a ddygid mewn amser priodol ger bron yr esgob gan eu rhieni, ac a holid ganddo yn ol ffurf y Catecism a arferid yn gyffredin. Ac er rhoddi ychwaneg o barch ac effaith i'r ddefod hon (defod a haeddai yn wir gael ei hystyried yn un sanctaidd a thra difrifol), byddid yn arferol o'i chyflawnu trwy arddodiad dwylaw yr esgob. Yna wedi i'r rhai ieuainc roi tystiolaeth gyhoeddus o'u ffydd a'u proffes, gollyngid hwynt ymaith gyda bendith dra phwysig a difrifol. Y cyfryw arddodiad dwylaw a hyn yr wyf fi yn ei hollol gymmeradwyo, ac yr wyf yn taer ddymuno ei weled wedi ei adferu i'w burdeb boreuol a chyssefin."[1]

Yr hybarch *John Elias*, yn ei lythyr i'r *Record*, dyddiedig Chwef. 25med, 1833, a grybwyll ym mysg pethau ereill yng nghylch Eglwys Lloegr, "Ystyriwch y gofal sanctaidd gyda'r hwn fel mam dyner y dilyna hi nyni trwy bob cam o'n gyrfa ddaiarol, ac y gwylia dros ein hangenion a'n peryglon. Cyn gynted ag y genir plentyn i fyd o bechod a gofid, cymmer yr Eglwys ef o ddwylaw ei rieni; ac mewn ymadroddion o serch toddedig, cyflwyna ef i nodded y Bugail mawr. Ym mhen ychydig amser, pan gyrhaeddo flynyddoedd deall ac ystyriaeth, daw yr Eglwys eto eilwaith, a geilw arno i adnewyddu ei gyfammod a myned i fyny i dy yr Arglwydd, gan ymgyssegru i Dduw fel ei was a'i filwr."

Dyna dystiolaeth ddiamwys sylfaenydd Calfiniaeth, a barn bendant un o dadau Methodistiaeth Galfinaidd Gymreig, ac nid dibwys a gwagsaw yw tystiolaeth wirfoddol ac ewyllysgar y gwŷr enwog hyn o barth trefn Conffirmasiwn.

Trown at Fethodistiaeth Wesleyaidd. Un o gawri hon ydoedd y tra adnabyddus *Dr. Adam Clarke*, yr hwn a neillduwyd i waith y weinidogaeth ym mysg y Wesleyaid, gan Wesley ei hunan, trwy arddodiad dwylaw a gweddi ar Dduw. Cymmerodd hyn le yn y flwyddyn 1782. "Y pryd hyn," medd Clarke, "yr oedd Esgob Bryste yn cynnal Conffirmasiwn yn yr Eglwys Golegol.

---

[1] Calvin's *Institutes*, Allen's *Trans.*, vol. iii., p. 781.

hender antiquity



Nid oeddwn erioed wedi cael fy nghonffirmio; a chan fod genyf barch uchel i holl ddefodau a seremonïau yr Eglwys, yr oeddwn yn ewyllysio cofleidio y cyfleusdra hwn i gael bendith yr esgob hygar ac apostolaidd hwnw, Dr. Lewis Bagot. Gofynais am ganiatâd: daeth amryw o feibion y pregethwyr gyda mi; a theimlais lawer o foddlonrwydd yn yr ordinhâd hon; i mi yr oedd yn dra edmygol, a'r oll a ddygid ym mlaen yn dda. Mr. S., yr hwn oedd Bresbyteriad, a dosturiai fy mod yn cael fy 'attal' cyhŷd 'yn hender y llythyren.' Yr wyf wedi byw yn agos i ddeugain mlynedd wedi hyny, ac ar y pen hwn nid yw fy syniadau wedi newid." Dwy flynedd cyn ei farwolaeth, ysgrifenodd Dr. Clarke y llythyr canlynol at ei hoff gyfeilles Mrs. Wilkinson:—[1]

"*Haydon Hall, Mehefin*, 1830.

"Anwyl Mrs. Wilkinson,—Yr ydych yn chwenncyh cael fy marn i ar bwnc y Conffirmasiwn. Meddylir ei bod yn ddefod trwy yr hon y cymmerir y baich moesol oddi ar ysgwyddau y mechnïon, ac y trosglwyddir ef ar yr ysgwyddau hyny i'r rhai y perthyna yn briodol. Yn awr, cyhŷd ag y byddo y tybiau a'r teimladau hyn perthynol iddo yn ffynu ym meddyliau pob plaid, yr wyf fi yn dywedyd yn enw Duw, bydded i'r ddefod, yn cael ei gweinyddu yn ddyladwy, gael ei derbyn yn ostyngedig. Ond dylai ei deiliaid gael eu haddysgu yn dda eu bod trwyddi hi nid yn unig wedi cyflawnu dyledswydd, a chan belled a hyny gael cydwybod esmwyth; ond yn chwanegol, eu bod trwyddi hi wedi cymmeryd iau gref a pharhaol ar eu gwarau yn eu hadduned "i ymwrthod â Diafol ac â'i holl weithredoedd, rhodres a gorwagedd y byd anwir hwn, a holl bechadurus chwantau'r cnawd, a bod iddynt gadw gwynfydedig ewyllys Duw a'i orchymmynion, a rhodio ynddynt holl ddyddiau eu bywyd.' Nid rhwymedigaeth gyffredin ydyw hon. Y maent yn ddifrifol yn cymmeryd hon arnynt pan yn dyfod i'w conffirmio, a thrwy y weithred y maent yn dyfod dan gyfammod newydd a pharhäus i ymgyflwyno yn hollol i Dduw, fel y caffont 'farwolaeth' drwyadl 'i bechod,' a pherffaith 'enedigaeth newydd i gyfiawnder.' Os dywed unrhyw blentyn, 'Os yw hyn oll yn gynnwysedig mewn cael fy nghonffirmio, yna ni fynaf fi gael fy nghonffirmio mewn un modd;' yr wyf yn ateb, dy fod yn rhwym i hyn oll trwy dy broffes o Gristionogaeth; fel pa un bynag a gonffirmir di ai peidio, y mae yr iau hon am dy war, ac os bydd i ti ei dryllio neu ei thaflu ymaith, y mae ar berygl dy ddinystr tragwyddol. Drachefn, y mae y ddefod ei hun yn ddefnyddiol i alw y pethau hyn i goffadwriaeth; a phwy a ŵyr pa faint o ras a ellir ei dderbyn yn ystod cyflawniad y seremoni hon, ac yn enwedig trwy osodiad dwylaw dyn sanctaidd ar eich pen, a thrwy alw yn ddifrifol am fendith Duw arnoch! Dywedwch y pethau hyn wrth eich anwyl ferched a'ch meibion; a dywedwch wrthynt beth arall, yr hyn ni feddylia ond ychydig am dano, sef trwy na feddwn gyfleusdra i gael fy nghonffirmio ar ol i mi gyrhaedd yr oedran hwnw pryd yr oedd genyf hawl eglwysig i'w dderbyn, fy mod yn penderfynu na fyddwn hebddo, ac am hyny ddarfod i mi fyned a derbyn Conffirmasiwn hyd yn oed ar ol dyfod yn bregethwr Methodistaidd. Do, fe'm conffirmiwyd i yn yr Eglwys Golegol ym Mryste, yn y flwyddyn 1782, gan y gwr tra sanctaidd hwnw, Dr. Lewis Bagot, y pryd hyny esgob yr esgobaeth hòno, ac wedi hyny esgob Norwich. Chwi a welwch bellach, fy chwaer dda, oddi

[1] *Buchdraeth* a ysgrifenwyd mewn rhan ganddo ef ei hunan, ac a orphenwyd gan un o'i ferched, tud. 75, 495.

wrth fy addysg a'm gweithred, pa beth yw fy meddwl i am y ddefod o Gonffirmasiwn; a mi a chwanegaf un gair yn rhagor—yr wyf yn credu y bydd i'r ddefod gael ei gweinyddu yn dra difrifol gan esgob presennol Llundain, yr hwn a ä trwy y cyfan gyda chydwybod onest tuag at Dduw. Bûm yn meddwl weithiau y dylwn ysgrifenu traethawd bychan ar hyn, fel y gwnaethym ar y Trydydd Colect am gael Gras, a elwir yn awr 'Gweddi yr Ymdeithydd.' Ydwyf, anwyl Mrs. Wilkinson, yr eiddoch yn serchog,

ADAM CLARKE."

Nid angenrhaid ychwanegu at dystiolaethau y tri wŷr cedyrn hyn o barth natur, difrifoldeb, ac effeithioldeb ordinhâd dra buddiol a gwerthfawr y Conffirmasiwn. Mae y tri wŷr enwog uchod yn llu ynddynt eu hunain, ac yn cynnrychioli dosbarth yn yr Eglwysi Anghydffurfiol nad ydynt eto wedi pallu o'r tir.

## BYRDRA A BREUOLDER OES DYN.

*Sylwedd Pregeth a draddodwyd gan Glanmor, yn Eglwys Grinsdale, Cumberland, yn* 1865–6.

"Dygi hwynt ymaith megys â llifeiriant; y maent fel hun; y boreu y maent fel llysieuyn a newidir."—Salm xc. 5.

Y MAE Gwasanaeth Angladd difrifol ein Heglwys wedi gwneyd yr ysgrythyr hon yn hysbys iawn i bawb o honom. Awdwr y salm odidog hon oedd Moses. Bernir iddo ei chanu yn yr anialwch, pan dyngodd yr Arglwydd yn ei lid na chai y genedlaeth anghrediniol a throfäus hòno fyned i mewn i'w orphwysfa.

Yn y gân hon y mae yn cymharu tragwyddol oes Duw â byrdra a breuolder bywyd dyn ar y ddaiar.

Fel arweiniad i mewn gwnawn ychydig sylwadau ar yr adnodau blaenorol: "Ti, Arglwydd, fuost yn breswylfa i ni," &c.



Y mae ffydd yn gafael yn Nuw hyd yn oed dan guddiadau ei wyneb. "Pe lladdai Efe fi," ebai Iob, "eto mi a obeithiaf ynddo." Y mae Duw yn breswylfa, yn noddfa, a lloches i'w bobl ym mhob cenedlaeth: yng nghanol barn y mae yn cofio trugaredd.

Ond y mae Duw yn bod er cyn pob cenedlaeth—er tragwyddoldeb ac hyd dragwyddoldeb. Rhyw ynys fach yng nghanol môr annherfynol tragwyddoldeb yw amser. Yr oedd Duw yn bod cyn gwneuthur y mynyddoedd, &c.; er cynnifer o oesau y maent wedi sefyll, mae Efe cyn pob peth.

"Troi ddyn i ddinystr;" h.y., i ddinystr marwolaeth—dattodiad ei gyfansoddiad daiarol. "A dywedi, Dychwelwch," &c.; dyma gyfeiriad at y ddedfryd yn Eden, &c. Ereill a farnant mai at adgyfodiad y meirw y mae y prophwyd yn cyfeirio. Ac felly, cyfieithiad Seisoneg ein Llyfr Gweddi: "*Thou turnest man to destruction, and again Thou sayest, Come again ye children of men;*" h.y., Troi ddyn i ddinystr, a thrachefn y dywedi, Deuwch eilwaith blant dynion—deuwch drachefn o'r llwch, o ddinystr y bedd, i adgyfodiad bywyd. Ereill a olygant y geiriau hyn fel galwad grasol i edifeirwch yn yr olwg ar farwoldeb dyn. Fel hyn y mae trugaredd yn llefaru wrthym ym marwolaeth ein cymmydogion, fel na thristaom fel rhai heb obaith.

"Canys mil o flynyddoedd ydynt yn dy olwg Di fel doe," &c. Tybia rhai i Moses siarad fel hyn gan feddwl am hirhoedledd y cynddiluwiaid, y rhai a fuont fyw agos i 1000 o flynyddoedd. "Fel doe," &c.; fel doe sydd i ni megys dim: "ac fel gwyiiadwriaeth nos"—fel y wyliadwriaeth foreu, medd rhai, y fyraf oll. Ber iawn ydyw gwyliadwraeth nos, nid i'r gwyliwr, ond i'r hwn sydd yn cysgu.

" Dygi hwynt megys â llifeiriant,"

&c.—Fel llifeiriant yn ein ysgubo, yn ein gwasgar, &c., yn ein dwyn ar goll i'r rhai a adewir ar ein hol yn y byd. Pa beth a ysgubir, a wasgerir, ac a gyfrgollir felly? Rhai a ddeallant oesoedd amser. Rhai y gwahanol genedlaethau o ddynion.

"Y maent fel hun," &c. Y mae dau ddarlleniad yn ol fel y gosodir yr attalnod—

1. Y maent fel hun; y boreu y maent fel llysieuyn a newidir.

2. Y maent fel hun y boreu; y maent fel llysieuyn a newidir.

Byr iawn yw cynt-hun y boreu.

Y mae oesoedd yn myned heibio fel breuddwydion cwsg, fel gweledigaeth foreu; felly y mae holl genedlaethau dynion.

1. Holl helyntion yr oesoedd.

2. Rhyfeloedd a chwyldroadau amser.

3. Codiad a chwymp teyrnasoedd ac ymherodraethau.

Nid oes dim mwy o sylwedd ynddynt i ni na breuddwydion nos. Edrychwn yn ol ar ein hoes ein hunain. Pa le y mae ein hen gyfeillion, ein hen gymmydogion, a'n perthynasau? nid yw eu coffadwriaeth ond megys breuddwyd? Holl helyntion ein bywyd a aethant heibio; breuddwydion ydynt, fel y flwyddyn sydd newydd ein gadael bellach fel breuddwyd.

"Y maent fel llysieuyn," &c. Prydferthwch a breuoldeb y llysieuyn, a'r gwahaniaeth sydd rhyngddo a'r pren, a olygir yma gan y prophwyd. Felly bywyd dyn—ireidd-der a blodau ieuenctyd mewn cymhariaeth â gwywder henaint. Torir ef i lawr gan siomedigaethau, gan ofidiau, gan afiechyd, gan angeu.

"Gan hyny, dylem gyfrif ein dyddiau," &c. Amser cyfaddas yw dechreu blwyddyn newydd i ofyn, Pa beth ydyw holl drafferthion y flwyddyn ddiweddaf? onid breuddwydion cwsg? Pan y mae dyn yn cysgu, y mae yn breuddwydio. Gallwn sylwi fod ein breuddwydion yn gymmysgedig o bethau hyfryd a phethau annymunol fel y mae ein bywyd; pa beth ydyw ond profiad diflanol? Gobaith ac ofn, &c. Pan y mae dynion yn ieuainc, y maent yn breuddwydio am bleserau, cyfoeth, anrhydedd, mawredd, &c. Pa faint o'r pethau hyn a droisant yn freuddwydion i bob un o honom? Pa faint o bethau drwg y buom yn eu hofni? pa faint o bethau a obeithiasom a droisant yn freuddwydion?

Adolygiad ar yr hen flwyddyn a'n harwain i ystyried—

1. Ei thrugareddau.

2. Ei gwaredigaethau.

3. Ei phechodau.

4. Ein harbediad trwy hir amynedd Duw.

Pa le y mae llu a ddechreuasant y flwyddyn a aeth heibio gyda ni? Hunasant oll yn ystafelloedd dystaw angeu. Ac os cymmerwn ragolwg ar y flwyddyn newydd, dirgelwch oll yw. Pa beth a'n cyferfydd? Pa faint o honi a fwynhäwn? Y mae y cwbl yn gwmwl o ddirgelwch anhydraidd. Da yw bod genym adenydd yr Hollwybodol i lechu yn eu cysgod. Galwad yw gwawr blwyddyn newydd i edifeirwch, i benderfyniad gwell, i adnewyddu ein cyfammod â Duw, i ffydd fwy diysgog, i gariad gwresocach, i sêl fwy tanllyd, i fwy o weithredoedd da, i ymbarotoad, i gynnydd mewn gras, i sancteiddrwydd buchedd, i weddi daerach, i wyliadwriaeth fwy dyfal, i fuddugoliaethau mwy gogoneddus, i deithio yn gyflymach tua'r nef. Sylwn hefyd nad ydyw cynnydd moesol a chrefyddol ein hoes ddim yn cydgerdded â'i chynnydd celfyddydol a masnachol y byd. Oes agerdd yw yr oes hon; dyna un o'r pethau penaf sydd yn cyflymu anturiaethau celfyddydol a masnachol yr oes. Dwfr a thân sydd yn gwneyd agerdd. Dagrau edifeirwch a thân cariad Crist sydd yn achosi holl weithgarwch yr enaid, ac yn prysuro gwaith iachawdwriaeth dyn—ein hunain ac ereill. Gweithiwn yn fwy egnïol:

"Y mae y nos yn dyfod," &c. "Y mae ein hoes yn myned heibio" megys llifeiriant, fel hun, ac fel llysieuyn a newidir.

---

## Y TRI PYSGOTWYR.

(*Efelychiad.*)

Tri o bysgotwyr a hwylient yn llon—
A hwylient yn llon tra'r haul aeth i lawr;
Pob un oedd yn ddedwydd ac ysgafn ei fron,
A'r plant yn eu gwylio yn ddwysion eu gwawr:
Rhaid i ddynion gael gwaith er i'w gwragedd oer ddelwi;
Mae rhywfaint i'w ennill, a llawer i'w porthi,
Er cwyno o'r gwynt yn y porthladd.

Tair gwraig mewn goleudy a wylient eu hynt,
Gan drwsio eu lampau tra'r haul aeth i lawr;
A chlywent ysgrechiad dwfn-dreiddiol y gwynt,
A'r môr yn erch fyned i fyny ac i lawr:
Rhaid i ddynion gael gwaith er i'w gwragedd oer ddelwi,
A'r tònau ar fyrder ddwys ymgynddeiriogi,
A chwyno o'r gwynt yn y porthladd.

Tri chorff oedd yn gorwedd yn oer ar y lan
Y boreu, a'r llanw yn cilio o'r lle;
Y gwragedd a wylent yn groch yn y fan
Am ddynion na ddeuent byth gartref i'r dre':
Rhaid i ddynion gael gwaith er i'w gwragedd drwm wylo;
Os derfydd eu dagrau mwy cyflym gânt huno,
A chanu yn iach gyda'r porthladd

HENRI MYLLIN.

*Llansilin.*

---

## BYR GOFIANT

*Am y diweddar Barch. J. Jackson, B.C., Arolygydd Ysgolion Cenedlaethol Esgobaeth Llanelwy.*

A'R hynaws a'r talentog Mr. Jackson nid yw mwy! Gwedi dyoddef byr gystudd, efe a fu farw dydd Iau, y 26fed o Dachwedd, yn ei breswylfod, Rose Hill, Llanelwy, ac efe ond 31 mlwydd oed: oes fer, ond un dra defnyddiol. Diau y gellir, gyda phriodoldeb, gymhwyso yr adnod hòno at wrthddrych gwir deilwng ein hysgrif—"Efe a gyflawnodd lawer o flynyddoedd mewn ychydig ddyddiau." Do, efe a orphenodd y gwaith a roddodd Pen mawr yr Eglwys iddo i'w gyflawnu, ac ehedodd ei enaid dysglaer "i gymmanfa a chynnulleidfa y rhai cyntafanedig, y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd, ac at Dduw, barnwr pawb, ac at ysbrydoedd y cyfiawn, y rhai a berffeithiwyd;" am ba gymmanfa y clywais ef yn pregethu ddiweddaf gyda nerth, hyawdledd, a dylanwad. Rhyfedd mor ddyrys yw ffyrdd Rhagluniaeth yn caniatäu i'r Eglwys gael ei hamddifadu o wasanaeth un mor ddefnyddiol a gwasanaethgar a Mr. Jackson! Ond nid oes dim yn newydd yn ei farwolaeth; felly y bu ym merthyrdod Sant Stephan pan oedd yr Eglwys yn ei babandod, ac yn sefyll mewn angen am dano, ac nid ydyw ond enghraifft arall o'r hyn y mae ein Heglwys yn ei ddysgu i ni wrth gladdu pob un o'i phlant—"Yng nghanol ein bywyd yr ydym mewn angeu."

"*History repeats itself.*" Y mae yn ffaith hefyd, fel rheol, mai oes fer ydyw eiddo dynion duwiol, gweithgar, a defnyddiol. Nid oedd yr anfarwol Frederick Robertson Brighton ond 37 mlwydd oed pan fu farw; ac yn sicr ddigon, gwirionedd a ddywedodd y Deon Stanley mai Robertson oedd y pregethwr mwyaf a ymddangosodd yn y ganrif bresennol. Nid anfuddiol ef allai ar hyn o bryd ydyw y dyfyniad canlynol allan o un o bregethau Robertson:—"To a man of middle life, existence is no longer a dream but a reality. He has not much more new to look forward to, for the character of his life is generally fixed by that time. His profession, his home, his occupations will be, for the most part, what they are now. He will make few new acquaintances—no new friends. It is a solemn thought connected with middle age that life's last business is begun in earnest." Ië, yn ieuanc y bu farw Ioan Fedyddiwr—dim ond 33 mlwydd oed; ond yn yr oedran ieuanc yna yr oedd wedi gorphen y gwaith mawr o "barotoi ffordd yr Arglwydd, a gwneuthur yn uniawn ei lwybrau Ef." Ië, gyda phob parch y dywedwn, dyn ieuanc oedd y bendigedig Waredwr pan lefodd ar y Groes wrth farw, "Gorphenwyd,"

dim ond 33 mlwydd oed. Pan ystyriwn y pethau hyn, mae y mwyaf galarus yn gallu tynu cysur oddi wrthynt, ac yn gweled dull y byd hwn yn myned heibio. Bydded yr Arglwydd yn gymhorth, amddiffyn, a chysur i Mrs. Jackson a'r amddifaid yn y brofedigaeth chwerw y maent ynddi. Mae'r cydymdeimlad dwysaf â hwynt yn cael ei ddadgan gan bawb, ac yr ydym yn sicr y bydd i'r dadganiad hwnw gael ei ddangos mewn modd sylweddol trwy gyfraniadau hael at y gronfa y mae Arglwydd Esgob Llanelwy wedi ei sefydlu. Dywedodd ei arglwyddiaeth yn y cyfarfod a gynnaliwyd ar ol yr angladd mai y peth oedd yn pwyso fwyaf ar feddwl Mr. Jackson oedd ei anwyl briod a'i blant bach diamddiffyn. Anturiaf wneyd cynnygiad, sef fod i bob un o gyfoedion colegol Mr. Jackson danysgrifio yn hael at yr achos teilwng hwn: nid wyf yn meddwl y gwrthodai un o honynt. Gobeithiaf nas gadewir careg heb ei throi i wneyd darpariaeth deilwng ar gyfer y weddw drallodus a'r plant amddifaid.

Daethym yn adnabyddus â Mr. Jackson o ddeutu chwech mlynedd yn ol, pan yn gydefrydydd yng Ngholeg Dewi Sant, Llanbedr; ac o'r amser hwnw hyd ddydd ei farwolaeth, yr oeddym yn gyfeillion mynwesol, a chyfaill cywir gwerth ei garu oedd Mr. Jackson. Treuliais lawer awr adeiladol yn ei gyfeillach pan yn Llanbedr, ac ar ol hyny. Nid anghofia ei gyfoedion colegol ei sel a'i hyawdledd yn *Debating Society* y coleg, ac edrychid arno ef fel Demosthenes y coleg yn ei areithiau Seisonig yn ogystal a Chymraeg. Siaradai yn llithrig, deniadol, a boneddigaidd; ymresymai yn deg, argyhoeddiadol, a chadarn, a dangosai yn ei areithiau a'i bregethau ei fod wedi ei gynnysgaeddu â dawn ymadrodd ym mhell iawn tu hwnt i'r cyffredin, a'i fod yn feddiannol ar y gallu hwnw i wneyd y defnydd goreu o hono. Bu yn selog dros ben, yng nghyd ag ychydig o'i gyfeillion, i sefydlu y Ddadleufa Gymreig yn y coleg, er mwyn rhoi cyfleusdra i'r efrydwyr ymarfer llefaru yn gyhoeddus yn yr iaith Gymraeg. Fe siaradodd yn fynych ar yr angenrheidrwydd o ymarfer areithio yn gyhoeddus fel un o gymhwysderau gweinidog yr Efengyl, a theimlai yn fawr y diffyg oedd yn ein Heglwys yn y cyfeiriad yna. Yr ydym yn côfio yn dda ei araith y noson y llwyddasom i'w sefydlu, a'r modd y darfu iddo ef ac ereill lwyddo i ddystewi yr ychydig efrydwyr Seisonig a wrthwynebent y cynllun. Yr oedd Mr. Jackson hefyd yn hynod ddefnyddiol mewn cyfeiriad arall. er rhoi cyfleusdra i efrydwyr ieuainc ymarfer llefaru yn gyhoeddus. Pan yn gurad yn Llanbedr, sefydlodd Wasanaeth Dwyfol ym Maestir, o ddeutu dwy filltir o Lanbedr, ac hefyd mewn lle arall yn agos i Dolau Ffarm, a rhoddwyd pob cefnogaeth iddo gan Mr. a Mrs. Bankes Price gyda'r canu a'r Ysgol Sul. Llafuriodd yn galed ynddo ei hun, a cheisiai gan efrydwyr y coleg draddodi darlithiau wythnosol yn y lleoedd hyn. Gall llawer, heb law yr ysgrifenydd, dystio i'r lles mawr a dderbyniasant oddi wrth y cyfarfodydd hyn. Cerddodd yr ysgrifenodd amryw weithiau gyda gwrthddrych caredig ei ysgrif i'r lleoedd hyn; a chofus ganddo ei glywed yn dyweyd unwaith mai un o'r pethau mwyaf a feddiannent ei feddwl oedd adferiad yr Eglwys Gymreig i'w safle gyntefig, a'i llwyddiant cyffredinol fel cangen o Eglwys Crist. Dangosodd wirionedd y dywediad yma yn ei weinidogaeth ddiflino a thra llwyddiannus yn Llanbedr, ac wedi hyny fel arolygydd ysgolion, a'i lafur pregethwrol ar hyd a lled esgobaeth Llanelwy ac mewn manau ereill. Yr oedd ei dalentau godidog at wasanaeth pawb a'u gofynent, ac nid oedd dim yn fwy gwrthwynebol i'w deimladau na

gwrthod cydsynio ag unrhyw gais i roddi cynnorthwy mewn cyfarfodydd eglwysig. Ofnwn yn fawr ei fod wedi gwneyd mwy nag oedd ei gyfansoddiad egwan yn ganiatäu, a thrwy hyny efe a nychodd ei iechyd. Ei ysbryd yn ddiau oedd barod, ond ei gorff oedd wan.

O berthynas i alluoedd meddyliol yr ymadawedig, digon yw dyweyd mai trwy eu nerth a'u dylanwad hwy yr ymddyrchafodd i'r safle anrhydeddus a gyrhaeddodd mor ieuanc; ac yr oedd wedi ennill serch ac edmygedd ei frodyr clerigol, o'r esgob i lawr hyd at y curad distadlaf. Yr anrhydedd mwyaf a ddichon dyn ei etifeddu ydyw gallu dyweyd ddarfod iddo ymddyrchafu fel hyn trwy ymdrech personol onest; ac yn yr oll nid anghofiodd Mr. Jackson ei hun. Nid oedd y radd leiaf o wahaniaeth yn ei ymddygiad cymdeithasol: yr un oedd Mr. Jackson yr offeiriad a Mr. Jackson yr ysgolfeistr ym Mhwllheli. Ac yn wir, creadur ysgymmun ydyw y dyn na fedr ddal ychydig o ddyrchafiad bydol heb wadu isder ei safle gymdeithasol ar gychwyniad ei yrfa.

Nid yn aml y llwyddodd efrydydd gyda'r fath gyflymdra, yng ngwyneb y fath anfanteision, ag y gwnaeth Mr. Jackson yng Ngholeg Dewi Sant. Am y ddwy flynedd ddiweddaf o'r *college term*, yr oedd yn gurad Llanbedr, a phasiodd ei *responsions*, *moderations*, a'r *final theology examinations*—gwaith tair blynedd—oll mewn un flwyddyn, ac yr oedd bob amser yn y rhestr flaenaf. Pan aeth i'r coleg gyntaf, yn y flwyddyn 1868, nid oedd ei gydefrydwyr yn coleddu y syniadau uchaf am ei dalentau; mor ddiymhongar ydoedd, fel nad ymfalchïai ynddynt; ond dangosodd, tu hwnt i bob ammheuaeth, pan ddaeth yr amser priodol, ei fod ar y blaen o ddigon ar ei gyfoedion yn ei wybodaeth o'r iaith Seisonig a'i chyfansoddiad. Yn fuan ar ol iddo fyned i'r coleg, eisteddodd yno am arholiad er ennill "*The Skeats prize.*" Yr oedd ysgolheigion blaenaf y coleg i gyd yn cystadlu, ac yr oeddynt braidd yn dirmygu Mr. Jackson yn rhyfygu ymgystadlu â hwy! Anfonwyd y papyrau i'r ddau arholwr—un yn Rhydychain a'r llall yng Nghaergrawnt. Dychwelwyd hwynt yn ol, gan ddyfarnu y *prize* i Mr. Jackson. Creodd hyn y fath siommedigaeth ym mhlith yr ymgystadleuwyr, fel y llwyddasant i gael awdurdodau y coleg i anfon yn ol a gofyn i'r arholwyr ail ystyried eu penderfyniad, gan awgrymu y gallasent fod wedi gwneyd camgymmeriad yn yr enw. Anfonwyd y papyrau yn ol, a dychwelwyd hwy drachefn gyda'r un canlyniad, ac ychwanegodd yr arholwyr y geiriau hyn:—"The composition of Mr. Jackson's papers would do credit to a double first-class man at Oxford." Ar ol hyn, dyrchafwyd Mr. Jackson i binacl uchaf edmygedd pawb a'i hadwaenent ac a glywent am dano.

Ysgrifenodd Mr. Jackson lawer iawn o dro i dro i'r wasg Seisonig a Chymreig, yn farddonol a rhyddieithol. Y mae ei gyfieithad o'r hymn, "The Church's one foundation," yn un o'r cyfieithadau tlysaf yn yr iaith Gymraeg.

Fel pregethwr, ni phetruswn ddyweyd fod Mr. Jackson ar y rhestr flaenaf yng Nghymru. Pwy bynag a'i clywsant a gydsyniant yn y farn hon. Yr wyf yn cofio yn dda ei glywed yn pregethu gyda grym a dylanwad anghyffredin ar y testynau —1. "Pa beth a fyni di i mi ei wneuthur?" 2. "A chanddynt ffurf duwioldeb, ond wedi gwadu ei grym hi." 3. "Oni lanhawyd y deg, ond ym mha le y mae'r naw?" Y mae rhai o'i syniadau tarawiadol yn fywiog yn fy nghof, ac yr wyf yn dychymmygu clywed ei lais peraidd yn swnio yn fy nghlustiau yn barhäus er y dydd y clywais am ei farwolaeth. Os ydyw wedi gadael *MSS.* o'r pregethau hyn ar ei ol, byddant yn werth eu hargraffu.

Nid wyf yn meddwl fod marwolaeth Mr. Jackson yn beth annysgwyliadwy iddo ef ei hun. Yr wyf yn meddwl fod y dyfyniad canlynol allan o lythyr, dyddiedig Gorphenaf 14ydd, a ysgrifenodd ataf mewn atebiad i'm cais yn gofyn iddo bregethu yn ein cyfarfod blynyddol awgrymu hyn. Ceir fod amryw ymadroddion yn y llythyr wedi eu heidaleiddio ganddo ef ei hun, gan awgrymu ei fod yn ammheu y posiblrwydd o'i adferiad i iechyd: "It is with great reluctance that I am compelled to refuse to accept your kind invitation to ———. I could fill page after page with apologies; but it is sufficient to state that I have been at work so hard and continuously for some months, that I must in the interest of my health (which is in a very indifferent state) decline fresh engagements. I really am quite knocked up, and am suffering very very frequently from sick headache. I wish to recruit my strength this summer *if possible*. I am truly glad that your health is improved, and I hope it will continue to do so. . . . I am really very sorry to refuse you, but my present feeling is that I *must*."

. . . . . .

Bûm yn Rose Hill rhyw ychydig o ddyddiau cyn ei farwolaeth, a mawr oedd fy siomedigaeth pan glywais ei fod yn rhy wael i weled neb. A phan yn gwrando ar ei hynaws briod yn dysgrifio ei ddyoddefiadau corfforol yn ei waeledd, daeth geiriau yr hen bennill hwnw i'm cof:

"Pan fyddo'r corff yn dyoddef cur,
A gloewon saethau'r gelyn sur,
O loes i loes rhaid myn'd i lawr
Dan arfau miniog angeu mawr."

Bellach, y mae ein cyfaill anwyl yn gorwedd hyd foreu mawr yr adgyfodiad ym mynwent Eglwys Gadeiriol Llanelwy, yn nyffryn prydferth Clwyd. Heddwch i'w lwch.

"Darfu'r llafur a'r gofalu,
Teithio trwy y gwlaw a'r gwynt,
Wrth bregethu ac arholi
Ysgolheigion Cymru gynt:
Darfu'r llafur, darfu'r cystudd,
Darfu'r peswch, darfu'r boen,
Darfu'r marw, ond ni dderfydd
Ei lawenydd gyda'r Oen.

"Ca'dd yr orsedd, ca'dd y goron,
Ca'dd y delyn yn ei law;
Ac y mae wrth fodd ei galon
Gyda'r dyrfa'r ochr draw:
Caiff ei gorff o'r bedd i fyny
Foreu'r adgyfodiad mawr
Wedi 'i wisgo ar ddelw Iesu,
Yn dysgleirio'n fwy na'r wawr.

"Jackson anwyl! llecha dithau
Mewn dystawrwydd llawn a hedd;
Boed fy neigryn gloew innau
Byth heb sychu ar dy fedd:
Haul a gwynt! mi a'ch tyngedaf,
Peidiwch byth â'i gyffwrdd ef;
Caffed aros haf a gauaf
Nes rhydd udgorn barn ei lef."*

CYFAILL GALARUS.

---

## DEON STANLEY A DADGYSSYLLTIAD YR EGLWYS.

MAE y personau sydd yn cael gair da gan yr Ymneillduwyr yn condemnio dadgyssylltiad yr Eglwys, megys y Parch. John Griffiths, periglor Merthyr, Deon Stanley, ac ereill.

Ychydig amser yn ol, gwrthdystiodd y deon yn erbyn dadgyssylltu yr Eglwys. Nid oes neb wedi ymrwbio cymmaint a'r deon yn yr Ymneillduwyr, ac mae ei enw ef yn boblogaidd ym mhlith y Radicaliaid; ac yr oedd llawer yn meddwl ei fod ef yn ffafriol i'r symmudiad, ond y mae ef o'r diwedd wedi gwrthdystio yn erbyn yr ymosodiad. Ar yr adeg bresennol y mae gwrthdystiad oddi wrth y fath ddyn o'r pwys mwyaf—un sydd wedi sefyll ysgwydd yn ysgwydd wrth weinidogion yr Ymneillduwyr—un ddarfu agor pulpudau Mynachlog Westminster i Max Müller a Dr. Moffat, yr hyn oedd ddim llai na chydnabod yr egwyddor fod pob enwad crefyddol

* Maddeued yr awdwr am y cyfnewidiadau er cymhwyso y llinellau at wrthddrych fy nodiadau.

yn gydradd. Gofyna yr Ymneillduwyr, "Pa fodd y gall ef ar y tir yma wrthwynebu y dadgyssylltwyr?" Y mae ei lythyr at olygydd y *Nonconformist* yn ateb i'r cwestiwn.

Y mae Deon Stanley yn credu fod egwyddor y dadgyssylltiad yn un a fydd yn debyg o niweidio rhyddid, haelioni, a llwyddiant y wlad. Mae ef yn credu y bydd i ddadgyssylltiad fod yn niweidiol i'r egwyddorion y mae yr Ymneillduwyr eu hunain yn goleddu. Pe buasai i'r Ymneillduwyr lwyddo i ddadgyssylltu a diwaddoli yr Eglwys y fory, bydd i'r Eglwys barhau yr un—yn Eglwys y dysgedigion a'r cyfoethogion: bydd i ddadgyssylltiad greu corff eglwysig pwerus, ac ni fydd gan y Senedd ddim un llaw yn ei reoleiddio. Y mae y Libertiniaid yn gofyn am ddadgyssylltiad a diwaddoliad er cael cyfartaledd crefyddol. Fel y sylwa Deon Stanley, bydd i ddadgyssylltiad roddi mwy o allu i'r Eglwys i ychwanegu yr esgobion, a gwneyd y rhwyg rhwng yr Eglwys a'r Ymneillduwyr yn fwy. Nid ydyw yr Ymneillduwyr hyd yn hyn wedi dangos pa fodd yr ŷm ni i gael cydraddoldeb crefyddol; ni wnaiff troi yr esgobion allan o'r Senedd, attafaelu ei gwaddoliadau, a gwerthu adeiladau i'r uchaf ei geiniog hyny byth. Bydd i athrawiaethau yr Eglwys barhau, a bydd awdurdod gan ei gweinidogion eu dysgu; bydd genym Eglwys yr hon fydd yn adlewyrchu teimlad crefyddol y bobl yn fwy nag un Eglwys genedlaethol arall. Mae y Libertiniaid am ein perswadio eu bod yn gyfeillion i'r offeiriaid: cyfeillgarwch Ioab at Amassa ydyw y cyfeillgarwch hwn. Cydio yn eu barfau a'u cusanu, a'r *stiletto* dan eu hasenau ar yr un pryd. Y maent am i'r byd gredu fod yr offeiriaid mewn caethiwed Aiphtaidd, a'u bod am eu rhyddhau: yr offeiriaid eu hunain sydd yn fwyaf addas i farnu. Nid ydynt hwy yn arfer achwyn; nid oes un math o gaethiwed yn hanfodi, ond yn unig ym mhenglogau cymylog y Libertiniaid. Pe mabwysiadir cynllun y dadgyssylltiad, ni fyddai yr offeiriaid ddim mymryn gwell; bydd yn rhaid iddynt fod o dan rhyw lywodraeth neu gilydd. Nid yw y Wesleyaid yn gyssylltedig â'r Llywodraeth, eto y mae eu gweinidogion dan reolaeth y *conference*, a phregethwyr yr Annibynwyr a'r Methodistiaid dan y gymmanfa: nid ydyw eu pregethwyr yn annibynol. Ni fydd gan y genedl un rhan na chyfran yng ngweinyddiad yr Eglwys ar ol ei dadgyssylltu. Y mae y deon yn falch fod genym un sefydliad yn y deyrnas a all dderbyn dynion o wahanol olygiadau duwinyddol o'i mewn.

Y mae Mr. Morley, y dyngarwr hedegog a'r Ymneillduwr politicaidd, mewn penbleth yng nghylch gweithrediadau y cynghor newydd a gaiff ei ddwyn i fodoliaeth trwy y dadgyssylltiad. Bydd gallu politicaidd y cyfryw gynghor yn llawer mwy i ddybenion politicaidd wedi iddo dori ei gyssylltiad â'r Llywodraeth; ar ol hyn ni fydd gan y Llywodraeth ddim un gallu i ymyraeth â'r Eglwys. Bydd ei gweinidogion yn rhydd i fyned i'r Senedd, ac ni fydd un rhwystr iddynt ddefnyddio eu gallu i ddylanwadu ar y cyhoedd. Ni fydd dadgyssylltiad ddim amgen na diddymu hawliau y Senedd i ymyraeth â'r Eglwys, ac amddifadu y plwyfolion o bob gallu, a'i drosglwyddo i gynghorfa eglwysig. Y mae y Deon Stanley yn addef nad ydyw y Libertiniaid am ddinystrio Esgobyddiaeth. Maent yn siarad am yr Eglwys fel pe buasai ddim amgen na chorff o offeiriaid, ac nad oes dim a fyno lleygwyr â'r mater o gwbl. Y maent yn condemnio yr Eglwys o herwydd ei chymmeriad offeiriadol, eto y maent am ei gwneyd yn fwy offeiriadol. Dadleuant nad yw yr Eglwys yn Eglwys genedlaethol; er hyny, gwahoddant y genedl i'w ymddihatru o'i gwaddoliadau, a

gwneyd sect o honi. Er ys blynydd-oedd y maent wedi amgylchynu môr a thir er dwyn y cyfnewidiad hwn oddi amgylch, ond mae yr Eglwyswyr mwyaf rhyddfrydig fel Deon Stanley yn gwrthdystio yn eu herbyn.

Pan y mae cymmaint o ymdrech yn cael ei wneyd er dinystrio yr Eglwys, y mae dynion call, dysgedig, a selog ym mhlith yr Ymneillduwyr yn troi i'r Eglwys. Ychydig ddyddiau yn ol neillduodd y Parch. William Fergus, gweinidog y Presbyteriaid yng Nghaerdydd, oddi wrth yr enwad o herwydd ei fod, ar ol astudio y owestiwn yn drwyadl, wedi dyfod i'r penderfyniad fod cyssylltiad yr Eglwys â'r Llywodraeth yn ysgrythyrol. Yn ol yr arfer gyffredinol, cyhuddir Mr. Fergus o ymuno â'r Eglwys Sefydledig.

## FFRYNDIAU GALLUOG.

Ffryndiau galluog a pherthynasau uchel a gynnorthwyant yn fynych i godiad gwr i'r lan, ac a gyfranant yn ehelaeth i'w ddyrchafiad; ond y mae amryw enghreifftiau yn y rhai yr holl bethau hyn a wrthryfelasant fel rhwystrau yn ei erbyn—*ipsa sibi obstat magnitudo*,—o blegid mawredd ein hunain a ddichon attal teilwng hunanddyrchafiad, a hwn a gedwir dan draed gan ei drwm bwysau ei hun.

Mae yn dra adnabyddus fod cymmanfa y Cardinaliaid yn eiddigus i'r eithaf i ganiatäu i *Jesuit* lanw y gadair apostolaidd, o blegid fod y tylwyth hwn yn barod yn rhy nerthol a meistrolgar. "*Dignus sed Jesuita est*" oedd ddiareb gyffredinol ym mhlas y Pab o Rufain. Y gwir ydyw, fod dynolryw yn chwennych cadw yn eu llaw rhyw gymmaint o awdurdod a dylanwad hyd yn oed dros y cyfryw rai a ddyrchafant ac a fawrhânt; ac fel hyn y dygwydd fod talentau *mawr*, er wedi eu cefnogi gan berthynasau uchel, nid yn anfynych wedi eu hesgeuluso, er mwyn rhoddi lle i'r rhai sydd yn llai eu pwys, ond yn fwy *defnyddiol;* yn llai eu dyrchafiad, ond yn hawddach eu trin ac yn fwy gwasanaethgar i'w hymgeleddwyr.

Arnodwr.

## GOLWG AR GWRS Y BYD.

Er pan anerchais ddarllenwyr goleuedig a dysgedig yr Haul, yr ydym wedi neidio trwy gylch amser i'r flwyddyn 1876. Mae llawer tro ar fyd wedi cymmeryd lle er dechreu y flwyddyn 1875; y mae llawer lle yn wag—llawer wedi eu symmud oddi ar yr aelwyd, o burlan gafell yr Ion, o'r Senedd, o'r siop, ac o'r gweithdy. Er fod amser yn myned ym mlaen yn gyflym, y mae yr oes yr ŷm yn byw ynddi bron curo yr hen arwr ac hen esboniwr dirgeledigaethau. Mae meddwdod yn cynnyddu mewn rhai parthau o'r wlad yn arswydus, ac mae mwy o arian yn cael eu gwario ar ddiodydd na holl draul Llywodraeth Prydain Fawr. Y mae llawer o'n gwleidyddwyr yn barnu fod yn rhaid cael cyfreithiau mwy caeth er attal y cenllif hwn sydd, meddai Esgob Lichfield, yn difa bywyd crefyddol y genedl. Mae gan Eglwys Lloegr ei Chymdeithas Ddirwestol a Chymmedrol: y mae lle i gredu na wnaiff un act seneddol y meddw yn sobr. Y mae yn rhaid cael rhyw allu moesol i droi dynion i'r iawn ffordd.

Nid oes dim i'w glywed mewn corneli a chapeli ond "dadgyssylltiad Eglwys Lloegr," "cael rhyddid i fyned i fynwent y plwyf i 'focio y ficer.'" Amser braf fydd hwnw pan y bydd y Parch. Sion Siencyn yn cael yr anrhydedd o fyned i'r fynwent a siglo ei ddwrn ar berson y plwyf. Credwch chwi fi neu beidio, ar ol i'r frawdoliaeth hanner crefyddol a hanner politicaidd yma gael myned i'r fynwent, y peth nesaf fydd arnynt eisieu fydd cael myned i'r Eglwys, fel y gwnaeth creaduriaid Cromwel yn

amser y Gwrthryfel mawr. Y mae Ymneillduaeth yng Nghymru wedi newid yn gyfan-gwbl; nid oes dim arddelwad—dim o ysbryd gwir grefydd ym mhulpudau y Sectwyr Yr oedd gan yr hen Ymneillduwyr barch calon i'r Eglwys; yr oeddynt yn hoffi ei gweled yn llwyddo, ond mae yn hollol wahanol yn awr—"I lawr â hi, i lawr â hi" yw Sibboleth yr oes. Gellir meddwl nad oes dim eisieu pregethu Crist a'i Groes; y mae politiciaeth yn ddigon i bob peth: politiciaeth yw rheolau sylfaenol crefydd llawer o bregethwyr politicaidd yr oes. Dywedir nad ŷm yn cael digon o ryddid yn awr; nid oes dim un genedl yn mwynhau cymmaint o ryddid. Y mae y cenedloedd yn gwneyd fel y gwelont yn dda yng ngolwg eu hunain; nid oes neb yn eu haflonyddu, ac mae y Sectau yn amlhau; a dyn a ŵyr pryd y bydd iddynt attal. Y mae sect arall newydd ddyfod allan dros y nyth, sef y Christadelphiaid, yr hon sydd yn gwadu anfarwoldeb yr enaid a chosp mewn byd arall—sect yn tarddu allan o sect, sism o sism. Dyma'r ffrwythau sydd yn tyfu ar yr Upas sismaticaidd. Y maent am gael cydraddoldeb crefyddol; pa faint o amser y byddai i'r cydraddoldeb hwn barhau? "Trechaf treisied" fyddai hi cyn bo hir: Sanbalatiaid yn gormesu ar eu brodyr gweinion ym mynydd Ephraim. Mi garwn wybod faint gwell fydd y Sectwyr capelog yma ar ol tynu yr Eglwys i lawr. Dim dimai delyn.

Y mae rhyw opiniynau rhyfedd ym mhenau pobl yr oes gonsetlyd hon. Dyna arglwyddes Castell Cyfarthfa fel esampl. Ychydig amser yn ol yr oedd y foneddiges alluog hon yn dadleu y dylid rhoddi rhyw gyfferïau i ddynion ag oedd mewn sefyllfa anwelladwy, i'w cymmeryd o'u poen. Mae hyn yn groes i'r natur ddynol; ac yn awr y mae yr un foneddiges yn dadleu y dylem losgi cyrff ein cyfeillion yn lle eu claddu mewn mynwentydd: y mae hi am i'w llwch gael ei daflu i'r pedwar gwynt. Mae rhyw aeth oer yn rhedeg trwy natur dyn wrth feddwl y bydd iddo gael ei losgi mewn ffwrnes. Yr wyf yn barnu fod corfflosgiad yn groes i'r Ysgrythyr, yn groes i reswm, yn groes i bob teimlad dynol. "Pridd i'r pridd," medd y Gair Dwyfol. Y peth nesaf fydd gwadu adgyfodiad y meirw. Yr oeddwn yn meddwl ein bod yn myned ar ein gwrthol. Defod baganaidd oedd llosgi cyrff dynion; yr oedd mewn bri mawr ym mhlith yr hen Rufeiniaid paganaidd, ac y mae Mrs. Crawshay, a phleidwyr y gyfundrefn hon, am ein paganeiddio a'n cludo yn ol i'r cyfnod mwyaf paganaidd yn hanes y byd. Byddai yn well i Mrs. Crawshay ddechreu y corff-losgiad ar rai o'i pherthynasau ei hun cyn ei gymmeradwyo i ereill. Byddai yn well i ddyn gael ei gladdu wrth gornant y mynydd, a'r awel i suo uwch ben ei fedd, na chael ei droi yn lludw. Nid ydyw hyn ddim ond cellwair efo teimladau dynion.

Dyn rhyfedd yw periglor Merthyr Tydfil; y mae ef yn ddyn galluog, ac yn ddyn a all ddywedyd ei feddwl heb ofni digio un dyn byw bedyddiol. Yr wyf yn edmygu y Parch. John Griffiths am lawer o bethau, ond y mae ef yn myned i eithafion weithiau. Pregetha yn aml ar faterion eglwysig, ac mae ei bregethau fynychaf yn ymddangos yn y papyrau. Condemniodd yn ddiweddar bregethau ei frodyr offeiriadol; nid yw yn eu hystyried ddim gwell na golchion. "Rhydd i bob meddwl ei farn, a phob barn ei llafar;" ac yr wyf finnau yn barnu fod Mr. Griffiths yn myned yn rhy bell. Nid ydwyf yn gwybod dim pa fath bregethau sydd yn cael eu traddodi yn ardal Merthyr; ond yr wyf yn gwybod fod gwell pregethau yn cael eu traddodi yn ein Heglwysi nag sydd yn cael eu pregethu mewn capeli, ac

hefyd yr wyf yn credu na fu gwell talent bregethwrol erioed yn y pulpud Cymreig nag sydd y dydd hwn. Y fath fendith fyddai i'n gwlad pe bai mwy o'r pregethau ardderchog yr ŷm yn glywed yn cael eu dwyn i ymarferiad.

DYLLUAN CWM GLO.

---

## Y DRYSORFA LENYDDOL FRENINOL.

SYLFAENYDD y gymdeithas hon oedd Dafydd Williams, genedigol o sir Aberteifi. Dechreuodd ei fywyd cyhoeddus fel pregethwr yng nghapel Margaret-street, Llundain. Trodd yr achos yma allan yn aflwyddiannus; rhoddwyd y capel i fyny, a gorfu i'r gweinidog ymddibynu ar lenyddiaeth ac addysgu plant. Nid oes dim llawer o'i hanes ar gael fel ysgolfeistr. Ysgrifenodd bedair cyfrol ar Addysg, a chyhoeddodd gyfrol o ddarlithiau ar Egwyddorion a Dyledswyddau Cyffredinol Crefydd a Moesoldeb, a chyfrol ar Hanes sir Fynwy, yng nghyd â gweithiau ereill. Pan oedd ef yn llafurio yn galed ei hun, fe dynwyd ei feddwl at sefyllfa adfydus ei frodyr llenyddol.

Yn 1773 dygodd allan ei gynllun er ffurfio trysorfa lenyddol yn y clwb oedd ef yn perthyn iddo. Cadeirydd y clwb hwnw un amser oedd yr enwog Benjamin Franklin. Canmolodd ef fel ereill, ond nid oedd yn ystyried fod modd i gael arian. "Ni ddiffyg arf ar was gwych;" yr oedd y cynllunydd yn barnu yn amgen. Aeth Williams ym mlaen trwy glod ac anghlod; weithiau yn cael cefnogaeth, a phryd arall yn cael ei ddirmygu. O'r diwedd, fe lwyddodd yn ei amcan. Cafwyd cynnulliad gweddol dda yn y cyfarfod cyntaf, ac ymunodd amryw â'r symmudiad. Cymmerodd llawer o ddadleu le ar y cynllun. Yr oedd Mr. Williams wedi bwriadu fod y drysorfa i gynnorthwyo arlunwyr yn gystal a llenorion. Penderfynwyd fod dwy drysorfa i gael eu ffurfio. Ar ol i'r rhyfel Americaidd fyned heibio, a'r ystormydd politicaidd chwythu ymaith, cafodd y symmudiad fwy o gefnogaeth. Dylanwadwyd ar Mr. Pitt i ffafrio y symmudiad, ond nid oedd gan y prifweinidog ddim hamdden i dalu nemawr o sylw i'r mater. Appeliodd at Fox, Burke, a gwleidyddwyr ereill; ond gwrthodasant, yng nghyd â Syr Joseph Banks.

Am bymtheg mlynedd, hyd y flwyddyn 1788, bu y drysorfa yn nychu; nid oedd dim llawer o haul llwyddiant yn tywynu arni; ac oni buasai dyfalbarhâd ac ymroddiad David Williams, buasai wedi darfod am dani. Yr amgylchiad canlynol a gynneuodd y fflam o'i phlaid:—Cymmerwyd gwr boneddig dysgedig, cyfieithydd cyfrol o weithiau Plato, yn garcharor am swm fechan o arian. Effeithiodd hyn gymmaint arno nes iddo gael ei daro i lawr gan y parlys, a bu farw yn y carchar: ei enw oedd Floyer Sydenham. Yr oedd ganddo ddigon i'w gadw yn fyw, ond nid digon i dalu ei ffordd. Bu amryw farw o eisieu bara, a'r rhai oedd yn cael tamaid yn rhy dlawd i dalu am dano, a gorfod marw rhwng muriau y carchardai. Cynhyrfodd marwolaeth Mr. Sydenham gydymdeimlad mawr. Cymmerodd Mr. Williams fantais i wneyd appeliad dwys at y cyhoedd; ei destyn oedd, "Gwely angeu yn y carchar." Dysgrifiodd mewn pamphled y tlodi a'r trueni oedd llenorion yn ddyoddef, y buasai tanysgrifiad yn ddigon i'w cadw rhag newynu. Tanysgrifiodd wyth o bersonau gini yr un. Am ddwy flynedd ni dderbyniwyd dim ond prin ddigon i dalu am hysbysiadau. Galwyd cyfarfod cyhoeddus o blaid y symmudiad, a chyhoeddodd Mr. Williams gyfrol ar hawliau llenyddiaeth. Fe benodwyd pwyllgor dylanwadol, a daeth y drysorfa yn ffaith. Yr oedd ganddynt ddigon o arian ar ol talu y costau yn 1790 i roddi cymhorth

i ddau awdwr angenus, yr hyn oedd yn annogaeth iddynt i fyned yn y blaen.

Cymmerodd y cyfarfod blynyddol cyntaf le yn 1793, ac o hyn allan adnewyddodd ei nerth, ond yn raddol ac yn aml dan gwmwl: gweithiodd amryw yn selog drosti. Yn yr ail gyfarfod blynyddol, cymmerodd adroddiadau barddonol a miwsig le, a pharhaodd am ddeugain mlynedd. Ym mhlith y beirdd breninol (*laureates*) yr oedd y Cadben Morris, awdwr *Lyra Urbanica*, Mr. Isaac Disraeli, y Parch. Dr. Charles Symmons, a'r beirdd Dyer, Crabbe, Neele, Allan Cunningham, a Mr. Fitzgerald. Gwyddel twymgalon oedd Mr. Fitzgerald. Yr oedd yr olaf yn arfer adrodd ei farddoniaeth. Yr oedd llawer o dalent yn ei gyfansoddiadau; gwnawd llawer o wawd o'r cyfansoddiadau oedd yn cael eu hadrodd, a'r canlyniad fu iddynt gael eu diddymu; ond y mae yn ammheus pa un a fu hyn yn niweidiol i sefyllfa arianol y sefydliad. Yr oedd appeliadau barddonol yn dylanwadu ar y gwrandawyr heb law hyn: yr oedd yn gyfnewidiad. Ar y cyntaf yr oedd tua dwsin o brif aelodau y pwyllgor yn arfer myned ar ol y pwyllgorau i giniawa i *Lincoln's Inn*, yn arwydd y *Freemason's Tavern*. O'r diwedd, galwyd y cyfarfodydd hyn yn Glwb y Drysorfa Lenyddol. Yr oeddynt yn arfer gwahôdd ereill i giniawa, ac nid oedd mis yn myned heibio heb dderbyn tanysgrifiadau newyddion. Llywydd y pwyllgorau am flynyddoedd oedd Syr Benjamin Hobhouse; efe ac Iarll Chichester oedd cyfeillion goreu y sefydliad. Ar ol llawer o drafferth, llwyddwyd i gael siarter. Llanwodd Arglwydd Broughton y gadair am flynyddoedd. Yn 1799 llwyddodd y gymdeithas i gael llywydd ym mherson Ardalydd Bute, a chanlynwyd ef gan Dug Somerset, yr hwn a lanwodd y gadair am 37 o flynyddau. Canlynwyd ef gan Ardalydd Landsdowne, yr hwn a fu farw yn 1863, a phenodwyd yn ei le y pendefig mwyaf llenyddol yn ei oes, sef Iarll Stanhope.

Mae cyfeillion boreuol y sefydliad uchod wedi myned i dir anghof, sef y bedd, a'u lle ni edwyn mo honynt mwy. Nid oes braidd neb yn sir Aberteifi yn gwybod ond y peth nesaf i ddim am ei sylfaenydd; ond mae y gymdeithas yn llwyddo, ac y mae wedi cysuro llawer aelod llenyddol, ac hefyd mae'r drysorfa yn awr yn sefydliad cenedlaethol.

Cyn dechreu y ganrif bresennol, llanwodd y Meistri William a Samuel Salte y swydd o is-lywyddion (*Cato's Little Senate*), a thanysgrifiasant 200p. Cymmerodd Arglwydd Faer Llundain, Birch, yn 1815, ran yn y *drama* o'i phlaid. Hynododd yr Henadur Rowecroft ei hun fel pleidiwr i lenyddiaeth yn 1803, John Reeves yn 1799, y Barwn Bolland yn 1800, Matthew Monk Lewis yn 1801, Syr John Soan yn 1801 a'r Dr. Charles Symmonds a'i frawd John, Mr. James Christie yn 1800, Mr. John Thomas Hope yn 1805, John Dixon yn 1806, y Meistri Longman a J. Briton yn 1813, Syr Henry Ellis yn 1814, John Murray, y cyhoeddwr, yn 1819, Dr. Croly yn 1823, Syr Robert Harry Inglis yn 1828, Mr. Thomas Gaspey, Mr. Andrew Spottiswood, a Mr. William Tooke. Fe gyfranodd Mr. Andrew Strahan, argraffydd y brenin, yn 1822, y swm o fil o bunnau, a gadawodd yr un swm yn 1831 yn ei ewyllys. Yn 1805 daeth Sior y IV. yn un o'i noddwyr, a chyfranodd o fewn pum mlynedd ar hugain y swm o 5455p. Gwaddolodd y gymdeithas freninol â'r swm o 1100p. o'i bwrs preifat. O'r amser hwnw mae rhai o'r teulu breninol wedi cyfranu yn haelionus at y drysorfa. Mor bell a'r flwyddyn 1796, rhoddodd Isiarll Mountmorres hanner can copi o Hanes y Senedd Wyddelig er budd y gymdeithas, a'r Proffeswr Whewell, Archesgob Whateley, ac ereill elw ar werthiad eu

llyfrau i'r gymdeithas. Ym mhlith y cymmynroddion oedd eiddo Mr. Thomas Newton, olynydd diweddaf Syr Isaac Newton, yr hwn a gladdwyd yn Eglwys Gadeiriol Sant Paul.

Claddwyd Mr. David Williams, sylfaenydd y gymdeithas, yn St. Anne's, Soho, yn 78 mlwydd oed, â'r cerfiad canlynol arni:—"Sylfaenydd y Drysorfa Lenyddol. Bu farw Mehefin, 1816, yn nhy cyntaf y gymdeithas yn Gerard-street—y nawddle a greodd yn 1839." Cynnaliwyd iwbili y gymdeithas ym mhen tair blynedd wedi hyny. Fe wnawd ymdrech adnewyddol o'i phlaid dan lywyddiaeth y Tywysog Cydweddog; y prif noddwyr yng nghyfarfod blynyddol y tywysog ydoedd Dug Cleveland, Ardalydd Northampton, Ardalydd Landsdowne, Chevalier Bunsen, a'r beirdd Campbell Moore, Hallam, Washington Irving, a lluoedd ereill sydd wedi myned i ffordd yr holl ddaiar. Yr oedd y tanysgrifiadau yn 1842 yn ddwy fil o bunnau, ac yn 1864 saith yn fwy; cafodd y teitl o "*Royal Corporation of the Literary Fund*" yn y flwyddyn 1842. Cyfranodd y swm o 60,000p. rhwng tri ar ddeg o ymgeiswyr yn 1863.

Y mae sefydliad o'r un natur wedi cael ei sefydlu yn Ffrainc. Clywsom son am sefydlu cymdeithas lenyddol yng Nghymru. Ond pa le y mae? Bu farw y rhan fwyaf o'n llenorion heb gael dim cymhorth ac mewn angenoctyd—Cadvan, Brutus, Ioan Emlyn, Nefydd, a lluaws ereill.

GIRALDUS.

---

## BUGEILIAID EPPYNT.

*Idwal.* Boreu da, fechgyn; beth yw hwna sydd yn dy law di, Ifor?

*Ifor.* Tra yr oeddwn i, er ys ychydig yn ol, yn dyfod i'r mynydd, canfuais ddeilen llyfr ar fy llwybr, ac mi a'i codais, ac yr ydwyf yn ei darllen.

*Sierlyn.* Pa lyfr, moes glywed?

*Ifor.* Nis gwn yn y byd. Dyma i gyd welaf—"Cofiant" ar un tudalen, ac "y Parch. J. Williams" ar y tu arall. Gallaf feddwl, gan hyny, mai "Cofiant y Parch. J. Williams" a all fod yn llawn, ond pa J. Williams nis gwn yn y byd.

*Llywelyn.* Moes glywed rhywbeth o'r cynnwysiad.

*Ifor.* Dyma y peth hynotaf a welaf i yma: "Bu yn hynod lwyddiannus i fedyddio. Yn y flwyddyn 1859, bedyddiwyd dros gant; ac un boreu Sabbath, yn y flwyddyn hòno, bedyddiodd 39 mewn ugain mynyd. Er nad oedd ein brawd yn gorff cryf, eto yr oedd yn hynod o ddeheuig gyda'r gwaith hwn, ac yn cael ei ystyried yn Fedyddiwr da," &c.

*Sierlyn.* Gallaf feddwl mai cofiant un o'r bobl hyny a alwant eu hunain yn "Fedyddwyr" ydyw.

*Idwal.* Gallwn feddwl mai bachgen chwimmwth oedd efe gyda'i waith. Buasai yn llawer o beth i ni gael gwasanaeth gwr o'r fath hyn pan yn golchi y defaid.

*Sierlyn.* Mi dy welais i di cyn hyn yn fachgen pur ysgeiddig pan yn golchi y defaid; ond y mae ammheuaeth genyf a allesit ti olchi rhagor o ddefaid o fath yr hen ddefaid duon yna sydd genyt ti, mewn ugain mynyd.

*Llywelyn.* Pa ham yr ydych chwi yn siarad mor ysgafn a hyna am Fedydd?

*Ifor.* Nid y ni sydd yn siarad yn ysgafn, ond y "Bedyddwyr" ac awdwr y cofiant hwn.

*Sierlyn.* Mae y bobl hyn a elwir "Bedyddwyr" weithiau yn ddifrifol iawn pan uwch ben pwll neu afon; a gallai ambell ddyn o wlad bell, nad yw yn gwybod nemawr ddim am Gristionogaeth, feddwl mai hwy yw y bobl wirioneddol—yr unig bobl sydd yn gwybod dim am y Beibl, a bod difrifoldeb mawr yng nglŷn â'r gwaith o fedyddio.

*Ifor.* Mi welais i cyn hyn bregethwr yn siglo ei ben yn ofnadwy,

gan ddywedyd am ddwysder yr ordinhâd.

*Sierlyn*. O, yr ydwyf fi wedi sylwi er ys blynyddoedd taw y dynion hyny ag sydd yn siarad fwyaf am ddifrifoldeb, yw y dynion sydd yn gwybod leiaf am hyny yn wirioneddol.

*Ifor*. Ië, mae dynion sydd yn son llawer am ryddid heb wybod dim am ryddid gwirioneddol.

*Sierlyn*. Tybia dy fod yn gweled dyn gwan o gorff—dyn llesg iawn fel y mae deilen y cofiant yn ei ddysgrifio—yn sefyll mewn pwll neu afon ac yn bedyddio dau ddyn bob mynyd, a thwysged o'r rhai hyny yn llawer trymach nag ef ei hun, pa faint o ddifrifoldeb, teilwng o'r ordinhâd, all fod yn gydfynedol â'r gwaith?

*Ifor*. Difyrwch ysgafn ydoedd, yn debyg fel y byddwn ni yn golchi y defaid.

*Sierlyn*. Ië yn sicr, dim ond chwareu crefyddol—cellwair ysgafn fel y byddwn ni wrth olchi defaid. Eu bwrw hwynt i'r afon mewn *spree*, ac edrych arnynt mewn difyrwch yn codi draw. Nid oedd y fath fedydd a hyn ond ffair grefyddol—cellwair ysgafn ac annuwiol!

*Ifor*. Gwir a ddywedodd Twm o'r Nant—

"Ond cyn pen blwyddyn gryno
'Roedd y gwalch wedi sychu trwyddo."

Tebyg iawn fod pob un o'r personau a fedyddiwyd gyda'r fath frys cellweirus wedi sychu trwyddynt cyn pen blwyddyn.

*Sierlyn*. Yr ŷm yn gweled weithiau yn y papyrach fod y nifer a'r nifer wedi eu bedyddio ar gyffes o'u ffydd, ac mai newydd ddyfod i'r ardal yr oedd "Bedydd y Testament Newydd;" ac erbyn edrych ar y fath gellwair a hyn, trochi dau mewn mynyd oedd y cyflawniad!

*Ifor*. Yr oedd y Bedyddiwr hwn yn deilwng o gael cydnabyddiaeth am y cynnydd oedd wedi wneyd. Y mae rhywbeth yn chwimmwth iawn yn y dull hwn, yn debyg i *needle-gun* y Prwssiaid!

*Sierlyn*. Ië, rhyw Hercules crefyddol ydoedd. Anaml y mae y fath bersonau yn ymweled â'r ddaiar!

*Ifor*. Hwyrach y bydd rhai cyn hir yn credu ei fod yn cyflawnu gwyrthiau, neu ef allai fod rhai yn credu hyny yn barod.

*Sierlyn*. Cyhoeddwyd llyfr gan hen wr er ys tua thrigain mlynedd yn ol ar fedydd, a dywedodd ynddo fod yr Ysbryd Glân wedi disgyn fel colomenod uwch ben y rhai a fedyddiwyd; ond erbyn chwilio i mewn, nid oedd yno ond colomenod palas cyfagos!

*Ifor*. A gredwyd hyny yn gyffredinol?

*Sierlyn*. Na ddo; ac fe wrthodwyd hyn gan y mwyafrif o'r enwad ar y pryd, ond y mae peth fel hyn yn fwy cuddiedig. Hawdd gellir gyru y werinos i gredu am rywbeth gwyrthiol yn gydfynedol â dyn bychan eiddilaidd iawn yn bedyddio 39 mewn ugain mynyd!

*Ifor*. Digon tebyg fod y gweinidog hwn wedi dywedyd lawer gwaith, gynt a chwedyn, mai dyma yr unig ffordd i'r nefoedd.

*Sierlyn*. A glywaist ti son am yr hen wr a'r hen wraig â'r gwlan du?

*Ifor*. Na ddo i; beth oedd hyny?

*Sierlyn*. Yr oedd ffermwr, nid pell o lanau y Teifi, wedi cymmeryd ei drochi gan weinidog o'r ardal, yr hwn weinidog oedd yn meddu cryn dipyn o arabedd, fel yr oedd yn anhawdd myned tu hwnt iddo; ond nid hir y bu y ffermwr hwn, ys dywed Twm o'r Nant, "cyn sychu trwyddo." Aeth hen wraig wirion, ddiniwed, ag oedd yn arfer byw ar wau hosanau, at y ffermwr hwn i geisio pwys o wlan du er mwyn gweithio par o hosanau i ryw berson neillduol; ond nid oedd gwlan du gyda'r ffermwr i gael, a chynghorodd hi i fyned at weinidog yn yr ardal i ymofyn gwlan da, fod hwnw newydd olchi a chneifio defaid duon. Aeth

yr hen wraig, yn ol y cyfarwyddyd, at y gweinidog i ofyn am y gwlan du. "Pwy ddywedodd wrthych am ddyfod ataf fi?" ebai y gweinidog. "Mr. Hwn-a-hwn," meddai yr hen wraig. "O," ebai y gweinidog, "cerddwch chwi yn ol at Mr. Hwn-a-hwn, a dywedwch wrtho mai un haid o ddefaid duon a olchais i er ys tro hir, ac fe ffodd y rhai hyny oll cyn i mi eu cneifio."

*Idwal.* Defaid naturiol a gwlan du naturiol yr oedd yr hen wraig yn feddwl; ond beth feddyliai y gweinidog?

*Ifor.* Nid oes modd camddeall yr hanes. Meddwl naturiol oedd gan yr hen wraig, a meddwl arallegol, sef y ffermwr ac ereill oedd efe wedi fedyddio, ond yn fuan wedi gadael y gorlan heb iddo ef gael dim o werth y gwlan bugeiliol oddi wrthynt, oedd gan y gweinidog.

*Sierlyn.* Nid oedd yn rhyfedd yn y byd fod y defaid yn gadael y gorlan ar ol y fath fedydd, gan fyned fel y dywedodd Twm o'r Nant,

"Heb fwy argoel credu nag eidion mewn beudy."

*Ifor.* Y mae llawer o lawenydd a gorfoledd sectol yn cael ei ddwyn ym mlaen gan y bobl hyn ar ddydd eu "bedydd."

*Sierlyn.* Yr wyf yn deall fod cryn ddefnydd o'r gwlybyron alcoholaidd yn cael ei wneyd. Aeth crwt o of yn ddiweddar i garu croten oedd newydd ei bedyddio, a chafodd wybod faint o *whisky* a *brandy* oedd wedi ei yfed ar ol newid dillad. Yr oedd y mesur yn fawr iawn, ac yr oedd yno *jolly life* i'w gael.

*Ifor.* Mi glywais innau hyny hefyd, ac i'r ferch ieuanc fod mewn helbul galed o herwydd bradychu yr *achos.*

*Sierlyn.* Ië, math o ddydd llawen, fel ein dydd cneifio ni ar y mynyddau yma, ydyw dydd bedyddio y Bedyddwyr—bwyta ac yfed yn aruthrol, ac yn neillduol yfed—pob crwt a chroten yn cymmeryd glasaid, ac ambell hwdwg trwm, cyfarwydd â'r gwlybyron, yn yfed dau neu dri, ac y maent wedyn mewn hwyl i fyned i'r capel. Bedyddio 39 mewn ugain mynyd a swnia yn rhyfygus tra y pery dim o'r *Cofiant* hwn mewn bod.

---

## Adolygiad y Wasg.

TRAETHAWD AR HYNAF-*iaethau ac Achyddiaeth Llanarth a'r Plwyfi Cymmydogaethol. Gan D. J. Davies.* [*Buddugol yn Eisteddfod Goronog Llanarth, Gorph.,* 1875.] *Caerfyrddin: Argraffwyd gan William Spurrell.* 1875.

DYMA lyfryn hynafiaethol tlws newydd ddyfod allan o swyddfa yr HAUL, ac mae y gwaith yn anrhydedd i'r argraffydd. Mae yn cynnwys cryn lawer o ddefnyddiau hynafiaethol, ond eu bod i raddau yn fyrion. Y mae rhai achresi llawn a gwerthfawr yma. Buasai yn dda genym weled y bywgraffiadau lleol yn llawer hwy; dylasent fod felly. Blasus hefyd fuasai rhai chwedlau llên gwerin. Nid ydym yn cydolygu â'r awdwr am ystyr yr enw Llanarth. Mae yn hawdd iawn i hynafiaethydd ac ieithydd Cymreig weled ystyr yr enw *Mabwynion.* Yr ydym yn meddwl nad yw wedi rhoddi dydd marchnad Llanarth i lawr. Mewn hen almanaciau y mae dyddiau marchnad trefi Cymru ynddynt, ac yn eu plith Llanarth. Ar y cyfan, mae y llyfryn hwn yn werth y wobr yn yr eisteddfod, a'r pris a ofynir am dano, ac yn tra rhagori ar lawer o gynnyrchion eisteddfodol y dyddiau hyn. Gobeithio y ceir ail argraffiad o hono cyn hir, a hwnw wedi ei chwanegu.

---

## Hanesion.

### CLADDEDIGAETHAU O. MORGAN, A.S.

GALLWN yn hawdd ganfod nad ydyw Ysgrif yr Angladdau Ymneillduol ddim amgen na blaen main y cŷn i weinidogion colegol, uchelgais, gweriniaethgar yr Ymneillduwyr, y rhai a alwant eu hunain yn *barchedigion,* gael mewn amser fyned i

mewn i'r Eglwysi plwyfol i draddodi pregethau angladd; ac yn ganlynol i fedyddio, priodi, a chynnal cyfarfodydd lle bynag y byddo y rhan fwyaf o'r plwyfolion yn Ymneillduwyr. Ni fu erioed gais mwy haerllug a gwynebgaled na hwn. Y gwir yw bod y pregethwyr, cefnogwyr Mr. O. Morgan, am reoli y byd crefyddol oll. Y maent yn fwy llywodraethgar nag y bu offeiriaid pabaidd yr Iwerddon erioed —yn marchogaeth y meirw a chrefyddwyr y wlad. Ac yn wir, y mae yn dygwydd yn fynych fod Eglwyswyr yn cael eu claddu ym mynwentydd neu gladdfëydd yr Ymneillduwyr, o blegid bod eu perthynasau yn gorwedd ynddynt, a hyny, yn ddieithriad, gan ryw bregethwr. Yn awr, dylid dwyn ysgrif arall i mewn i'r Senedd i alluogi offeiriaid yr Eglwys i weinyddu, ar y cyfryw achlysuron, yng nghladdfëydd yr Ymneillduwyr, a hyny yn ol trefn ein Llyfr Gweddi Gyffredin. Nid eisieu claddfëydd sydd arnynt, yn ol y *Faner* a'u cyhoeddiadau ereill, ond ennill hawl i'r mynwentydd plwyfol fel "gweinidogion awdurdodedig," ac yn ganlynol i'r Eglwys. Ymgais yw i ennill dadgyssylltiad, heb eu tybio, ar yr ochr dawelaf i'r llong; a phe llwyddent, ni byddai yr holl ysbail yn ddigon i'w boddloni.

### LLANFIHANGEL Y CREUDDYN.

Cymmerodd gwyl dê flynyddol Llanfihangel y Creuddyn le prydnawn dydd Mawrth, Ionawr 18fed, yn yr Ysgoldy Cenedlaethol. Y boneddigesau a ddarparasant ar gyfer yr achlysur, yng nghyd â'r rhai hyny a'u cynnorthwyasant wrth y byrddau, oedd Mrs. a Miss Roberts, Penwern; Mrs. Evans, Miss Griffiths, a Miss Sarah Griffiths, Penuwch Fach; Miss Williams, Ficerdy; Mrs. Jones, Brenan; Miss Jones a Mrs. Morgan, Abermagwr; Miss Davies, Cynon Fawr; Mrs. Rowlands a Miss Evans, Farmer's Arms; Miss Roberts, *The School;* Mrs. Rowlands, Cynon Fach; y Misses Lloyd, Henffordd Arms; Miss Steadman a Miss Jane Steadman, Pendre; Mrs. Edwards, Penlan Uchaf; Mrs. a Miss Davies, Llwyndu; Miss Evans a Miss Winifred Rees, Abertrinant.

Wedi gorphen â'r te a'r bara brith, cliriwyd y byrddau gogyfer â'r cyfarfod adloniadol yn yr hwyr, yr hwn a ddechreuwyd am hanner awr wedi chwech o dan lywyddiaeth y Parch. B. Edwards, ficer y plwyf. Yr oedd hefyd yn bresennol y Parch. Thomas Jenkins, curad Dowlais, a'r Parch. Mr. Davies, Rhymni. Yr oedd yr hin yn ffafriol, ac aeth y cyfan yn ystod y dydd heibio yn foddhaol. Gwobrwywyd mewn llyfrau yn y cyfarfod hwyrol y rhai hyny ag oeddynt wedi adrodd fwyaf yn yr Ysgol Sul.

### IARLL DERBY.

Mae y Radicaliaid yn eu papyrau ac ar eu hesgynloriau yn hoff o ergydio Iarll Derby a'i dad. Y mae yn wir fod cryn lawer o wahaniaeth rhwng y tad a'r mab. Ni fydd i'r olaf ennill iddo ei hun yr enw o Rupert y Ddadl; ac nid oes dim achos i ofni y bydd iddo neidio i ben bwrdd yn un o'r clybiau politicaidd, a thraddodi araith wyllt ar lywod-ddysg. Mae ganddo ef ei briodoliaethau ei hun, ac y mae yn rhaid ei farnu wrth ei deilyngdod.

Yr oedd ei dad yn hoff o ddifyrwch —ei geffylau, &c. Ac ar amserau penodedig, traddodai ei areithiau tanllyd yn y Senedd; ond nid yw ei fab o'r un tueddiadau. Y mae yr olaf yn feddyliwr dwfn; astudia ei areithiau cyn eu traddodi yn y Senedd, a dywedir ei fod yn eu hysgrifenu cyn eu traddodi: yr oedd Bulwer Lytton yn gwneyd yr un peth. Pan yr oedd awenau y Llywodraeth yn nwylaw y Rhyddfrydwyr, yr oedd Iarll Derby yn Rhyddfrydwr: dwylaw Esau ond llais Iacob oedd ganddo. Yr oeddynt yn arfer dywedyd ei fod yn ymgyfeillachu mwy yn y Senedd â John Bright ac ereill na'i blaid ei hun. Ond y maent wedi newid eu barn am dano; y maent wedi cael allan ei fod yn allu yn y Weinyddiaeth, ac y maent yn ceisio ei ddiraddio a'i ddarostwng i lefel gwleidyddwr cyffredin. Y diwrnod o'r blaen yr oedd ef yn siarad ac yn areithio yn Edinburgh, ac ni wnaeth lawer o swn am bryniad Camlas Suez. Cyhuddir ef o ystyried y pryniad ond peth dibwys, a bod ofn arno i siarad ar y pwnc. Maent yn gwneyd ceffyl brethyn o Iarll Derby i ergydio y Weinyddiaeth Geidwadol: y mae yr iarll yn ddoethach dyn na rhoddi gwybodaeth am faterion o'r natur yma, fel y mae arfer y dynion yma. Mae y llywod-ddysgawdwyr Rhyddfrydol o un fryd yn edmygu ein gweinidog tramor; ac mae yn amlwg, er cyfarthiad y Radicaliaid uchraddol, fod y wlad yn cael ei boddloni yng nghyfansoddiad y Weinyddiaeth, a bod llong y Wladwriaeth yn ddiogel yn eu dwylaw.

### LLANDYSSUL.

*Cyfarfod Calan Hen.*

Daeth wyth Ysgol Sul eglwysig yng nghyd yma eleni i Gyfarfod Calan Hen. Mae y cyfarfod hwn wedi ei sefydlu er ys blynyddau, ac y mae yn magu nerth, bywyd, ac ymdrech yn y to ieuainc eglwysig. Yr oedd yn dda anghyffredin genym weled prif ddynion llawer plwyf yn cymmeryd y fath ddyddordeb yn Ysgolion Sul y gwahanol blwyfi, ac yn rhoddi eu presennoldeb yn eu plith ar y dydd nodedig hwn. Yr oedd y Gwasanaeth yn

gorawl: undonwyd gan y Parch. W. Rees, Llangynllo, a darllenwyd y llithiau gan y Parch. Owen Jones, Llangeler. Yr oedd Miss Ellen Jenkins, Ficerdy, yn chwareu yr *harmonium* ar yr achlysur. Unai y gwahanol gorau yn y Gwasanaeth dan arweiniad Mr. D. Peters, Aberbanc.

Cymmerwyd rhan yn y gwaith gan yr Ysgolion Sul canlynol:—Bangor Teifi, St. Barnabas, Llanfihangel ar Arth, Capel Mair, Llangeler, Sant Dewi, Sant Ffraid, a Llandyssul.

Adroddwyd yr Epistol cyntaf at y Thessaloniaid, ac yna dechreuwyd eu holi, y naill ar ol y llall, hyd nes gorphen yr epistol. Arholwyd hwynt gan y Parchedigion W. G. Jenkins, Llandyssul; J. Sinnett, Bangôr Teifi; W. Ress, Llangynllo; Owen Jones, Llangeler; J. Williams, Llanfair Orllwyn; J. Jones, Llanfihangel ar Arth; a D. Richards, Llandyssul.

Yr oedd hefyd gan y gwahanol ysgolion plwyfol anthemau darparedig ar gyfer yr wyl. Awd trwy y Gwasanaeth, yr adrodd, yr ateb, a'r canu yn hynod dda gyda'u gilydd, ac yr oeddynt, fel y dywedai y Parch. J. Sinnett wrth derfynu, yn haeddu uchel ganmoliaeth. Ar y terfyn cafwyd anerchiad bywiog a phwrpasol gan Reithor Bangor Teifi. Yna diweddwyd yr wyl trwy uno yn yr Hen Ganfed.

MARWOLAETH Y PARCH. HUGH OWEN (MEILIR), LLANERCH Y MEDD.

Bu farw y pregethwr, bardd, a beirniad enwog hwn yn y Rheithordy, Llanerch y Medd, ar foreu y Nadolig, yn y 54ydd flwyddyn o'i oed. Adnabyddid ef fel un hynod ym mhlith beirdd a llenorion Cymru. Un gwresog oedd o blaid yr eisteddfodau, a bu yn wasanaethgar iawn fel ysgrifenydd yn eisteddfodau breiniol Aberfraw yn 1849, a Dinbynch yn 1860. Cafodd y gradd o Archdderwydd, a bu yn un o'r beirniaid yn eisteddfodau Porthmadog, Bangor, a Llanerch y Medd. Ganwyd ef yn Rhuthin, a chafodd ei addysg foreuol yn Ysgol Ramadegol y dref hòno, a symmudodd oddi yno i Rydychain. Cydnabyddid ef fel ysgolhaig tra medrus, ac ysgrifenydd Cymreig campus a dilwgr. Mae yn gadael ar ei ol ddau o feibion, John Tudor a Charles William, un ferch, heb law ei weddw Mrs. Owen, yr hon sydd fam i'r Parch. Aaron Roberts, periglor Llan Newydd, ger Caerfyrddin.

ESGORODD,

DAVIES—Ion. 19, priod y Parch. D. Davies, ficer Llangorwen, ar ferch.

BU FARW,

DAVIES—Ion. 4, Mr. William Davies, rhaffwneuthurwr o'r dref hon, 63 oed.

GWYTHER—Rhag. 27, yn Hwlffordd, ar ol cystudd hir, Mr. James Gwyther, dros lawer o flynyddau yn oruchwyliwr yn Ariandy y Meistriaid Wilkins a'u Cyf., Caerfyrddin, ac yn ddiweddar o'r Ariandy Gwladol a Chenedlaethol o'r un dref, 57 oed.

HAMILTON—Ion. 12, yn ei gartref, 6, Portman-Square, Llundain, Syr James John Hamilton, Barwnig, yn y 74ydd flwyddyn o'i oed. Dyn o bwys a defnyddioldeb mawr oedd Syr James, fel ynad dros siroedd Caerfyrddin, Penfro, a Middlesex, a theimlir ei golled yn neillduol yng Nghaerfyrddin, lle yr oedd ei ddoniau amryfal yn wastad yn barod mewn pob achos da, pa un ai yn grefyddol neu yn wladol.

MORRIS—Rhag. 26, yn Abertawy, ar ol afiechyd hirbarhâus, Mr. William Morris (Gwilym Tawy), genedigol o'r dref hon, 59 oed.

PEDILINA—Ion. 6, yn Heol y Bont, Mr. Vitori Pedilina, Italiad a ymsefydlodd yn y dref hon tua 40 mlynedd yn ol, 79 oed.

THOMAS—Rhag. 28, yn Wood's Row, Caerfyrddin, Mr. John Thomas, argraffydd, 70 oed. Bu yn glaf am amser maith, ond brysiwyd ei farwolaeth trwy gwympo ar risiau ei dy.

Y LLITHIAU PRIODOL, CHWEFROR, 1876.

| Chwef. | Suliau a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 2 Mer. | Puredigaeth Mair Forwyn | Eosodus xiii. 17 [3<br>Mat. xviii. 21 hyd xix. | Hag. ii. hyd 10<br>Act. xx. hyd 17 |
| 6 Sul | 5 Sul gwedi'r Ystwyll | Diar. i.<br>Mat. xxi. hyd 23 | Diar. iii. neu viii.<br>Act. xxi. 37 hyd xxii. 23 |
| 13 Sul | Septuagesima | Gen. i. a ii. hyd 4<br>Dad. xxi. hyd 9 | Gen. ii. 4, neu Iob xxxviii. [6<br>Dad. xxi. 9 hyd xxii. |
| 20 Sul | Sexagesima | Gen. iii.<br>Mat. xxvii. 27—57 | Gen. vi. neu viii.<br>Rhuf. iv. |
| 24 Iau | St. Mathias, Ap. a Mer.* | 1 Sam. ii. 27—36<br>Marc i. 21 | Esai xxii. 15<br>Rhuf. viii. hyd 18 |
| 27 Sul | Quinquagesima | Gen. ix. hyd 20<br>Marc iii. 13 | Gen. xii. neu xiii.<br>Rhuf. ix. 19 |

* Credo Sant Athanasius i'w arfer.

CARMARTHEN:
Printed and Published by WILLIAM SPURRELL, at his Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Monday, the 31st of January, 1876.

# YR HAUL.

## Cyfres Newydd.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIF. 231. MAWRTH, 1876. CYF. 20.

## CYFRES FER O BREGETHAU ER AMDDIFFYNIAD Y FFYDD.

### I.—GWYRTHIAU.

"Ha! wŷr Israel, clywch y geiriau hyn: Iesu o Nasareth, gwr profedig gan Dduw yn eich plith chwi, trwy nerthoedd, a rhyfeddodau, ac arwyddion, y rhai a wnaeth Duw trwyddo Ef yn eich plith chwi."—ACTAU ii. 22.

LLAWER gwrthddadl a gyfodir gan yr anffyddiwr yn erbyn ein crefydd. Weithiau gwada wirionedd yr hanesiaeth dwyfol, pryd arall cyhudda ein cred o fod yn groes i reswm. Yn ofer. Po mwyaf y chwilir i mewn i'r gwrthddadleuon, mwyaf amlwg y dysgleiria gwirionedd yr hanes; mwyaf cysson â rheswm yr ymddengys ffydd. Rheswm ydyw y gynneddf trwy yr hon y rhagora dyn ar bob creadur daiarol: llygad yr enaid oddi mewn yw hi. Mae o'r pwys mwyaf, gan hyny, i ni fod yn argyhoeddedig yn ein meddyliau nad yw ffydd, er yn fynych uwch law rheswm, eto un amser yn groes i reswm neu yn afresymol. Cymmeraf mewn llaw yn ostyngedig y prawf o hyn mewn un cyfeiriad, ac ymdrechaf, hyd eithaf fy ngallu, a thrwy help pob peth o fewn fy nghyrhaedd,* gadarnhau ein ffydd mewn atebiad i'r gwrthwynebiad a gyfodir nid yn anfynych yn ein dyddiau ni i resymoldeb credu yng ngwyrthiau yr Ysgrythyr. Llwydded yr Ysbryd yr amcan, a maddeued Duw bob diffyg.

Crefydd wedi ei sylfaenu ar *hanesyddiaeth* yw crefydd yr Ysgrythyr; mae yn gorphwys ar ffeithiau hanesyddol, ac nis gellir ei gwahanu oddi wrth y ffeithiau heb ei dinystrio. Fel y syrthia mur, os symmudir y sylfaen, felly syrthia ein crefydd os dymchwelir y ffeithiau. Mae crefydd yr Hen Destament a chrefydd y Testament Newydd—y mae Iuddewaeth a Christionogaeth—y naill fel y llall yn ymddibynu ar ffeithiau hanesyddol: mae y ffeithiau hanesyddol yn rhan anhebgorol o'r grefydd.

Mewn *Iuddewaeth* y mae galwad Abraham, y myned allan o'r Aipht, gorchfygiad Canaan, sefydliad y freniniaeth o hanfod crefydd yr Hen

* Cyfeirir yn benaf at y llyfrau canlynol:—Morley's *Bampton Lectures*, 1865; Tyndall's *Miracles and Special Providences* in *Fortnightly Review*; Butler's *Analogy*; Mansell's *Essay on Miracles;* ac yn neillduol George Warington's *Can we believe in Miracles?*

Destament; os nad ffeithiau hanesyddol a ddysgrifir o dan y teitlau hyn, mae Iuddewaeth yn annealladwy a'u bodoliaeth yn anesboniadwy. Nid rhywbeth fel y Diwygiad Protestanaidd, neu y gorchfygiad Normanaidd yn hanes Prydain ydynt. Pe gellid profi na chymmerodd y gorchfygiad Normanaidd le erioed, ac na fu erioed y fath ffaith a'r Diwygiad Protestanaidd, buasem yn colli esboniad ar lawer o bethau a welwn yn bodoli yn bresennol, ond ni chyfodai unrhyw ganlyniadau ymarferol i ni fel gwlad, pe nas gallem gredu mai trwyddynt y daethom i feddiannu ein cyflwr neu ein hamgylchiadau presennol; buasai dymchweliad yr hanes am yr amgylchiadau hyn yn ein gadael yr un pobl. Nid felly gyda'r *Iuddew.* Credai ei fod o had neillduol ac etholedig—had Abraham; ei fod yn byw o dan ddeddfau y ddwy lech mewn gwlad neillduol, yn dysgwyl am adferiad gorsedd Dafydd i Fab Dafydd: dyma brif byncíau ei gredo. Os nad oedd y ffeithiau yn wir—os na fu y fath beth a galwad Abraham gan Dduw, a rhoddiad y ddwy lech i Moses, a theyrnasiad Dafydd—nid oedd sylfaen i'w grefydd, na gwirionedd yn perthyn iddi

Yn yr un modd drachefn gyda golwg ar *Gristionogaeth;* mae hi yn gorphwys ar ffeithiau hanesyddol. Os nad yw y ffeithiau hyn yn wir—os dychymmygol neu anwir yw yr hanes am danynt, dychymmygol ac anwir yw cred Cristionogion. Genedigaeth Crist, ei weinidogaeth, ei farwolaeth, ei adgyfodiad, ei esgyniad i'r nef, a disgyniad canlynol yr Ysbryd Glân, yw sylwedd Cristionogaeth; os nad ydynt yn ffeithiau hanesyddol, ofer yw ein ffydd a disail yw ein crefydd. Pob peth sydd yn briodol i Gristionogaeth, pob peth a'i gwahana oddi wrth bob crefydd arall, ac a'i gwna yr hyn ydyw, sydd yn deillio oddi wrth y ffeithiau yma. Tynwch hwynt allan o Gredo yr Apostolion, a pha beth sydd yn aros—pa beth sydd yn weddill? Mae ynddo y bod o Dduw, a dichon hefyd y dyledswyddau moesol a darddant o angenrheidrwydd oddi ar y syniad mai llywodraethwr cyfiawn yw y Creawdwr; ond nid yw y pynciau hyn yn nodweddu Cristionogaeth yn unig. Mae y bod o Dduw, ei gyfiawnder, ei ddaioni, a'i gariad, ac angenrheidrwydd bywydau moesol, yn rhan o gredoau ereill (er i fesur fwy ammherffaith) yn gystal ag o Gristiongaeth. Y mae deistiaeth yn cynnwys yr erthyglau hyn, ac yn wir dyma bron y cwbl a wna gynnwys. Eglur ydyw, gan hyny, mae y ffeithiau perthynol i fywyd a pherson Crist, ac anfoniad yr Ysbryd Glân, ydyw nodau gwahaniaethol Cristionogaeth. Ar y ffeithiau hyn, fel ffeithiau hanesyddol a gwirioneddol, y mae yn sefyll, mor belled ag y mae yn grefydd arbenig a neillduol ym mhlith crefyddau y byd. Os gellir dymchwelyd gwirionedd y ffeithiau hanesyddol, mae Cristionogaeth yn colli ei sylfaen.

Deuwch eto gam ym mlaen. Nid yn unig ar ffeithiau hanesyddol y gorphwys ein crefydd, ond hefyd ar ffeithiau hanesyddol *gwyrthiol.* Y mae yr hanesyddiaeth a'r gwyrthiau wedi eu cydblethu ac yn anwahanol, canys gwyrthiau yw y prif ffeithiau. Gwyrthiau ydyw y prif ffeithiau yn hanes Iuddewaeth; gwyrthiau ydynt hefyd yn hanes Cristionogaeth yn yr Ysgrythyr Lân. Yn y wyrth y mae gwerth crefyddol y ffaith a gofnodir yn yr hanes yn gynnwysedig. Aeth Abraham allan o'i wlad ei hun, cynnyddodd ei hiliogaeth yn yr Aipht, diangasant oddi yno, gorchfygasant Canaan, meddiannasant hi am amser maith; dyna ffeithiau hanesyddol, ond yr oedd eu gwerth crefyddol yn ymddibynu ar eu bod wedi cymmeryd lle trwy orchymmyn a threfniad cyfammodol Duw â'r bobl neillduol hyn Er enghraifft, yr oedd mudiad Abraham yn bwysig fel syl-

faen Iuddewaeth; yr oedd y ffaith hanesyddol yn meddiannu gwerth crefyddol o herwydd fod Duw wedi galw arno i wneuthur hyny i'r dyben o fod yn dad pobl etholedig a breintiedig. Felly gyda ffeithiau ereill sydd yn geryg conglau i'r ffydd Iuddewig.

Nid gwahanol, ond mewn gradd uwch eto, yr ymddibyna Cristionogaeth ar wyrthiau. I ryw ddyn ymddangos yng ngwlad Canaan yn nyddiau Tiberius Caisar fel Rabbi Iuddewig, a elwid Iesu o Nasareth; iddo fyned oddi amgylch gan bregethu i'r bobl a chynnorthwyo y claf a'r blinderus mor belled ag y gallai; iddo o'r diwedd gael ei ddienyddio yn Ierwsalem fel dryg-weithredwr—pa werth sydd yn y ffeithiau hyn fel sylfaen i grefydd? Na, o herwydd mai nid dyn cyffredin oedd Iesu o Nasareth; o herwydd ei fod trwy ei enedigaeth gwyrthiol yn Fab Duw ac yn Fab y Dyn; o blegid iddo brofi trwy ei weithredoedd nerthol mai Efe oedd y Messïas addawedig; o herwydd iddo nid yn unig farw ond adgyfodi, ac wedi adgyfodi, esgyn i'r nef ac anfon oddi yno yr Ysbryd Glân i ddyddanu a thywys ei ganlynwyr—o herwydd, meddaf, y ffeithiau gwyrthiol hyn mewn cyssylltiad â Iesu Grist, mae ei enw wedi dyfod yn nod gwahaniaethol, a'i fywyd a'i Berson yn sylfaen y grefydd fwyaf urddasol, ac hyd yn oed, yn ol tystiolaeth gelynion, y grefydd fwyaf dylanwadol a welodd y byd erioed. Gwyrthiau, a dim ond gwyrthiau, sydd yn gwneyd Cristionogaeth yn grefydd wahaniaethol a dylanwadol: "Os Crist ni chyfodwyd, ofer yn wir yw ein pregeth ni, ac ofer hefyd yw eich ffydd chwithau; yr ydych eto yn eich pechodau."

Mae gwrthwynebwyr crefydd Crist yn gweled fod cyssylltiad anwahanol rhwng y gwyrthiau a ffydd yr Ysgrythyr. Am hyny, ymosodant mor fynych ar yr hyn sydd wyrthiol yn yr hanes er mwyn gwrthbrofi ei wirionedd, a dymchwelyd ein cred yn y llyfr ac yn y grefydd. Os gallant unwaith ddangos fod gwyrthiau yn afresymol, hawdd fydd iddynt brofi nad yw yr hanes yn deilwng o'n cred. Dyma ddadl bwysig o'n blaen—yn galw am driniaeth bwyllog.

Cyn manylu ar y gwrthwynebiad a wneir i'r rhesymoldeb o gredu mewn gwyrthiau, neu, mewn geiriau ereill, ar y gosodiad ei bod yn ammhosibl credu mewn gwyrthiau ar un cyfrif, gall fod yn werth sylwi wrth fyned heibio, er fod gwyrthiau yn hanfodol i Gristionogaeth, eto mai nid gwyrthiau yw yr unig brofion a feddiannwn dros wirionedd yr hanes ysgrythyrol. Y mae treigliad amser a beirniadaeth adolygiadol (*literary criticism*) yn chwanegu o brofion allanol a mewnol dros wirionedd yr hanes. Yn *allanol* i'r Ysgrythyr ei hun, mae hanesiaeth cydfynedol—cofgolofnau — cerfysgrifau, daiaryddiaeth—hynodion neillduol yr Aipht, Canaan, Assyria, Babylon—yn cyd-dystiolaethu i'r gwirionedd; ac hyd yn oed yn yr eithriadau lle gall fod y tystiolaethau hyn unwaith fod wedi ymddangos yn groes, mae darganfyddiadau ac ymchwiliadau newyddion (megys yn yr hanes am Belsassar yn yr Hen Destament a'r hanes am y trethiad Rhufeinig dan Cyrenius yn y Newydd) wedi troi allan yn gadarnhâd annysgwyliadwy i'r Ysgrifeniadau Dwyfol. Yn *fewnol* y mae adolygiad llythyrenol o'r Ysgrythyr; cymhariaeth o un rhan â rhan arall (pan y dygir ym mlaen gan ddynion galluog a diduedd); cydsyniadau anfwriadol; a natur, arddull, a sylwedd yr ysgrifeniadau eu hunain, yn darparu tystiolaethau pwysig o blaid gwirionedd yr hanes. Nid bychan chwaith yw y prawf a ddeillia oddi wrth y llinell hir o brophwydoliaeth sydd yn cyssylltu un oes â'r un ddyfodol, ac yn dadblygu llinynau cynnyddol ac olynol y grefydd, nes y cylymir hwynt mewn

cwlwm annattodadwy yng ngwaith a Pherson Crist. Ni ddylid chwaith gadael dros gof gyssondeb a dyfnder y dduwinyddiaeth a ddadblygir yn fwy fwy eglur o oes i oes. Edrychwch eto ar berffeithrwydd anghymharol cymmeriad yr Iesu, mwy perffaith, yn ol caniatâd anffyddwyr eu hunain, nag a ddychymmygodd Plato nac unrhyw awdwr arall erioed yn ehediad uchaf ei ddarfelydd. Nid bychan chwaith ydyw nerth y dystiolaeth a ddeillia oddi wrth effaith ddylanwadol ein crefydd ar gymmeriad ei derbynwyr ym mhob oes o'r dechreuad hyd yn awr. Dyma resymau cedyrn yn galw am ystyriaeth. Rhydd yr Ysgrythyr gyfrif am eu bodoliaeth trwy yr egwyddor o wyrth. Y mae achosion goruchnaturiol wedi bod ar waith, medd yr hanes; ac mae yr esboniad yn amlwg yn un digonol i roi cyfrif am y canlyniadau.

Ond os nad ydyw gwyrthiau yn ddichonadwy o gwbl—os yw yn ammhosibl credu mewn gwyrth ar unrhyw dystiolaeth nac ar un cyfrif—mae rhaid chwilio am ryw esboniad i'r ffeithiau hanesyddol yn annibynol i wyrthiau. Rhaid dad-ddyrysu yr hanes sydd wedi ei gydwau a'i gydblethu â'r gwyrthiol. Trwy wneyd hyn mae anhawsderau adnewyddol yn cyfodi i'n cyfarfod, ac ni ddylid gadael o'r golwg fod esboniadau y rhesymolwr (*rationalist*) yn creu anhawsderau ar ffordd gwrthod gwyrthiau; ïe, haeraf, anhawsderau mwy na'r rhai sydd yn gynnwysedig yn eu derbyniad. Fe ddywedir fod cynnydd gwybodaeth a darganfyddiadau gwyddoniaeth yn gwneuthur cred mewn gwyrthiau yn fwyfwy anhawdd. Fe ddichon eu bod; ond os yw yr anhawsderau ar ffordd ffydd yn cynnyddu, nac anghofiwn chwaith ar y llaw arall fod treigliad amser, a chynnydd gwybodaeth, ac ymchwiliad mwy manwl yn chwanegu y profion cadarnhaol dros wirionedd yr hanes ysgrythyrol, ac am hyny mae anhawsderau anffyddiaeth a'r anhawsderau a ddeilliant oddi wrth wrthod yr hanes yn cynnyddu hefyd. Os oes anhawsderau ar ffordd credu mewn gwyrthiau, mae anhawsderau hefyd mwy ar ffordd gwrthod y profion drostynt Os dywed y gwrthwynebwr fod y dystiolaeth dros wyrthiau yn fwy ammhëus i ni yn awr nag ar y dechreu o herwydd pellder yr amser, rhaid cofio ar y llaw arall fod *amser* hefyd yn chwanegu tyst newydd, sef *effeithiau* gwyrthiau yng nghynnydd a buddugoliaeth yr Eglwys Gristionogol Mae yr effeithiau yn arwyddo yr achos. Os dyweda y gwrthwynebwr y gall roi cyfrif hawdd a rhesymol am wyrthiau yn yr hanes ysgrythyrol, ac yn enwedig yn yr efengylau, mae bron yn ddigon i gymharu yr hyn a ddyweda un rhesymolwr ar ol y llall am ddychymmygion eu gilydd i ddangos mor ddisail ac anghysson, yw eu rhesymau. Mae y gosodiadau a wneir mai nid yr efengylwyr oedd awdwyr yr efengylau, ond ysgrifenwyr mwy diweddar; a bod yr ysgrifenwyr hyn wedi derbyn eu gwybodaeth trwy draddodiad, yna wedi cyfnewid a helaethu yr hynod a'i wneyd yn rhamantus a goruchnaturiol, neu wedi dychymmygu amgylchiadau ffugiol i addurno a hynodi yr hanes gwirioneddol;—mae gosodiadau o'r natur yna, meddaf, nid yn unig yn gwneyd yr hanes yn ddiymddiried, ond hefyd yn achosi anhawsderau ereill a mwy ar ffordd derbyn yr haeriadau hyn. Canys os oedd yn hawddach i ysgrifenwyr ym mhell ar ol yr amser helaethu, a chyfnewid, a dychymmygu, a goreuro yr hanes traddodiadol—os yw traddodiad yn naturiol yn helaethu a mawrygu gyda threigliad amser: mae treigliad amser hefyd, a phellder y cofnodwyr oddi wrth y ffeithiau, yn eu gwneyd yn anhawdd deall pa fodd y gallai hanesion dychymmygol a ffugiol am wyrthiau gael derbyniad ym mhlith cymdeithasau Cristionogol, gwasgaredig a chynnyddol, gymmaint o amser wedi

eu sylfaeniad a'u ffurfiad; a gwyddom fod y pedair Efeugyl wedi cael derbyniad cyffredinol trwy y byd Cristionogol cyn diwedd yr ail ganrif fel ysgrifeniadau gwirioneddol ac awdurdodol. Y mae cyssondeb y pedair Efengyl fel tystion annibynol—y nodau amrywiol o wirionedd a gynnwysant, ac yn enwedig yr esboniad dealladwy a roddant am sylfaeniad a chynnydd Cristionogaeth—yn esgor ar anhawsderau aneirif cyn gynted ag yr ymdrechir gwadu y gwyrthiol sydd yngyssylltedig â'r hanes, a chyn gynted ag y priodolir y llyfrau i neb, ond yr awdwyr y derbyniant eu henwau oddi wrthynt. Tynwch allan y gwyrthiol, ac ystyriwch ef fel creadigaeth ysgrifenwyr diweddar, ac yna nid oes dim yn yr hanes i esbonio yn ddigonol darddiad a chynnydd Cristionogaeth. Yn yr un modd gyda golwg nid yn unig ar yr Efengylau, ond yn yr holl Ysgrythyr; os gwada neb wirionedd y gwyrthiol yn y Beibl fel peth ammhosibl ac afresymol ei gredu, mae yn rhaid iddo chwilio am ddychymmygion i esbonio yr hanes hebddynt; bodolaeth y llyfrau; y dystiolaeth o'u plaid; bodoliaeth Iuddewaeth; effeithiau Cristionogaeth; hanesiaeth y canrifoedd cyntaf, dylanwad Cristionogaeth eto ar y gwledydd mwyaf goleuedig; y warogaeth sydd yn ei chanlyn; ei chynnydd parhäus. Caniatëwch fod y gwyrthiol yn bosibl ac yn ddichonadwy, ac yna mae yr holl brofion ereill a fodolant o blaid Cristionogaeth yn dyfod i mewn i gadarnhau gwirionedd yr hanes.

Mae yn amlwg oddi wrth a ddywedwyd, gan hyny, fod y cwestiwn a ydyw yn bosibl credu mewn gwyrthiau yn ein cyfarfod ar y trothwy ac yn teilyngu ein hystyriaeth; ac yn wir, ein hystyriaeth hir, cyn y gellir pwyso a chyfarfod nerth y gwrthddadleuon. Yn y bregeth nesaf awn ym mlaen i ystyried beth a feddylir wrth wyrth, ac yn fwy neillduol wrth wyrth ysgrythyrol. Yn awr, ni wnaf ond gwneyd sylwad ymarferol wrth derfynu.

Os dywedwyd digon yn fras fel yna am rai o'r profion a fodolant o blaid gwirionedd ein crefydd. mae yn rhesymol i ni feddwl fod ei derbyn neu beidio yn beth pwysig i ni yn y bywyd presennol. Mae geiriau y testyn yn dwyn ger ein bron yr Hwn a brofwyd yn Iachawdwr a'r modd y profwyd: "Ha! wŷr Israel, clywch y geiriau hyn: Iesu o Nasareth, gwr profedig gan Dduw yn eich plith chwi trwy nerthoedd, a rhyfeddodau, ac arwyddion." Os ydyw'r profion yn safadwy, y mae perygl ofnadwy mewn gwrthod; os nad ydynt, nid yw'r perygl o gredu yn debyg gymmaint. Dywedodd yr anffyddiwr, yr atheist, un diwrnod wrth Gristion ieuanc, "Os nad oes byd arall, mor ffol yw eich ymddygiad yn ymwadu â phob mwyniant, yn treulio amser mewn gweddïau, yn gwasanaethu Duw nad yw hwyrach yn bodoli." "Yn y gwrthwyneb," atebai'r Cristion yn ddiysgog ac yn ddoeth, "*os* oes byd arall, pa le byddwch chwi, yr anghredadyn?"

*Pregethwyd yn Eglwys Sant Ann, Llandegai, Hydref* 13, 1872.

---

## Y SEREN.

O'R fath dymmestlog noswaith ddu!
Cymylau tywyll ar bob tu,
Taranau cryfion uwch fy mhen,
A'r mellt yn fflachio yn y nen.

Y mae y cadarn gorwynt mawr
Yn curo'r dderwen hyd y llawr,
A'r grymus genllif gyda nerth
Yn rhuthro dros y creigiau certh.

Minnau'n flinedig ar fy nhaith,
Y nos yn ddu a'r ffordd yn faith;
Ac yn y 'storm 'rwy'n codi 'mhen,
Gan ddyfal syllu tua'r nen.

Ond nid oes unrhyw seren gu
I'w gwel'd yn unman fyny fry,
Cymylau welaf ym mhob man,
A hyn sy'n tori'm calon wan.

Ond clywch! mae gosteg yn y nef—
Y daran gras a beidia'i llef,
Y cwmwl du a gilia draw,
Y gwynt, y fellten chwyrn, a'r gwlaw.

A! dacw, dacw seren wen
Yn siriol wenu yn y nen;
'Nawr wedi im' wel'd dy wyneb cu,
Diflana'm hofnau ar bob tu.

O seren hardd, O seren dlos,
Fath addurn wyt yn nyfnder nos;
Fry, fry yn uchder maith y nen,
Fel coron arian uwch fy mhen!

O Gristion, yn yr anial maith?
Os wyt flinedig ar dy daith—
Os cura'r 'storm dy enaid gwan
Nes bron yn methu dal i'r lan,—

Dyrchafa'th olwg tua'r nen,
Cei yno wel'd rhyw "*Seren*" wen:
Yr Iesu Grist a'th dywys di
I wlad anrhydedd, parch, a bri.

E. JAMES EVANS.

*Treflys.*

---

## AREITHYDDIAETH.

YR ŷm yn clywed yn aml achwyniad yn cael ei wneyd fod llawer o offeiriaid ac ereill, a ddylent fod yn alluog i siarad yn gyhoeddus, yn teimlo cryn ddiffyg i drosglwyddo eu meddwl pan yn sefyll i fyny o flaen cynnulleidfa. Yn awr, pa beth yw yr achos fod llawer o bobl yn analluog i sefyll ar eu traed heb golli eu penau? Nid yn aml y mae cyfreithwyr yn colli eu penau pan y maent yn llysoedd barn. Y mae hyn, tebygaf, i'w briodoli i ddiffyg hyfforddiant mewn areithyddiaeth yn y wlad, ac yn enwedig i ddiffyg hyfforddiant yr ieuenctyd. Mae y pwnc hwn wedi cael ei esgeuluso yn nygiad i fyny offeiriaid i'r weinidogaeth Dywedir fod y Seison yn siarad mwy yn gyhoeddus nag un genedl o'r ochr hyn i Fôr y Werydd, ac eto nid oes un ymgais yn cael ei wneyd i ddysgu dynion i fod yn areithwyr.

Siaradwyr cyhoeddus hirwyntog ofnadwy yw yr Iancwys; y maent yn dysgu siarad yn gyhoeddus ar bob pwnc o'u babandod. Yn ol barn areithwyr cyhoeddus enwog, nid yw y llyfrau sydd wedi cael eu hysgrifenu i hyfforddi dynion i siarad o fawr les, os o unrhyw les yn y byd; ni wnânt ddim ond gwneyd efelychiadau o areithwyr, rhywbeth tebyg i ddynion yn efelychu ereill mewn cyfarfodydd gweddi. Yn y cyfarfodydd hyn, ceir dynion yn efelychu rhai o ddynion mawr yr enwad: nid yw yr arddull hwn yn un naturiol i ddyn. Dylai rhywbeth gael ei wneyd er gwella areithyddiaeth, o blegid y mae y dull presennol yn feius a gwallus, fel y gŵyr pawb sydd yn arfer mynychu cyfarfodydd cyhoeddus a gwleddoedd: fe ddefnyddir yr un brawddegau, a'r traddodiad yn amrosgo a charbwl. Nid oes un anhawsdra i ddyn ddyfod yn siaradwr llithrig, ond iddo ymarfer ei hun, a hyny pan yn ieuanc: y mae ymarferiad ym moreu eu hoes yn effeithiol iawn i rai mewn oedran. Yr ydym yn gweled esamplau o hyn yn y personau sydd yn ennill eu bara trwy siarad: nid llawer o ddynion wnaiff hurio cwnseler mewn achos cyfreithiol, yr hwn sydd yn analluog i siarad yn dda. Pa ham na all offeiriaid ieuainc wneyd yr un peth a'r cyfreithwyr a'n seneddwyr? Y prif achos yw bod gan y cyfreithiwr bwnc newydd bob tro; a phan bo dyn wedi cymmeryd gafael ar ei bwnc, nid gwaith caled ydyw iddo draethu ei lên arno. Nid oes dim ond eisieu tori yr iâ, ac ymaflyd yn ei ffeithiau; mae'r geiriau yn dyfod bron o honynt eu hunain. Dichon y bydd i'r siaradwr fethu wrth ddechreu fel y dyn hwnw â'r bresych. Yr oedd dyn unwaith am ddyfod yn areithiwr, ac yr oedd yn arfer myned i'r ardd bob dydd i areithio i'r bresych. Pan draddododd ei araith gyntaf mewn cyfarfod cyhoeddus, torodd i lawr, a dywedodd, "Mi welaf nad *cabbages* ydych chwi." Methodd Mr. Disraeli gael gwrandawiad y tro cyntaf yn y Senedd; ond ni ddigalonodd; dywedodd wrthynt, "Fe ddaw yr amser pan y bydd yn rhaid i chwi fy ngwrando;" ac y mae yr amser hwnw wedi dyfod o amgylch.

Mae y clybiau dadleuol yn ddefnyddiol i wneyd dynion yn siaradwyr; ond

y maent yn agored i gael eu camddefnyddio. Creant ambell waith ormod o hyfdra, sef hunandybiad ac hunanymddiried mewn rhai nad oes synwyr yn eu penau. Y prif beth mewn siaradwr yw deall ei bwnc yn drwyadl; mae hyn yn hollol angenrheidiol. Os ydyw yn ymarfer â darllen er mwyn cael gwybodaeth, ac ystôr o eiriau priodol at ddadgan ei feddwl, mae'r clybiau hyn yn lled ddefnyddiol at roddi iddo arafwch a thawelwch meddwl pan yn sefyll o flaen cynnulleidfa. Y mae gan luaws o bobl ryw effaith hynod ar feddylddrychau siaradwr pan yn sefyll i fyny am y tro cyntaf i'w cyfarch, ac y mae ymarferiad yn angenrheidiol tuag at ei ymgynnefino â'r gwaith. Mae y rhan fwyaf o'n cyfreithwyr yn dysgu siarad yn y clybiau hyn yn Llundain. Gwaith anhawdd yw i ddyn ddysgu siarad yn gyhoeddus ar ol iddo gyrhaedd canol oed; felly fe ddylai pob un sydd yn chwennych bod yn siaradwr cyhoeddus ddechreu yn gynnar.

Pan bo dyn wedi myfyrio ei bwnc yn dda, a phenderfynu sylwedd ei araith, bydd yn gymhorth iddo ddwyn ei sylwadau yn rheolaidd a threfnus o flaen y gwrandawyr, eu nodi ar garden fechan a ellid ei chadw yn ei law. Bydd un gair yn aml yn ddigon i ddwyn y peth dymunol i'w gof; a theimla yn fwy rhydd rhag methiant.

Cynghorir pregethwyr ieuainc i ysgrifenu eu pregethau, a hyny gyda gofal mawr, gan eu terfynu bob amser ag ychydig sylwadau rhydd. Yn ol y drefn hon, ni fyddant mewn perygl mawr o fethu trwy golli llinyn eu hymadrodd, a myned i ddyryswch. Gallant hefyd fyrhau y rhan a ddarllenir ganddynt, ac estyn y rhan a siaradir heb ei ddarllen, nes cyrhaedd hyawdledd a llithrigrwydd ymadrodd. Cynghor y diweddar Esgob Wilberforce, un o'r areithwyr medrusaf yn Nhy yr Arglwyddi, i offeiriaid ieuainc oedd, i ysgrifenu eu pregethau rai prydiau, a phregethu heb eu hysgrifenu ar brydiau ereill. Ond y mae hyn yn cymmeryd yn ganiataol fod ganddynt ryw allu areithiol eisoes.

Mae adrodd darnau prydyddol, neu gyfansoddiadau rhyddieithol hynod am brydferthwch a thlysni ymadrodd, gan ymestyn at berffeithrwydd, sef priodoldeb a naturioldeb yn y pwyslais a'r dull o lefaru, yn foddion tra gwerthfawr i'r sawl a ddymunant fod yn areithwyr. Nid hoff gan neb weled yn eglur fod dyn yn ymdrechu bod yn gelfyddydol a chywrain yn ei ymadroddion—yn meddwl am wisg ei feddylddrychau yn hytrach na'u sylwedd, am sain ei eiriau yn hytrach na'u synwyr. Llwyr ddeall a theimlo yr hyn y mae yn ei ddarllen neu yn ei lefaru, ac ymdrechu ei osod ger bron yn eglur, heb unrhyw feddwl cudd am effaith ei ddull ar y gwrandawyr, ond gyda'r bwriad i wneyd ei hun yn ddealladwy, yw'r ffordd sicraf i wneyd yr hyn sydd ganddo mewn llaw yn dderbyniol i'r rhai sydd yn ei glywed.

---

## SYLWADAU AR SALM CXI. 10.

"Dechreuad doethineb yw ofn yr Arglwydd: deall da sydd gan y rhai a wnânt ei orchymmynion Ef."

Dyma un o'r pethau cyntaf y rhaid i'r Cristion wneyd i ennill ffafr ei Dduw, sef ei ofni; a hyn y mae'r Catecism yn ei ddyweyd ydyw ein dyledswydd tuag ato. Ond nid ydyw hyn yr holl ddyledswydd; canys cyn ei ofni, y mae yn angenrheidiol credu ei fod, ac y gwnaiff ein gwobrwyo yn ol ein gweithredoedd; ac yr un modd, os ewyllysiwn ei garu, y mae yn ofynol yn gyntaf i gredu ynddo ac i'w ofni. Dyma'r tair rhan benaf o'n dyledswydd tuag at ein Creawdwr, sef credu ynddo, ei ofni, a'i garu; ac os gwna neb hyn yn iawn, ni fydd ym mhell o deyrnas nefoedd. Mae cyssylltiad agos rhwng y tri pheth.

yma, ac wrth wneyd un o honynt, yr ydym ar y ffordd i wneyd y lleill. O'r tri nid ydyw ofn yn llai na'r lleill neu yn fwy diwerth: rhoddwyd iddo yr ail le yn y Catecism, ond nid ydyw yn ail mewn pwys eithr mewn urdd. Y mae ofn yn un o'r pethau cyntaf sydd yn cymmeryd lle pan fwriado dyn ymdroi oddi wrth ei hen ffyrdd. Wrth ystyried ei bechodau, a pha fodd y troseddodd y gorchymmynion a roddwyd iddo i'w cadw, a rhaid iddo ymddangos i ateb am danynt o flaen gorseddfainc y Duw Hollalluog, y mae yn crynu ac yn ofni y gospedigaeth. Eithr nid yw hyn yn ddigon, o blegid gall y dyn mwyaf annuwiol wneyd hyny heb ei fuchedd: ni raid i ni yn unig arswydo y gospedigaeth yn y byd nesaf, eithr ofni Duw bob amser, a bod yn ofalus na ryngwn ei fodd. Dylem ei ofni fel Creawdwr nef a daiar a'r oll sydd ynddynt—fel un uwch ben pob peth—fel un nad oes ei fath, yr Hwn ni all neb sefyll o'i flaen, ac fel un a all ein taro i lawr pa bryd y myno.

Eto, sut y gallwn ei ofni a'r un amser ei garu? Yn y golygiad cyntaf, y mae hyn yn edrych fel rhywbeth ammhosibl, a bod ofn a chariad yn wrthwynebol i'w gilydd; ond nid ydyw felly, canys fel y gall plant ofni a charu eu rhieni, yr un modd y mae yn ddichonadwy caru ac ofni ein Tad nefol. Y mae'r plentyn yn teimlo bod gan ei dad bob awdurdod drosto, a bod efe yn rhoi pob peth iddo; heb law hyn y mae yn teimlo bod ganddo ryw ddylanwad drosto mwy na neb arall, ac yn ofni digio ei dad, yr hwn a all gadw llawer o bethau oddi wrtho, gan ei gospi pa bryd bynag y myno. Felly y dylem deimlo tuag at ein Tad sydd yn y nefoedd, a hyny yn fwy yn gymmaint a'i fod Ef yn llawer mwy nerthol mewn cymhariaeth. Gall y plentyn wneyd rhyw ddrwg heb wybod i'w dad, neu ddianc o'i gyrhaedd; ond ni all neb yn yr holl fyd wneyd dim yn ddirgel oddi wrth yr Hwn sydd yn gweled pob peth yn y tywyllwch mwyaf ac yn y lle mwyaf cuddiedig; neu pwy a all ffoi oddi wrtho? Os ä i'r gwledydd pellaf, y mae Efe yno, ac nid oes un lle na all ei gyrhaedd, neu ddim yn y byd i wared dyn o'i ddwylaw neu i'w amddiffyn.

Nid ydyw'r sant mwyaf yn rhydd oddi wrth ofni Duw, er iddo fod y dyn mwyaf duwiol yn y byd, eto y mae wedi tori ei orchymmynion mewn rhywfodd neu gilydd; o herwydd hyny y mae arno ofn. Ac heb law hyn y mae pobl sydd yn credu yn Nuw yn dangos ofn parchedig iddo. Pan fyddwn yng ngŵydd dyn o awdurdod mawr yr ydym mewn ofn, ac y mae hyn yn gyffredin yn ofn parchus; yr ydym wrth hyny yn parchu y dyn hwnw, ac y mae hyny yn brofiad o'n parch tuag ato; canys os nad ydym yn ei barchu, nid oes arnom ofn pan safwn yn ei ŵydd. Felly y dylem gofio fod Duw yn wastadol, yn edrych arnom, a dylem fod yn ofnus os ewyllysiwn ei barchu, gan ymostwng i'w fawredd; canys os nad ydym yn ei ofni, nid ydym yn addef ei fod yn uwch law pob peth, neu ei fod yn anfeidrol mwy galluog na dyn ei hun. Pan ymddangosodd Duw i Moses mewn perth yn llosgi, cuddiodd ei wyneb, o blegid ofni yr ydoedd edrych ar Dduw. Yr oedd mewn presennoldeb un mor uchel a mawreddus, fel na allodd edrych arno. Y mae ffasiwn wahaniaeth rhwng Duw a dyn, fel na all dyn fwrw golwg arno a byw. Pan ddaeth Moses i lawr o'r mynydd wedi iddo fod mor agos i Dduw, a phan welodd y bobl ei wyneb yn dysgleirio, hwy a ofnasant nesäu ato. Dyma bobl, y rhai yr oedd Duw yn eu llywodraethu ac yn eu harwain ei Hun trwy yr anialwch; eto pan welsant ddyn yn debyg iddynt hwy eu hunain, ac un yr oeddynt i gyd yn gydnabyddus, yr oeddynt yn ei ofni, o herwydd bod dysgleirdeb yr Hollalluog arno, ac ni feiddiodd neb

nesäu ato. Yr oedd y bobl yma mewn ofn yr un Un ag sydd yn awr yn edrych i lawr o'i orseddfainc arnom ni. Pwy sydd a'r nad ydyw yn ei ofni, gan gilio ei wyneb oddi wrtho? A oes un o honom mor hyderus ag i edrych arno? A fydd ein llygaid ni yn gryfach na rhai Moses neu'r bobl oedd gydag Ef? Pa mor arswydus y dylem fod pan ystyriwn ein bod yn feunyddiol dan olygiad Duw, a bod Efe yn dal sylw ar bob peth!

Ystyriwn yn awr pa les sydd i'r rhai a ofnant Dduw. Yn gyntaf, fel y crybwyllasom o'r blaen, y mae ofn, os nad ydyw ddim yn y byd arall, yn cynhyrfu y pechadur, gan ei wneyd yn anesmwyth, ac yn dangos llid ei Greawdwr o flaen ei lygaid, a'r gospedigaeth am ei bechodau os na throa oddi wrthynt gan edifarhau am danynt; ac os gweithia ofn fel hyn yn y pechadur mwyaf, y bydd yn gam mawr tuag at ei ddychweliad. Eto y mae ofn yn ein hattal rhag drwg: eithr dyweder nad ydyw ofn yr iawn egwyddor, y dylem gadw oddi wrth yr hyn sydd ddrwg. Er hyny, y mae ofn, a hyny yn unig, yn rhwystro llawer iawn rhag gwneyd yr hyn na ddylent ei wneyd; ond am ofn cospedigaeth y gyfraith, heb law ofn Duw, y byddai llawer mwy o ddrygioni yn y byd: dilynai pawb ei ewyllys ei hun heb ddim i'w attal neu ei droi yn ol. Peth arall, y mae ofn yn peri i ni ufuddhau i orchymmynion Duw ac ymostwng ein hunain ger ei fron. O achos ofn yr ydym yn ceisio rhodio yn ol ei orchymmynion, fel na thynwn ei lid arnom; ac os ofnwn neb, yr ydym wrth hyny yn dangos ein bod yn is nag ef, pa un bynag ai mewn cryfder neu awdurdod. Yr ymostyngiad y mae Duw yn ddysgwyl oddi wrthym ni ydyw, cyfaddef ei fawredd a chyffesu ein beiau gyda phob iselder. O, mor ostyngedig y dylem fod ger bron yr Hwn yr ydym yn troseddu can gymmaint, ac er hyny sydd yn ewyllysio maddeu i ni am bob peth. Oni ddylem ofni yr Hwn a all ladd y corff a'r enaid? Nid oes un ofn i gymharu â'r ofn yma; yr ydym yn ofni ac yn crynu wrth lawer o bethau, ond nid oes un o honynt yn y byd i'w gymharu â hwn. Mae ofn yn peri i ni fod yn ofalus am bethau y byd arall, ac nid yn unig am y pethau a berthynant i'r byd yma—yn ofalus i rodio yn y ffordd uniawn heb syrthio—yn ofalus i ennill bywyd tragwyddol. Y mae llawer o bobl fel Martha yn ofalus ac yn drafferthus iawn yng nghylch pethau y byd; ond pa faint sydd fel Mair a ddewisant yr un peth angenrheidiol? Gallwn ddyweyd fod ofn yn un o'r pethau sydd yn gwneyd pobl mor ofalus yng nghylch pethau y byd yma; y maent yn ofni tlodi, colledion, neu eisieu yn eu henaint; rhai ereill yn ofni rhag cael digon o bleser. Os byddai ofn yn eu gwneyd mor ofalus am yr un peth yna na ddygir oddi arnynt, ac os gofalent na fyddont yn dlawd yn Nuw, neu mewn eisieu pan raid iddynt ymddangos o flaen y Barnwr mawr, gyda'r diwydrwydd y maent yn ceisio pethau y byd, ni byddai eu diwydrwydd yn ofer, a byddai ofn yn lles mawr iddynt. Mewn gair, y mae ofn yn cynnyrchu pob ansawdd da, gan ein cynhyrfu i gyfnewid ein buchedd a throi drosodd dudalen newydd, fel y dywedo yr Hwn y dylai pob un ei ofni, "Nac ofnwch; yr ydwyf Fi gyda chwi." Eto, dechreuad doethineb ydyw ofn yr Arglwydd. Yma, fel mewn manau ereill yn y Beibl, y mae duwioldeb yn cael ei alw yn ddoethineb. Un ystyr y gair doethineb yw, dewisiad y pethau mwyaf buddiol gydag iawn farn. Y mae hwnw yn ddyn doeth iawn a ddewisa y peth mwyaf buddiol iddo; a'r duwiol yw hwnw, o herwydd y mae efe yn dewis y peth goreu iddo yn y byd yma ac yn y byd a ddaw. Ni thala dim yn y byd yn well i ddyn,

hyd yn oed yn y byd yma, na duwioldeb: fe all weled yr annuwiol yn llwyddo ac yn mwynhau brasder y tir, ond ni pharhâ hyn yn hir; ni ddyrysa ei hun o achos hyny, canys y mae teyrnas dragwyddol wedi ei pharotoi iddo. Nid ydyw doethineb y byd yr un fath a'r doethineb yma. Gall dyn fod yn hynod o ddoeth heb feddiannu dim o'r doethineb a all gadw ei enaid yn fyw; nid ydyw yn angenrheidiol cael y cyntaf cyn ennill y llall. Mae yn ddichonadwy i bawb fod yn ddoeth tuag at Dduw os ewyllysiant; ac nid oes dim yn y byd a all eu rhwystro os ymdrechant yn erbyn y pethau a edrychant fel rhwystrau, a hyny trwy nerth Duw, yr Hwn a wnaiff eu dwyn trwy bob peth os gofynant, gan ymddiried ynddo. Eithr y peth cyntaf a raid i ni wneyd i ennill y doethineb yma yw ofni Duw. Pan glywodd y bobl Sant Pedr yn pregethu ar ol disgyniad yr Ysbryd Glân, hwy a ddwysbigwyd yn eu calon; ac yn ddiammheu oddi wrth hyny, yr oeddynt mewn ofn mawr, a chanddynt achos am hyny, o herwydd hwy a groeshoeliasant yr Iesu, yr Hwn a bregethodd Sant Pedr iddynt. Yr oedd eu hofn yn ddechreuad eu doethineb, a gofynasant, "Beth a wnawn ni?" Hyny yw, beth a wnawn ni fel y byddom yn gadwedig? Yr oedd ofn wedi gwneyd ei waith, gan eu cychwyn ar y ffordd uniawn. Os ydyw neb yn meddwl ei fod yn dduwiol, gofyned iddo ei hun a ydyw yn ofni Duw; ac os nad ydyw yn gwneyd hyny, nid ydyw eto wedi dechreu troi at ei Dduw. Mae dechreuad da yn hanner y peth: os dechreuwn yn dda yr ŷm yn bur debyg o fyned ym mlaen yn iawn.

Os ewyllysia neb, gan hyny, fod yn ddoeth hyd y byddo yn gadwedig, gan ddewis bywyd tragwyddol yn lle cospedigaeth, rhaid iddo ddechreu trwy ofn Duw, a dyma yr unig ffordd, a'r doethineb mwyaf gwerthfawr i neb. Y mae y rhai nad ydynt yn ddoeth yn ffol, ac fel y morwynion ffol bydd y drws wedi eu gau yn eu herbyn; y maent yn ffol o herwydd nad ydynt yn parotoi am y diwedd pan ddêl Mab y Dyn. Rhaid i ni fod yn ddoeth neu yn ffol; nis gallwn fod rhwng y ddau, canys nid oes hanes ond am y morwynion doeth a'r morwynion ffol, ac nid oes ond hwy. Byddwn ninnau, gan hyny, fel y morwynion doeth, yn barod pan ddêl y Priodfab.

THOMAS HUGHES.

*Tynewydd, Llansilin.*

---

YMSON Y PECHADUR EDIFEIRIOL.

PA gysur, bechadur, a gai
  Tu yma i angeu y Groes,
Pan fyddi dan bechod a bai
  Yn teimlo a dyoddef mawr loes?
Mae'r byd oll i gyd ger dy fron
  Yn edrych fel gwegi yn awr,
A'th enaid a wesgir gan dòn
  Anobaith i ludw y llawr!

Dy galon sy'n greulon ei chri
  Gan ofn, a dychryn, a braw,
A'th ddagrau a ffrydiant yn lli
  Wrth ddysgwyl y ddedfryd a ddaw!
'Oes gobaith gwir berffaith, heb baid,
  Am gaffael o rywle ryddhâd?
Neu ddyoddef byth bythol fydd rhaid
  Am ddigio o honot dy Dad?

Mae rheswm fel cwlwm yn cloi,
  A synwyr gyd-dystia ag ef,
Mai'th fywyd fydd rhaid i ti roi
  Am bechu yn erbyn y nef!
Trugaredd mewn mawredd dilyth
  Fuasai it' beidio cael byw,
Na gorfod dyoddef am byth
  Dan lid a digofaint dy Dduw!

Ust yna! mae noddfa i'w chael,
  Ac ymaith, Anobaith, o'r byd!
Can's clywais mewn hanes ddiffael
  Am Un a fu farw mewn pryd;
Rhodd hwnw heb dwrw* i lawr
  Ei fywyd anwylaf er hyn—
I achub pechadur mor fawr
  A minnau, a'i olchi yn wyn!

Er pechu a haeddu gan waith
  I ddyoddef y ddedfryd a ddaw
Ar warthaf yr anwir a'i waith,
  Pan gilia'r byd yma mewn braw!
Os credaf yn henaf Fab Duw—
  Os caf ond dyferyn o'i waed—
Bydd gobaith im' eto gael byw,
  Er *dued* o'm coryn i'm traed!

---

* Esai xlii. 2.

Ca'dd miloedd ar filoedd cyn hyn,
  Fu cymmaint eu beiau â mi,
Eu cadw cyn myned i'r glyn,
  Trwy angeu ac iawn Calfari:
Mae yma angorfa i'r gwan
  Rhag myn'd yn llongddrylliad dioed;
Os coller, fe'm coller mewn man
  Na chollwyd pechadur erioed!

'Rwy'n teimlo dymuno'r awr hon
  I waeddi, Diangol wyf fi!
Mae heddwch yn llenwi fy mron,
  Mae'm pen goruwch cyrhaedd y lli;
A chanaf heb anaf na loes
  Ar delyn â pher dannau mân,
I'r Hwn a fu farw ar Groes,
  Pan elo'r byd yma ar dân!

PERERIN.

*Biwmares.*

---

## LLOFFION HANESYDDOL.

### TALIESIN AB IOLO.

"UN genedlaeth a ä ymaith, a chenedlaeth arall a ddaw." Dyna fel mae wedi parhau o ddechreu amser hyd heddyw. Un o'r cymmeriadau mwyaf hynod yn yr oes ddiweddaf ydoedd Iolo Morganwg—y saer maen dysgedig a ddringodd i enwogrwydd ei hun trwy ymroddiad i hunanddiwylliant; mab y gwr enwog hwn oedd Taliesin ab Iolo. Ganwyd Taliesin Williams yng Nghaerdydd, Gorph. 9fed, 1785. Cafodd ef well manteision na'i dad; cafodd addysg dda, a chafodd ei benodi yn ail feistr yn ysgol y Parch. David Davies, Castell Nedd. Symmudodd oddi yno i Ferthyr, lle yr agorodd ysgol ei hun: yn y lle olaf y darfu iddo briodi a magu ei blant, ac yno hefyd y gorphenodd ei yrfa. Yr oedd llenyddiaeth ac hynafiaeth yn un o brif freuddwydion ei fywyd: gadawodd ei dad hyn fel etifeddiaeth iddo. Fel ei dad talentog, cynlluniodd ei ymenydd lawer mwy o bethau nag a ddarfu iddo gyflawnu. Meddyliodd unwaith gyhoeddi bywgraffiad ei dad; ond bu farw ym mhen ugain mlynedd heb ei ddwyn allan, ac oni buasai *Adgofion am Iolo* gan Waring, ni fyddai gan y cyhoedd ddim o hanes ei dad.

Y mae clod yn ddyledus i Ab Iolo am ei wasanaeth i lenyddiaeth ar ol marwolaeth ei dad. Cyhoeddodd *Gyfrinach y Beirdd*, yr hwn oedd heb ei orphen pan y bu ef farw. Mae y gwaith hwn yn esboniad ar yr hen fesurau Cymreig. Cynnorthwyodd yr enwog Gwallter Mechain ef i barotoi y gwaith i'r wasg. Fe gynnygiwyd gwobr yn eisteddfod Caerdydd, yn 1840, am y traethawd goreu: ennillodd Ab Iolo y wobr. Dywedodd y beirniad ei fod yn gampwaith. Cyhoeddwyd y gwaith yn swyddfa yr HAUL, Llanymddyfri. Ym mis Mehefin, 1827, cyhoeddodd ei awdl, "Castell Caerdydd, gyda Nodiadau Hanesyddol;" ac ym mhen deng mlynedd ar ol hyn, cyhoeddodd "Tynged Colin Dolphin, gyda Nodiadau, Traddodiadau, ac Ofergoelion Morganwg." Fe ennillodd lawer o wobrau mewn gwahanol eisteddfodau. Ennillodd ei awdl ar "Dderwyddon Ynys Brydain" y gadair yn eisteddfod Caerdydd yn y flwyddyn 1834: yr oedd yr awdl hon a'r nodiadau hynafiaethol yn anrhydedd i'r awdwr. Golygodd dros y *Welsh MSS. Society:* llawysgrifau ei dad oeddynt dan yr enw, "Llawysgrifau Iolo." Bu y gwaith hwn yn y wasg am bum mlynedd o herwydd afiechyd Taliesin: argraffwyd 450 o dudalenau dan ei olygiaeth. Bu farw pan yr oedd y gwaith yn y wasg, Chwefror 16fed, 1847, ac ar ol hyny cyhoeddwyd yr holl waith. Cymmerodd drafferth fawr i drefnu yr holl lawysgrifau. Gadawodd lawer o lawysgrifau yn anghyhoeddedig—Hanes Sion Cent, Nos Calan Gauaf. Golygodd hefyd ail argraffiad o "Salmau yr Eglwys" ei dad, ac ail argraffodd yn 1836 adolygiad ei dad ar "Hen Lawysgrifau Cymreig, y rhai a gyhoeddwyd yn y *Myfyrian* gan ei dad. Fel ysgolfeistr ennillodd enw mawr iddo ei hun: cododd ysgolheigion enwog ym Merthyr. Dywedodd boneddiges oedd yn ei adwaen yn dda, ei fod yn arfer y wialen yn ddidrugaredd. Yr oedd un o'i blant ef, Mr. Edward

Williams, yn llywodraethu gwaith haiarn Middlesborough.

JOHN REES, PENDAREN.

Yr oedd y bardd ffraethbert hwn yn enedigol o Gydweli. Yr oedd yn awengar: aberthodd ei hunanles ar allor llenyddiaeth. Treuliai ei holl amser hamddenol i fyfyrio a chyfansoddi. Ymddangosodd ei waith yn y cyfnodolion Cymreig: eisteddai i fyny trwy'r nos i brydyddu. Ni wnaeth un ddarbodaeth gyferbyn â'r amser i ddyfod. Pwyswr glo oedd ef wrth ei alwedigaeth ym Mhendaren. Pan oedd ef yn brysur yn chwalu ei ymenydd yn y caban, a'r tân bron â diffodd, yn lle cyrchu glo cododd yr hen lo ar y tân a phwy ddeuai i mewn ond yr Henadur Thompson, perchenog y gwaith—dyn cynnil a gofalus am ei eiddo. Meddyliodd fod John o'r un duedd ag yntau; yn hytrach na gwastraffu eiddo ei feistr, yr oedd yn defnyddio glo golosg, ac o hyny allan daeth John Rees yn *favourite* i'w feistr. Cafodd ei ladd yn ddamweiniol ar y gledrffordd ym Mhendaren, a chladdwyd ef, yn debyg i lawer bardd, fel un o dlodion gweithdy yr undeb. Gosodwyd ei weddillion ym mynwent Dewi Sant, Merthyr; a chlywais nad oes dim cymmaint a chareg i nodi bedd y bardd. Rhyfedd cyn lleied o barch mae cenedl y Cymry yn dalu i goffadwriaeth eu llenorion. Y mae coffadwriaeth John Rees yn deilwng o gareg fedd o leiaf.

---

## GOLWG AR GWRS Y BYD.

MESUR CLADDU MR. OSBORNE MORGAN.

AR ol yr holl guro a baldorddi sydd wedi bod am amryw fisoedd am fesur Mr. Morgan, nid yw ef yn myned ym mlaen â'i fesur eleni; ond nid ydyw ef yn myned i roddi ei *fiddle* yn y to, ddim mwy na Mr. Miall â mesur mawr y dadgyssylltiad, a Mr. Henry Richard â'i *hobby*—heddwch am unrhyw bris. Y mae ef yn myned i gynnyg penderfyniad arall, darn o'r un brethyn ag o'r blaen. Yr achos i Mr. Morgan daflu ei fesur i fyny oedd, am ei bod yn debyg na wnai lwyddo i'w gael ym mlaen am hir amser. Syrthiodd y coelbrenau ar ereill o flaen Mr. Morgan; rhag ofn y buasai i'w fesur gael ei daflu allan ar ddiwedd y Senedd, newidiodd ei gynlluniau. Mae y pendefyniad y mae ef yn myned i ddwyn ym mlaen mor adgas ac afresymol a'i fesur, a gobeithiwn y bydd iddo gyfarfod â'r un gwrthwynebiad ag a gyfarfuodd y llynedd.

Y mae Mr. Morgan am i'r Ty gyhoeddi ei ddedfryd fod y mynwentydd yn eiddo y cyhoedd yn gyffredinol yn Lloegr a Chymru, ac y mae yn gofyn am i'r Ty wneyd trefniadau newyddion i gael gwasanaeth a phregethwyr heb fod mewn cyssylltiad â'r Eglwys i weinyddu mewn angladdau. Nid oes dim gwahaniaeth rhwng egwyddor y Mesur Claddu a hwn. Dim ond i Mr. Morgan gael i'r Ty benderfynu fod y mynwentydd yn eiddo y genedl, y peth nesaf fydd gofyn i'r Senedd am roddi hawl i fyned i'r Eglwys i gynnal Gwasanaeth. Y mae Mr. Morgan a'i ganlynwyr yn anghysson â hwy eu hunain; nid oes dim llawer o amser wedi myned heibio er pan oeddynt yn gwadu nad oedd ganddynt ddim un rhan na chyfran yn yr Eglwys nac yn y fynwent. Ni aiff y pengrwn culfarn a chrebachlyd ddim i'r Eglwys mwy na bwch i odyn galch, ond y mae ef am gael ei gladdu dan gysgod yr hen glochdy briglwyd. Yr oedd yn blwm ar eu hystymogau i dalu ceiniog o dreth Eglwys. Diddymwyd y dreth, a thaflwyd yr holl gost o gadw y mynwentydd ar ysgwyddau Eglwyswyr; nid oes dim son eu bod yn cyfranu dim ceiniog at eu cadw mewn trefn. Nid oes gan Mr. Morgan a'i gyfeillion ddim lle i achwyn yn awr; canys y mae y rhan fwyaf o'r mynwentydd mewn lleoedd pobl-

ogaidd wedi eu can, ac nid ydyw mynwentydd yr Eglwys yn gladdfëydd cenedlaethol yn bresennol. Y mae Mr. Morgan yn foddlawn i drefniadau gael eu gwneyd i gadw trefn a gweddeidd-dra mewn angladdau wrth reswm. Y mae Sectyddiaeth Radicalaidd yr oes, fel merch y Gele, yn gwaeddi "Moes, moes," o hyd.

Cyn i'r Dreth Eglwys gael ei diddymu, yr oedd y prophwydi yn prophwydo heddwch ar ol cael gwared o'r dreth; ond ni wnaeth ddim ond eu hyspardynu i gadw i fyny eu cyffroadau, a'u gwneyd yn fwy aflonydd. Gadawer i'r mesur hwn basio er mwyn heddwch, bydd y dadgysylltwyr mor aflonydd ag erioed. Os ydyw y Gogleddwyr yn ofni na fydd i'r offeiriaid wneyd cyfiawnder â'r meirw, nid ydyw yr Anghydffurfwyr yn y Deheubarth mor ragfarnllyd; nid oes ganddynt un math o wrthwynebiad i Wasanaeth Eglwys Lloegr.

### Y BWRDD YSGOL A'R BEIBL.

Mae yn amlwg fod pleidwyr y byrddau ac addysg di-Dduw am inffideleiddio y genedl sydd yn tyfu i fyny. Y mae yn debyg ei bod yn arferiad yn un o ysgolion Bwrdd Ysgol Bedwellty i ddefnyddio Gweddi yr Arglwydd yn yr ysgol—y weddi oreu a gyfansoddwyd erioed—gweddi Pen mawr yr Eglwys ei Hun. Gallesid meddwl na fuasai un sydd yn galw ei hun yn Gristion fod yn anfoddlawn i arfer y cyfryw; ond cafodd Gweddi yr Arglwydd ei chau allan yn un o ysgolion Bedwellty, a chynnygiodd un o aelodau y bwrdd ddiolchgarwch i'r *manager* am wneyd hyn! Nis gallasai anffyddiwr wneyd dim mwy.

### HEDDWCH A RHUFAIN.

Y mae yn ymddangos oddi wrth y gwahanol newyddiaduron fod gohebiaeth gyfrinachol yn cael ei chario ym mlaen rhwng yr uchel-ddefodwyr a'r Pab, trwy y Cardinal Manning, er ffurfio undeb ag Eglwys Rhufain, a dywedir ym mhellach fod petisiwn cyfrinachol wedi cael ei anfon o Lundain i Rufain ychydig ddyddiau yn ol. Y mae amryw o'r offeiriaid uchel-eglwysig yn barod wedi gwrthdystio yn erbyn y cyfryw undeb. Os ydym i gredu yr hyn a ysgrifenir, nid yw y gynnulleidfa sanctaidd yn foddlawn i'r telerau. Yr wyf yn credu y byddai yn fendith i'r Eglwys gael gwared o'r fath weinidogion, a goreu po gyntaf iddynt fyned i Rufain. Pum mlynedd ar hugain yn ol, galwyd cyfarfod yng Nghaerodor i ystyried yr un mater. Yr oedd yn bresennol Dr. Pusey, y Parch. John Keble, Mr. Beresford Hope, Syr George Provost, y Proffeswr Mill, yr Archddiacon Denison, &c. Ychydig amser yn flaenorol, enciliodd amryw o offeiriaid i Rufain: achosodd hyn gryn gyffro. Blaenor y symmudiad hwn ym Mryste oedd un Mr. Ward, yr hwn wedi hyny a aeth drosodd i Rufain. Yr oedd ef wedi gosod y penderfyniad ar lyfr yr undeb, sef fod i'r Pab gael ei gydnabod yn ben ar yr Eglwys yn Lloegr. Ar ol siarad a dadleu ar y pwnc, penderfynwyd i'r cynnyg gael ei dynu allan o'r llyfr. Ymadawodd amryw o'r hen aelodau â'r undeb yn fuan, a thorodd yr olaf i fyny. Nid oes dim achos i neb ammheu y bydd i'r Pab roddi ei ffordd; bydd yn rhaid i'r sawl sydd yn perthyn i wersyll y cydfradwyr ymostwng yn gyfan-gwbl. Ar ol y cwbl, bernir nad oes dim gwirionedd yn yr hanes am y cynllwynion hyn.

### YCHWANEG O ESGOBION.

Ychydig ddyddiau yn ol, cymmerodd cynnadledd le yn swyddfa y gymdeithas genedlaethol er hyrwyddo y symmudiad i gael ychwaneg o esgobion. Yr oedd yr archesgob yn bresennol, pedwar esgob, amryw bendefigion, ac offeiriaid. Cynnygiodd Archesgob Caergaint fod sefyllfa y wlad yn gofyn am ychwanegu yr

esgobion. Nis gall neb ammheu nad ydyw y gyfundrefn bresennol yn ddigon, ac nis gall Mr. Dillwyn wadu nad yw ychwanegiad o dri esgob er amser y Diwygiad yn ormod. Nid oedd y boblogaeth yr amser hwnw yn debyg i'r hyn ydyw yn awr. Fel ag y mae yn awr, y mae gormod o waith gan ein hesgobion; y mae pob esgobaeth yn y deyrnas yn rhy eang i un dyn ei chyrhaedd. Nis gall yr esgob ymweled â'r Eglwysi plwyfol ddim ond unwaith mewn deunaw mis. Yr esgobaeth eangaf ydyw Exeter; y mae cyhŷd o ffordd ag yw Caerodor o Lundain. Y mae yr esgob yn byw yn y cwr pellaf, ac y mae yr offeiriaid yn gorfod teithio cannoedd o filltiroedd ato. Mae pob esgob yn Lloegr yn cael ei orweithio.

Penderfynodd y gynnadledd fod angen am weithredu yn ddiaros, a dosbarthu yr esgobaethau o'r newydd. Y mae Mr. Beresford Hope wedi gosod rhybudd ar fwrdd Ty y Cyffredin y bydd iddo ddwyn mesur i mewn i'r perwyl. Pasiodd Ty yr Arglwyddi fesur Arglwydd Lyttelton y sessiwn ddiweddaf, ac anfonwyd ef i'r Ty isaf; ond nid oedd digon o amser i'w basio. Oddi wrth yr ohebiaeth a gymmerodd le rhwng Arglwydd Lyttelton a'r Prifweinidog, y mae pob argoel fod y Llywodraeth yn ffafriol i'r mesur. Nid oes dim yn y mesur hwn i greu eiddigedd yn y blaid Ryddfrydol: nid yw yn gofyn am geiniog oddi wrth y Llywodraeth. Nid yw y mesur ddim ond rhoddi rhyddid i'r Eglwys i lywodraethu ei hun fel mae y gwahanol Enwadau yn trefnu eu hachosion eu hunain. Bydd i Mr. Dillwyn ac oracl Ymneillduaeth, Mr. Richard, ei wrthwynebu.

### AGORIAD SENEDD OLAF Y FRENINES ELISABETH, 1601.

Ni fu un benadures, oddi gerth Victoria, mor boblogaidd a'r Frenines Elisabeth. Pan ddygwyd y mater i wneyd darbodaeth ar gyfer y Dywysoges Victoria, cynnygiodd un o'r aelodau i'w henw gael ei gyfnewid i Elisabeth. Dywedodd Arglwydd Althorp ei fod yn gobeithio y byddai enw Victoria ddyfod mor ogoneddus ag un enw mewn hanesyddiaeth; ac y mae hyn yn ffaith. Y mae tiriogaethau Prydain Fawr wedi cynnyddu yn fawr er amser Bess, ac mae enw Victoria yn adnabyddus ym mhedwar ban y byd.

Agorwyd Senedd olaf Elisabeth ar y 27fed o Hydref, 1601. Marchogodd y Frenines mewn cerbyd â'i ochrau yn agored: uwch ei ben yr oedd nenfwd o frethyn euraidd. Ar ol y Gwasanaeth ym Mynachlog Westminster, fel yr oedd yn arferol, aeth oddi yno i'r Senedd, lle yr oedd wyth a deugain o bendefigion yn ei dysgwyl: yr oedd Rhyfeloedd y Rhosynau wedi teneuo llawer o'r pendefigion. Dywedodd Syr Thomas Egerton, yn enw y Frenines, am yr anhawsderau yr oedd hi wedi gwrdd oddi wrth y Pab a Brenin Yspaen, yr hwn a anfonodd filwyr i'r Iwerddon. Dywedodd ar ei rhan ei bod yn anghydweled â siarad ofer; ei dymuniad ydoedd nad oedd dim cyfreithiau newyddion i gael eu gwneyd, ond diwygio yr hen gyfreithiau. Yr oedd eisieu arian, ac nid oedd dim oedi i fod i'w codi: yr oedd am i'r Senedd derfynu cyn Nadolig. Nid oedd gan yr arglwyddi neb yr amser hwn i gadw eu dadleuon ym mlaen. Yr oedd aelodau Ty y Cyffredin yn arfer eistedd yng Nghapel Sant Stephan, lle y cawsant eu symmud yn nheyrnasiad Iorwerth IV.

Nifer y seneddwyr oedd 446; yr oedd 36 o eisteddleoedd yn wag. Yr oedd y siroedd gogleddol yn cael eu cynnrychioli yn deg. Yr oedd Caerefrog yn anfon 23, Caerwerydd 12, Cernyw 42, Wilts 32, Southampton 26, Dorset 20, Devon 18, Cymru 20, a phedair eisteddle yn wag. Ym mhlith enwogion y Senedd oedd Cecil, mab Arglwydd Burleigh, ysgrifenydd cartrefol; ac wedi hyny

Iarll Salisbury, Francis Bacon, a Syr Walter Raleigh. Yr oedd Bacon yn cynnrychioli Gippenrich, Suffolc, a Raleigh yn un o gynnrychiolwyr Cernyw, Hamden dros Bucks, ac Olifer Cromwel, ei ewythr, torwr pen Siarls I. Yr oedd y rhydd-ddeiliaid yn y siroedd yn llawer mwy goleuedig nag etholwyr y bwrdeisdrefi. Un pwnc fu dan eu sylw oedd: ennillodd un o aelodau Leicester ei sedd, yr hwn a aeth o flaen y Bwrdeisiaid fel gwas Iarll Huntington. Yr oedd dylanwad mawr gan y boneddigion yn y bwrdeisdrefi; yn fynych yr oedd yr etholiadau yn cael eu hymladd rhwng gwahanol deuluoedd. Yr oedd yr etholiadau yn achosi tywallt gwaed. Ym mwrdeisdref Dinbych gorfu i'r sirydd attal yr etholiad. Yr oedd gan y Brifddinas bedwar, Westminster a Southwark bob o ddau. Nid oedd Greenwich ddim ond pentref, Finsbury yn gors, Marylebone yn goedwig. Yr oedd gan Llynlleifiad ddau.

Pan oedd y Frenines yn y Fynachlog, a'r pendefigion yn gwrando y bregeth, yr oedd aelodau Ty y Cyffredin yn cymmeryd eu llwon bedwar ar y tro o flaen drws y Senedd. Aeth pob un oedd yn barod i Dy yr Arglwyddi, ond cauwyd y drws yn eu herbyn. Ar ol eu dychweliad, gwnaeth amryw o honynt achwyniadau llymion: aethant mor bell nes i'r *usher* fygwth eu rhoddi yn y cyffion. Gwnaeth rheolwr y Ty ymddyheiriad am y camsynied. Darllenodd Cecil sylwedd yr araith iddynt. Y gwaith cyntaf oedd ethol siaradwr. Cynnygiodd y *comptroller* Mr. John Crooke, cofiadur Llundain. Yr oedd y ganmoliaeth yn surffedlyd. Gwrthododd Crooke yr anrhydedd; ond cymmerodd dau o'r swyddogion afael yn ei freichiau, a gosodasant ef yn y gadair. Dydd Gwener canlynol, cafodd ei gyflwyno i'r Frenines; gwrthododd ar y cyntaf i gymmeryd y swydd, ond newidiodd ei feddwl. Traddododd araith fombastaidd a gwenieithus i'r Frenines; er ei bod yn hoffi canmoliaeth, yr oedd hyn yn ormod iddi. Rhoddodd orchymmyn arall i'r Ty isaf i beidio treulio eu hamser i wneyd cyfreithiau newyddion a diles. Pasiodd allan trwy Dy y Cyffredin; ond nid llawer o fendithion a ddymunwyd iddi. Yr oedd y lle yn llawn, a gwaeddodd yr *ushers* am iddynt roddi ffordd rydd. Gwaeddodd un o'r tu cefn, "Pe crogech ni, nis gallwn gilio yn ol ym mhellach." Nid oes dim un ammheuaeth na ddarfu i ymddygiad Ty y Cyffredin glwyfo ei theimladau.

---

## EGLWYS GADEIRIOL LLANDAF.

Daeth y Rhufeiniaid i'r wlad hon tua chan mlynedd cyn i'r arwr Caradog gael ei gymmeryd yn garcharor; ac yr oedd Lleirwg neu Lleufer Mawr yn byw ym mhen can mlynedd ar ol ei ddyfodiad yma.

Dysgodd y Cymry lawer oddi wrth y Rhufeiniaid, yn neillduol adeiladaeth; yr oedd y Rhufeiniaid yn adeiladwyr penigamp. Fe ddywed Giraldus, "Ei phalasau gorwych a eilfyddent, a'u nenau eurog, ac ardderchogrwydd Rhufeinig." Nid oes dim un ammheuaeth nad y tywysogion Rhufeinig oedd eu hadeiladwyr gwreiddiol. Cyfeiria at y tŵr cadarn, llu o drochfwäu, temlau a chwareudai, yn cael eu hamgylchynu gan furiau, ac mae rhai o'r cyfryw yn sefyll eto. Gwelwn o'r tu fewn a'r tu faes i'r muriau adeiladau tanddaiarol, dyfr-lwybrau, ogofëydd bwaog, a thwymdai, y rhai oedd wedi cael eu gwneyd mor gelfydd fel yr oeddynt yn gallu gwresogi lleoedd dirgel ac anweledig. Y Rhufeiniaid a wnaeth y ffyrdd enwog o un lle i'r llall; adeiladasant 92 o ddinasoedd ym Mhrydain yn ystod eu harosiad rhwng C.C. 54 ac O.C. 446; felly cafodd Lleirwg weled penadeiladaeth y byd yr amser hwnw. Dysgodd y Cymry lawer o arferion

Cyn Crist 54 -

a dulliau y Rhufeiniaid yr amser yma. Y mae yn ammheus pa un ai o geryg neu o wiail yr adeiladwyd yr Eglwysi cyntefig. Dywed Carnhuanawc fod yr holl Eglwysi yn y fl. 412 wedi cael eu hadeiladu â gwiail: mae y Cadeirdraw Rees o Lanymddyfri yn dywedyd yr un peth. Dywedir mai yr Eglwys gyntaf o feini a adeiladwyd yn Whithern, yn agos i Galloway.

Y mae yr hanes uchod wedi ei drosglwyddo i lawr i ni oddi wrth y mynachod, ond nid oeddynt hwy yn gwybod dim am sefyllfa Morganwg yn yr ail ganrif. Adeiladwyd Caerdydd yn y fl. 53 gan Didi Gawr. Fe adeiladwyd Cestyll Caerdydd—Wauntroda, caerau ffordd Pengam, a chample Tredelarch, cyn i Lleirwg gael ei eni; o ganlyniad, y mae yn anhawdd credu i Lleirwg adeiladu yr Eglwys newydd o goed, a chymmaint o adeiladau o geryg o amgylch Llandaf; ac ym mhellach, y mae yn debyg i genadon Elutherius hysbysu Lleirwg mai adeiladau o geryg oedd yn Rhufain ac yn y Dwyrain. Fe ddywed rhai hen lawysgrifau mai Meirig ab Tewdrig a gododd yr Eglwys gyntaf yn Llandaf, a chyfrifir codiad yr Eglwys hòno dros 30 o flynyddoedd. Dywed Tanner yn ei *Notitia Monastica* fod Eglwys Gadeiriol yn Llandaf yn amser Dyfrig, yr hwn a wnaethpwyd yn esgob yn y fl. 520: gweler hefyd Wharton's *Anglice Savia* a Gibson's *Camden*. Dywed yr olaf ddarfod i Garmon a Bleiddian, ar ol gorchfygu Morganiaeth, godi Eglwys Gadeiriol ar lan Taf, ac iddynt osod Dyfrig yn esgob yno, ac i Meirig y tywysog roddi tir rhwng yr afonydd Taf a Lai i'r Eglwys.

Gan fod yr awdurdodau uchaf yn cydweled i raddau pell â'u gilydd ar y pwnc, yr unig gasgliad a ellir dynu yw, i'r Eglwys gael ei hadeiladu yn ol y cynllun Llydawaidd. Codwyd yr Eglwys gan y Cymry, a thywysog Cymreig ddarfu ei gwaddoli. Dywed Hoare's *Giraldus Cambrensis* mai Teilo a'i hadeiladodd trwy orchymmyn Dyfrig. Nid yw yn beth tebyg i Garmon a Bleiddian orchymmyn iddynt adeiladu Eglwys Gadeiriol o wiail, yr hon a waddolwyd â chymmaint o dir gan Meirig: y mae yn bur debyg mai bangor gododd Teilo yn Llandaf. Adeiladwyd yr Eglwys yn ol y dull arferol yn amser y tadau. Mae hyn yn eithaf naturiol; yr oedd Garmon yn frodor o Lydaw, lle yr oedd Eglwysi wedi cael eu hadeiladu eisoes. Dywedir fod yr Eglwys gyntaf yn 28 o droedfeddi o hyd, ei lled yn 15 troedfedd, a'i huchder yn 20 troedfedd.

Eglwysi bychain oedd yr Eglwysi boreuol. Y mae, neu yr oedd amser yn ol, un o'r Eglwysi hyn yng Nghernyw: allor o geryg a meinciau ceryg ar hyd yr ochrau, a dim ond un ffenestr; dichon mai Eglwys fel hon ydoedd Llandaf. Nid oes dim hanes ar gael pa faint o gyfnewidiadau ac adgyweiriadau a gymmerodd le, na pha bryd yr adeiladwyd tai y swyddogion. Yn y fl. 1119 yr oedd Urban yng nghymmanfa Rheims, a gwnaeth achwyniad wrth y Pab Calixtus II. ar sefyllfa ddadfeiliedig Llandaf, ac ysgrifenodd y Pab lythyrau at y brenin ac Archesgob Caergaint, yr offeiriaid a boneddigion yr esgobaeth, yn deisyfu arnynt ei gynnorthwyo i adeiladu Eglwys Llandaf. Llwyddodd Urban i gael digon o arian i godi Eglwys Gadeiriol ardderchog yn Llandaf yn ol y ffurf Gothaidd: dechreuwyd tynu yr Eglwys i lawr ar y 14ydd o fis Ebrill, 1120. Credir iddi gael ei chodi ar sylfeini yr hen Eglwys: y mae Hoare yn barnu fod y drws gogleddol yn sefyll er amser Dyfrig. Dywed yr un awdwr fod yr Eglwys yn mesur 300 troedfedd, 80 o led, a 30 o uchder. Dywed Storer ei bod yn mesur o'r tu allan 270 troedfedd, tu fewn 245, lled 70, lled y gangell, &c., 65, uchder 65. Ar ol codi ty i Dduw, dechreuodd Urban

godi palas i'r esgob, ty i'r archddiacon, a thai i'r corweiniaid. Cyfnewidiodd yr Esgob Marshall lawer ar yr Eglwys yn 1478. Adeiladodd allor o geryg nadd amryliw: yr oedd hon yn cael ei hystyried yn un ardderchog.

Dyoddefodd yr Eglwys lawer oddi wrth ymosodiadau Vandaliaid Cromwel: cymmerodd y milwyr yr holl Lyfrau Gweddi a llyfrau y llyfrgell i Gastell Caerdydd, lle y cawsant eu llosgi. Anfonodd y milwyr wahoddiad i wragedd a phlant yr offeiriaid ac ereill ddyfod i'r castell i ymdwymo wrth y goelcerth. Penodwyd penboethyn i lanw y pulpud. Dechreuodd ei bregeth gyntaf yn Genesis, a gorphenodd yn Llyfr y Dadguddiad. Yr oedd yr Eglwys mewn sefyllfa druenus yn y flwyddyn 1723: syrthiodd rhan fawr o ben corff yr Eglwys i mewn. Gwnaeth yr Esgob Harris a'r cyfeisteddgor ymdrech i adgyweirio y rhanau dadfeiliedig: treuliwyd y swm o 2000p ar y gwaith cyn y flwyddyn 1737; ond yr oedd eisieu 1,500p. i gwblhau y gwaith. Yn 1751 gwnawd cyfnewidiad rhyfedd yma. Dywed Syr R. C. Hoare i deml Roegaidd gael ei chodi o fewn yr Eglwys Gadeiriol: yr oedd hon yn adeilad Gothaidd. Yr oedd i'w weled yma un amser gymmysgedd o adeiladau: nid oedd gan yr awdurdodau ddim un mymryn o chwaeth at adeiladu. Gadawyd y rhan fwyaf o gorff yr Eglwys yn ddi-do. Yn y cyfnewidiad annhrefnus hwnw, dinystriwyd yr hen wahanlen, y cadeiriau, a hen wahanlen yr allor, yng nghyd â gorsedd yr Esgob Marshall. Yr oedd darn o orsedd yr esgob yn cael ei gadw flynyddoedd yn ol yn y *Chapter House*. Yr oedd darlun o'r esgob arno ar ei liniau, a'r Wyryf Fendigaid. Dinystriwyd yr holl gerfluniau yr un amser.

Nid oes dim hanes fod y ffenestri yn lliwiedig o amser Urban. Y cyfnewidiad nesaf a wnawd oedd yn y flwyddyn 1831. Costiodd yr adeilad Groegaidd hwn saith mil o bunnau. Y cerfluniau a'r cofgolofnau oeddynt —1. Tŵr Iasper; 2. Dug Bedford, mab Owain Tudur, a Chathrin, merch Siarls VI., brenin Ffrainc. Bernir i Urban godi tŵr. Adeiladodd Iasper dŵr yn 1425: y mae y tŵr hwn yn sefyll fel cynt, ond yr hyn a ddinystriwyd gan ystorm Tach. 27fed, 1703. Mae y tŵr hwn yn naw llath ar hugain o uchder. Yn nyddiau Cromwel, 1629, toddwyd tair o'r clychau oedd yn y tŵr hwn. Ar un o'r clychau yr oedd y cerfiad canlynol arni:—"Anno Secundo translationis Guiliel mi Murray Episcopi Landaven, 1629, J. P." Ar un arall: "Franc Davies, Lord Bishop; Edward Gamage, Archdeacon—Let my sound move thee to God's glory.—R. A. F. B., 1672." Dywed Willis eu bod oll wedi cael eu hollti pan ymwelodd ef â'r lle. Uwch ben y drws gorllewinol y mae heddyw *effigy*, meddir, o Harri V. neu Harri o Fynwy. Yr oedd cyfnewidiad mawr yma pan ymwelodd Syr R. C. Hoare â'r lle oddi wrth y dysgrifiad a rydd Willis. Nid oes yma nifer fawr o wyddfeini: y mae yn bur debyg fod yno lawer un amser.

---

### YR EIRA.

Yr eira mân, ardderchog yw dy wedd
Yn disgyn â dihalog wisg mewn hedd
Ar wyneb daiar sydd trwy'r oesoedd hir
Yn drigle cymmeriadau brwnt, ammhur.

Yr eira glân, am dano clod i Dduw,
Fel enghraifft hardd o wisg yr engyl gwiw,
I'w dangos i ddynoliaeth sydd ar goll,
A'i gwisgoedd goreu'n halogedig oll.

Yr eira gwyn, O! na bai genyf fi
Gymmeriad o'r un lliw ag ydwyt ti—
Heb dderbyn un ystaen oddi wrth y byd,
Na cholli mymryn o'i brydferthwch drud.

Yr eira gwyn, O! mae dy burdeb llon
Yn codi awydd yn y fynwes hon
Am brofi rhinwedd ffynnon Calfari
Sy'n cànu gwisgoedd y pechadur du.

MYFENYDD.

## DR. ROBERT FERRAR, ESGOB TY DDEWI.

*Y Traethawd hwn a ddarparwyd gan Glan Arad gyferbyn ag Eisteddfod Caerfyrddin, yr hon a gynnaliwyd Haf* 1875, *ond methwyd ei orphen yn brydlawn.*

Os edrychwn yn ol ar hanesyddiaeth y byd, ni a welwn fod amser enbyd wedi bod ar grefydd. Heb son am yr erlidigaethau creulawn yn oesoedd boreuaf Cristionogaeth dan rai o'r ymherawdwyr Rhufeinig, y mae wedi bod yn dywydd ystormllyd arni mewn oesoedd diweddarach, a hyny hyd yn oed yn ein gwlad ein hunain, lle yn awr, diolch i Dduw, y mae rhyddid crefyddol yn bodoli yn y graddau helaethaf, nes y mae pob dyn yn yr ystyr hwn yn cael "eistedd dan ei winwydden a'i ffigysbren ei hun, heb neb yn beiddio ei ddrygu." Nis gallwn byth fod yn rhy ddiolchgar i'r Arglwydd am y rhagorfraint fawr hon; yr ydym yn awr o blegid ein cynnefindra â hi, ac am na welsom ni na'n teidiau yn y blynyddau diweddar hyn mo'r gwrthwyneb, yn rhy barod i anghofio ei gwerth. Buddiol ynte yw troi ein llygaid yn ol ar gyflwr ein gwlad yn yr amser a aeth heibio a chymharu ei sefyllfa ddedwydd bresennol â'i sefyllfa pan oedd Pabyddiaeth yn teyrnasu yma yn ei grym, a phan elwid ar y sawl na fynent blygu i'w hiau haiarnaidd wynebu ar y tân a'r ffagodau. Diammheu i gannoedd yn yr amser hwnw, trwy wendid natur, gael eu dwyn i ymwadu â'u hegwyddorion crefyddol dan y cyfryw amgylchiadau ofnadwy; ond y mae genym gofrestr o ferthyron gogoneddus, y rhai ni fynent "dderbyn ymwared" i'w bywydau ar draul eu crefydd, ond a seliasant â'u gwaed eu tystiolaeth i wirionedd Duw. Cyfrifir na ddarfu i lai na 288 ddyoddef marwolaeth mewn tair blynedd dan deyrnasiad Mari Waedlyd, o herwydd eu hymlyniad wrth athrawiaethau y Diwygiad Protestanaidd. Ac y mae genym brawf rhyfedd o rym gwir grefydd, ac o agosder Duw at ei weision yn eu cyfyngderau mwyaf, yn y modd y gorfoleddai llawer o'r merthyron hyn yng ngwyneb yr ystanciau fel pe byddent yn myned i wledd ddanteithiol, ac y cyhoeddent yng nghlywedigaeth y dorf nad oeddynt yn teimlo mwy o boen oddi wrth y fflamiau na phe buasent yn gorwedd ar wely o flodau. Ni bu daiar Cymru mwy na Lloegr yn rhydd oddi wrth waed rhai o weision ffyddlawn y Goruchaf; cafodd rhai manau ar ei gwyneb *hi* eu cyssegru trwy fod yn esgynfaoedd i'r saint yn eu cerbydau o dân o'r ddaiar i'r nefoedd, ac yn eu plith y dref yn yr hon y mae ein heisteddfod i gael ei chynnal. Yr heolydd, a fyddant y diwrnod hwnw yn llawn o wŷr a gwragedd, llanciau a genethod yn ymdyru tua'r babell i fwynhau melusderau cerddoriaeth a swyn areithiau a fyddont dueddol i ddiwyllio a gwareiddio'r meddwl, a gawsant ar ddiwrnod arall, 300 mlynedd yn ol, eu llenwi â thorfëydd yn ymgasglu i'r "Groes" i wledda eu llygaid ar y drych farbaraidd o was ffyddlawn i'r Arglwydd yn cael ei ddienyddio am lynu yn wrol wrth ei broffes. Ond gobeithiwn i hyd yn oed olygfa y diwrnod hwnw gynnyrchu rhyw ddaioni: y mae yn hen ddywediad fod "gwaed y merthyron yn had i'r Eglwys;" ac felly fe ddichon fod effeithiau da wedi canlyn merthyrdod yr esgob duwiol hwn ar galonau llawer o'r edrychwyr—iddynt deimlo bod rhyw werth yn y grefydd a'i harweiniai i aberthu ei fywyd o'i phlegid, a thrwy hyny gael eu tywys i ymwrthod â'r cyfeiliornadau y magwyd hwy ynddynt. Er nad oedd yr Esgob Ferrar yn Gymro o waedoliaeth, eto gan ei fod wedi ei osod ar esgobaeth Gymreig, teimlwn fod genym ni, y Cymry, hawl ynddo, ac y mae priodoldeb neillduol yn y gwaith o wneuthur coffadwriaeth o'i

hanes yn destyn traethawd eisteddfodol yn y dref lle y dyoddefodd farwolaeth ym mhlaid y Ffydd.

*Robert Ferrar, D.D., esgob Ty Ddewi*, ydoedd o deulu Arglwyddi Ferrars swydd Rutland a hynafiad Ferrars o Little Gidding, a anwyd ym mhlwyf Halifax, swydd Gaerefrog, o ddeutu dechreu yr unfed ganrif ar bymtheg. Derbyniodd ei addysg yn athrofa Caergrawnt; a phan yn ieuanc, penodwyd ef yn ganonwr rheolaidd yn Sant Mair, Rhydychain, crefydd-dy o urdd Sant Awstin, lle y symmudodd i fyw. O'r diwedd, trwy addysgiad Thomas Garrett, curad Honey Lane, Llundain, un o ganlynwyr Luther, efe a arweiniwyd i gofleidio athrawiaethau y Diwygiad. Yn 1533, cafodd B.D., ac a wnawd yn benmynach Mynachdy Sant Oswald, swydd Gaerefrog. Yn olynol efe a benodwyd yn gapelydd i'r Archesgob Cranmer, ac a briododd (pa weithred yn y dyddiau hyny a gyfrifid yn ysgymmunbeth) pryd yr oedd yr athrawiaeth hòno, sef gweddwdod yr offeiriaid, yn cael ei gorsefyll â llymdra eithaf.

Yr oedd Mr. Ferrar yn dra rhwym gan orchwylion cyhoeddus. Yn y fl. 1535 efe a ganlynodd Esgob Barlow ar genadaeth i'r Alban. Ymddiriedwyd iddo hefyd symmudiad llyfrau gwerthfawr o fynachdy dadgyssoddedig Sant Oswald i archesgob Caerefrog. Yn 1547 efe a appwyntiwyd yn esgob Ty Ddewi trwy ddylanwad Edward, Dug Somerset, Arglwydd Amddiffynydd yn nheyrnasiad Edward VI., yr hwn oedd ewyllysiwr da llwyddiant y Diwygiad, ac a urddwyd yn nhy yr archesgob yn Chertsey ar y 9fed o Fedi yn yr un flwyddyn. Ychydig ar ol ei urddo efe a benderfynodd dalu ymweliad â'i esgobaeth, lle y dygodd ei sel iddo lawer o elynion ym mhlith y Pabyddion â'u hymlynwyr. Er ymadawiad ei ragflaenydd, yr Esgob Barlow, i esgobaeth Bath a Wells, yr oedd annhrefniadau mawrion wedi cynnyrchu ym maes dyfodol llafur Dr. Ferrar, a'i sylw a dynwyd yn arbenig at lygredigaeth anferth yng nglwysgor Caerfyrddin, lle yr oedd Thomas Young, canor, a Rowland Meyrike, canon Ty Ddewi, dirprwywyr yr esgobaeth, wedi ysbeilio yr Eglwys Gadeiriol o lestri aur, gemau, ac addurniadau o werth o ddeutu 500 *morc* (*mark*—13*s.* 4*d.*), gan gymhwyso eu gwerth yn lles eu hunain. Yr oeddynt hefyd wedi selio amryw wagleoedd yn ystod cyfwng yr esgobaeth heb ganiatâd y brenin. Yr esgob, gan hyny, a gyhoeddodd ddirprwyaeth i'w ganghellydd i ymweled â'r glwysgor, yng nghyd â'r holl esgobaeth. Y canghellydd wrth gynllunio y ffurf ofynol a'i geiriodd yn anghywir. Yn lle arddel uchafiaeth y brenin, defnyddiwyd yr hen ddull arferedig yn amser yr oruchafiaeth babaidd, er fod yr esgob yn proffesu talu yr ymweliad yn enw ac awdurdod y brenin. Yr anffurfioldeb hwn a fu yn fantais i'r ddau ddyn euog hyn; ac yn absennoldeb yr awdurdod gofynol i gyfreithloni y ddirprwyaeth, nid yn unig hwy a beidiasant ufuddhau, ond cyhuddasant yr esgob o ragrybudd (*præmunire*). Ychydig o flaen hyn diraddiwyd ei noddwr, pryd y daeth ei elynion yn fwy erlidgar ac aflonydd o lawer, a chawsant trwy y ddau swyddog anffyddlawn uchod gyfraith yn ei erbyn. Mewn cynghrair â hwynt ydoedd ei goflyfrwr, George Constantine, person ag oedd wedi derbyn ffafrau neillduol oddi wrtho. Ar annogaeth ei elynion, hysbysrwydd a osodwyd o flaen y cynghor gan Hugh Rawlins, offeiriad, a Thomas Lee, trwy ba achwyniad, yr hwn oedd yn gynnwysedig o 56 o gyhuddiadau, y gosodasant ef yng ngharchar ryw gymmaint o amser cyn marw y brenin. Wele yn canlyn gynnwysiad o'r cyfan o honynt:—

"*Erthyglau ac hyfforddiadau* i gynghor anrhydeddus y brenin, a osodwyd ac a ddangoswyd gan Hugh Rawlins a Thomas Lee yn erbyn

y bendigedig wr Duw, Meistr Ferrar, esgob Ty Ddewi."

*Camarferiad o'r awdurdod a ymddiriedwyd iddo.*

1. Fod iddo (yr esgob) ar ei ddyfodiad i'r esgobaeth y tro cyntaf benodi ei ganghellydd trwy lythyron dirprwyaeth ei hun, gan adael allan enw ac awdurdod y brenin a gwneyd awdurdod a chyfreithiau trawsfeddiannol yn safon, trwy ba ryw awdurdod ei ganghellydd, yn wrthwynebol i gyfreithiau y brenin ac er iselhâd uchafiaeth ei fawrhydi, a ymwelodd â rhai deoniaethau yn yr esgobaeth, ac a rybuddiodd ganor (*chanter*) a glwysgor Ty Ddewi yn erbyn rhyw ddydd a lle i'r un bwriad ac amcan.

2. Er i'r rhagddywededig ganor a glwysgor yn garedig ddangos iddo feiau y ddirprwyaeth uchod, a nacäu ufuddhau i'w ofyniadau; eto yr esgob, gan barhau yn yr un ffordd, a osododd ym mywoliaeth Penbryn un John Evans, trwy awdurdod yr hen gyfraith drawsfeddiannol, heb enwi ei fawrhydi y brenin, i'w fawr ddirmyg a sarhâd.

3. Pan y darfu i'r canghellydd a'r periglor cyffredinol yn gyfreithlawn, trwy awdurdod y brenin, sefydlu un John Gough ym mhersoniaeth Hayguard, gyda'r holl freintiau perthynol iddi, i'r cyfryw fywoliaeth o dan ei sel freninol, ac wedi gwneyd y cyfan mewn dull rheolaidd ac awdurdodol; er hyny, yr esgob a lwys-fuddiodd (*inducted*) un Harri Gaddard i'r fywoliaeth hòno, gan beidio gwneuthur son am awdurdod a goruchafiaeth y brenin, mewn sarhâd a dirmyg ar uchelder ac urddas y goron.

4. Yr esgob, ar ol gosodiad a glwysfuddiad y Goddard uchod, a ormesodd y dywededig John Gough, yr hwn oedd osodedig yn gyfreithlawn fel o'r blaen, gan ei wysio o le i le hyd nes o'r diwedd efe a bannododd (*articled*), ym mhlith pa fannodau yr oedd yn gynnwysedig, "*Item, interrogatur quo titulo tenet rectoriam de Haysguard;* felly yn priodoli iddo ei hun adnabyddiaeth o'r hawl a'r oll o'r elw a'r dadogaeth.

5. Mae yn gwneuthur ei gyfleadau a'i osodiadau i fywoliaethau yn gyffredinol yr un modd a'r un gyntaf, gan adael allan enw ac awdurdod y brenin heb enwi ei uchafiaeth.

6. Efe a benododd i'r un fywoliaeth dri pherson gwahanol, gan roddi i bob un gyfryw awdurdod, teitl, a hawl, ac oni bai doeth ragwelediad ynadon heddwch a chyfeillion y perigloriaid, buasai anghyfleusdra mawr wedi ei achosi.

7. Yr esgob yn gorchymmyn lluddwysau ("*caveats*") i gael eu rhoi mewn bywoliaethau, a gwybod fod yr urddeb yn gyfreithgar (*litigious*), a osododd mewn perigloriaethau heb brawf o'r hawl na rheol.

8. Efe a gyfarwydda ei archwysau i wŷr anghyhoedd, ac nid i'r archddiaconiaid neu eu dirprwywyr, yn wrthwynebol i'r ddeddf, er ei fod wedi cael ei wahardd gan ddynion dysgedig.

9. Heb wybodaeth neu ymarferiad o'r gyfraith eistedda yn ddyddiol, yn y cynauaf ac amserau ereill ar achosion, heb gynnorthwy un dysgedig yn y gyfraith, a neb ganddo ond plentyn annysgedig, yr hwn nad yw yn nodiadur (*notary*), fel ysgrifenydd, heb gadw y gyfraith na threfn resymol.

10. Y mae efe a'i is-swyddogion yn priodi heb trwy ostegion.

11. Er i un Thomas Prichard, ei gaplan, briodi heb ostegion mewn ty anghyhoedd ryw offeiriad, â chwaer yr un a oedd i fod i'w phriodi i'r offeiriad hwnw, yr hwn a adawodd ei Eglwys heb Wasanaeth, gan i'r briodas gymmeryd lle ar ddydd Sul; ac er iddo gael ei hysbysu o'r troseddau, ni wnaeth efe ond cyflëu ar y troseddwyr ffafrau arbenig yn lle cosp haeddiannol.

(*I'w barhau.*)

---

Gwell yw boddlonrwydd heb y byd, na'r byd heb foddlonrwydd.

## Y MILFLWYDDIANT WRTH Y DRWS.

*Dai.* Y mae'r cyfnod hynod hwn ym mron â gwawrio ar ein gororau ni, pan y bydd y gwylwyr yn gweled llygad yn llygad—pan y bydd y blaidd yn trigo gyda'r oen, a'r llewpard yn gorwedd gyda'r myn; y llo hefyd a chenen y llew, a'r anifail bras, yn byw yng nghyd, a bachgen bychan yn eu harwain—pan y bydd y cleddyfau yn cael eu curo yn sychau a'r gwaewffyn yn bladuriau: ni chyfyd cenedl gleddyf yn erbyn cenedl, ac ni ddysgant ryfel mwyach—a phan y bydd *un* gorlan ac *un* Bugail, sef yr Arglwydd Iesu Grist. O gyfnod bendigedig a gwynfydedig! Prysured Duw yr amser hwn i ben. Amen. Ië,

"Gwawria, gwawria hyfryd foreu
Ar ddiderfyn fagddu fawr,
Nes bo bloedd yr euraidd udgorn
Yn dadseinio nen a llawr—
Holl derfynau
Tir Immanuel i gyd." Amen.

*Ned.* Pa fodd yr wyt ti, Dai, yn beiddio meddwl a dywedyd y fath bethau a hyn?

*Dai.* Trwy sylwi ar arwyddion yr amserau, bid sicr.

*Ned.* Pa arwyddion o hyn yr wyt ti yn weled yn y dyddiau rhai'n?

*Dai.* Mi a ddywedaf wrthyt, os byddi mor fwyn ac amyneddgar a rhoddi clustymwrandawiad i mi.

*Ned.* Gwnaf, gwnaf yn rhwydd i ddyn deallus, gwybodus, a chraffus fel tydi, fy hen gyfaill. Dos ym mlaen, Dai.

*Dai.* Wel, ati hi o ddyfrif, fy machgen anwyl i. A ydwyt, Ned, ddim wedi sylwi a deall fod yr Ymneillduwyr o bob enwad, yn bregethwyr ac yn braidd, am ddyfod yn ol i fynwes yr hen fam; canys ti a weli fel y maent yn ei hefelychu ym mhob dull a modd, ac yn defnyddio enwau, teitlau, dulliau, graddau, a gwisgoedd eglwysig.

*Ned.* Ydwyf, yr ydwyf wedi sylwi ar lawer o bethau yn yr ystyr a'r cyfeiriad yna; ond pa rai yr wyt ti yn feddwl ac yn olygu, Dai?

*Dai.* Wel, dyna yn laf yr enw neu'r teitl "*Reverend*" neu y Parchedig. Yr ydwyf yn cofio amser pan nad oedd neb ond yr offeiriaid *yn unig* yn defnyddio y teitl hwn. Enwau syml a dirodres a ddefnyddiai yr hen bregethwyr; dim ond yr enw Bedydd a'r cyfenw, megys Moses Jones, David Davies, William Williams, &c. Ond yn awr, os gwelwch chwi fod yn dda, y mae yn rhaid i bob crwtyn difarf a disynwyr ag sydd newydd godi ei ddosbarth isaf oddi ar y *settle*, neu daflu y nodwydd a'r edeu, neu y gaib a'r rhaw o'i law i'r ffos, gael defnyddio yr enw hwn. O enw bythchwennychadwy! yr hwn yn ddiweddar a fu dan gymmaint o sylw mewn papyrau a llysoedd yn Lloegr, ac yn y *Western Mail* yng Nghymru gan X. XX. XXX., &c. Ond buasai yn well ac yn ddoethach, yn ol fy marn ddiduedd i, iddynt adael y drafodaeth yn llonydd. Fe wnaeth fwy o ddrwg nag o ddaioni; a diolch i chwi, *Mr. Editor*, am roddi terfyn ar y ddadl hòno. Yn awr, y mae yr Arglwydd Ganghellydd wedi penderfynu y gall pob Jack pen 'stôl, pen sach, neu pen faril ddefnyddio yr enw hwn; ac nid rhyfedd, mewn canlyniad, fod llawer iawn o offeiriaid parchus ac egwyddorol, a Mr. Spurgeon yn y cwmni, yn bwriadu ymwrthod ag ef. "*Tempora mutantur, et nos mutamur in illis*," yr hyn, er mwyn y Cymro uniaith, yw, fod yr amserau yn cyfnewid, a minnau yn cyfnewid ynddynt hwy.

*Ned. Bravo*, Dai; ïe, *bravissimo*, Dai; yr wyf yn gallu canfod ergyd neu amcan dy ymresymiad heb gynnorthwy yr un spectol ar *fridge* fy *nose*.

*Dai.* Galw, Ned, ar Jack, Twm, Mali, a Doli, i ni gael canu yr emyn ganlynol o orfoledd am ddychweliad yr afradloniaid yn ol i go'l eu mam:—

(*Tôn—Johanna, mesur* 11*au*, 4 *llin*.)

"Rhyfeddwn, crechwenwn, dyrchafwn ein llef
Mewn seiniau clodforedd i fyny i'r nef;
Y crwydriaid afradlawn o gam bach i gam,
Ddychwelant o'r diwedd i fynwes eu mam."

SYLWEDYDD SALA' YDYW.

---

## TRAETHAWD AR ORIAU HAMDDENOL Y GWEITHIWR—PA FODD Y DYLID EU TREULIO.

WRTH "oriau hamddenol" y golygir y darnau gwerthfawr hyny o amser sydd yn eiddo i bob dyn ar ol darfod â'i orchwylion neu ei ddyledswyddau bydol yn y dydd. Mae yr "oriau" hyn i ryw fesur ym meddiant holl ddynolryw, pa faint bynag ydyw yr amrywiaeth a berthyn i'w sefyllfaoedd a'u galwedigaethau. Rhyw etifeddiaeth fras ydyw yr "oriau" hyn ag y mae Awdwr y cyfan wedi cynnysgaeddu ei holl greaduriaid rhesymol â rhyw gymmaint o honi. Gwir nad ydyw pawb yn meddu graddau cyfartal o'r cyfoeth hwn mwy nag o bethau ereill; er hyny, gellir beiddio dyweyd fod bron holl blant dynion yn sefyll ar dir digon manteisiol iddynt allu dyweyd fod ganddynt ryw gymmaint o amser iddynt eu hunain. Ië, gallwn anturio dyweyd hefyd na fu erioed ym meddiant corff y ddynoliaeth fwy o amser rhydd, heb ei feichio â gwahanol orchwylion bydol, nag sydd ganddynt yn yr oes hon. Ac, ar y cyfan, gellir dyweyd fod yr hwn sydd yn dibynu am ei fywoliaeth ar lafur ei ddwylaw, yn meddu hawl fwy cyflawn ar ei "oriau hamddenol" na dynion ereill sydd yn troi mewn cylchoedd uwch, ond yn gorfod rhoi gwasanaeth eu hymenyddiau yn fwy trylwyr i'w gorchwylion "mewn amser ac allan o amser." Fel rheol, gellir dyweyd am y dosbarth gweithiol fod yr oll o'r amser a dreuliant ar ol gorphen eu diwrnod gwaith, yn hollol at eu gwasanaeth i'w dreulio i'r dybenion a ewyllysiont. Ac, yn wir, nid ychydig iawn mewn nifer ydyw yr "oriau" gwerthfawr hyn yn ein gwlad ni, yn enwedig yn y rhanau gweithfaol. A chan eu bod yn lluosog mewn rhif, ac yn bwysig o ran eu gwerth, amlwg ydyw y dylai fod gan bob dyn ryw gynllun neillduol i'w hiawn dreulio. Tybiwn y gall oriau llafur y dydd ddwyn digon o elw at gynnysgaeddu y corff â defnyddiau i ymborthi ac i ymddilladu; ac felly, ein barn ydyw, y dylai y rhan arall, a'r bwysicaf o lawer o'r dyn, lyncu i fyny wasanaeth yr oriau hamddenol yn llwyr iddi ei hun.

Am y mwyafrif o lawer o'r dosbarth gweithiol, gellir dyweyd nad ydynt yn *ymdeimlo ag unrhyw ddyledswyddau neillduol* pellach na dilyn eu galwedigaeth fydol, er sicrhau bywoliaeth iddynt eu hunain ac i'w teuluoedd. Ysywaeth, ceir lle cryf i gredu mai hyn ydyw yr *unig* nod sydd yng ngolwg corff mawr y dosbarth gweithiol yn ein gwlad. Ond er mai felly y ceir hwynt yn gyffredin, rhaid ydyw cydnabod fod gan ddyn ryw gymmaint o nerth yng ngweddill ar ol darfod â'i orchwylion dyddiol erbyn yr hwyr. Dyna ddyn yn gorphen â'i lafur dyddiol, dywedwn am bump o'r gloch yn y prydnawn, ac nid ä i orphwys o bosibl cyn deg yn yr hwyr. Wel, dyna bump awr o amser gwerthfawr at ei wasanaeth i'r peth a ewyllysio. Y cwestiwn pwysig sydd yn ymgodi i'n sylw cyn myned ym mhellach ydyw, pa fodd y mae iddo eu treulio yn briodol? Pa fodd y mae iddo sicrhau yr elw a'r adeiladaeth fwyaf iddo ei hun trwyddynt? Dilys mai nid trwy adael iddynt lithro ymaith heb gyflawnu unrhyw orchwylion ynddynt; ond o ran hyny, nid oes berygl y byddo iddo ymddwyn felly, o blegid y mae pob awr a eheda ymaith oddi wrthym yn llwythog o ryw weithredoedd, ymddyddanion, neu syniadau. Ni oddefa y Diafol i ddyn fyw yn hir heb un gorchwyl ganddo cyn y chwilio ef am rywbeth

iddo i'w gyflawnu. Ceir dwy ddiareb dra chywir—un ym mhlith y Tyrciaid, a'r llall ym mhlith yr Yspaeniaid. Medd un, "Ni flinir dyn diwyd ond gan un cythraul, ond y segur gan fil." Medd y llall, "Dynion yn gyffredin a demtir gan y cythraul; ond y mae y dyn segur yn temtio y cythraul." Felly, fe welwn ar unwaith ei fod o'r pwys mwyaf i'r dyn pa fodd y treulio ei "oriau hamddenol." Mewn gwirionedd, yn ystod ei oriau hamddenol y mae dyn yn ffurfio neillduolrwydd ei gymmeryd fel bod rhesymol. Yn ystod ei oriau gwaith, mae yn rhwym i fesur pell iawn gan yr hwn a wasanaetha; ond yn ei oriau hamddenol, mae yn fod rhydd i ddilyn a gweithredu tueddiadau ei ewyllys. Mae yn yr adegau hyn yn dangos yn eglur i'r byd yr hyn a fyn ac a ewyllysia fod ar bob golygiad.

Bellach, rhaid i ni ymdrechu myned i mewn yn llwyrach i bwnc ein hysgrif; ac wrth wneyd hyny, geisio cadw mewn cof yr amrywiaeth mawr a berthyn i'r dosbarth gweithiol o ran eu gorchwylion, eu sefyllfaoedd, eu cyssylltiadau teuluaidd a chymdeithasol, yng nghyd â'r gwahaniaeth dirfawr sydd yng nghyfansoddiad eu meddyliau a'u tueddiadau. Yng ngwyneb yr amrywiaeth diderfyn yma, teimlwn mai cryn bwnc ydyw cael gafael mewn digon o gyfarwyddiadau hylaw ac esmwyth—y fath ag y gall pob gradd o'r dosbarth gweithiol eu derbyn, a gweithredu wrthynt. Modd bynag, hwyrach y gallwn roddi rhai awgrymiadau ag y gallant hawlio derbyniad a chymmeradwyaeth gyffredinol ar y cyfrif fod gan bob dyn ei "oriau hamddenol," fel yr awgrymwyd yn barod, a'i bod yn ddyledswydd ar bob dyn i'w hiawn dreulio. Nid eu treulio yn foesol a boneddigaidd yn unig a feddyliwn, cofier; mae hyny yn dda, cyn belled ag y mae yn myned. Ond nid felly mae "prynu amser." Wrth "brynu amser," rhaid talu yn bur ddrud am dano—gwneuthur y defnydd goreu o bob mynyd, a gadael i bob awr ehedeg oddi wrthym i'r byd arall yn llwythog o newyddion da am danom.

Wel, unwaith eto gofynwn y cwestiwn yn ffurfiol, pa fodd y dylai y gweithiwr dreulio ei "oriau hamddenol?" O hyn hyd ddiwedd ein hysgrif, ymdrechwn ateb y gofyniad oreu y gallom.

Ein gosodiad cyntaf ydyw, *y dylai y gweithiwr gyssegru ei oriau hamddenol yn llwyr at ddiwylliant ac adeiladaeth feddyliol, cyn belled ag y byddo ei amgylchiadau yn caniatäu.*

Awn ym mlaen bellach i brofi y gosodiad hwn, fel y gallwn deimlo fod tir diogel dan ein traed cyn ymlwybro gam ym mhellach. Mae y cyfnod dedwydd hwnw yn prysur wawrio yn awr pan y mae'r werin yn gyffredinol wedi dyfod i werthfawrogi addysg a diwylliant meddyliol. Y mae y fath welliant a chynnydd pwysig wedi cymmeryd lle mewn cyssylltiad â masnach ac â chelfyddyd yn ystod y ganrif ddiweddaf, fel nas gall unrhyw ddyn fod yn aelod gwasanaethgar yn y gymdeithas ddynol heb iddo fod i ryw fesur yn ddysgedig. Ac yng ngwyneb hyn, rhaid i nos gaddugol anwybodaeth ffoi ymaith o wyddfod pelydrau tanbaid haul gwybodaeth a diwylliant. Felly, y mae hyd yn oed y personau distadlaf ym mysg y dosbarth gweithiol wedi eu gosod erbyn hyn ar dir ag y mae yn rhaid iddynt ymosod o ddifrif ar y gorchwyl o ddiwyllio eu meddyliau, neu gael eu hystyried yn sorod pob dim ac yn wehilion cymdeithas. Wel, yn hytrach na syrthio i'r dynged ddarostyngedig yna, y ffordd oreu i bob gweithiwr sydd heb fod o dan driniaethau addysg o gwbl, ydyw dechreu gydag egni a phenderfyniad disigl ar y gwaith buddiol o ddiwyllio ei feddwl yn ystod ei oriau hamddenol. Mae y cyfryngau trwy y rhai y gall wneuthur hyn yn amryw-

iol a lluosog, a gall ymddiried i'w ddoethineb a'i brofiad ei hun yng nghylch y drefn o'u defnyddio. Y mae yn eglur fod rhyw dalent neu allu mwy neillduol na'u gilydd ym mhob dyn: mae gallu ym mhawb i ragori mewn rhyw gwrs neillduol, ac y mae o bwys i bob dyn ddeall ei ragoriaethau a'i wendidau naturiol. Ond yn hytrach na dilyn y cwrs hwnw yn hollol ar unwaith, tybiwn mai yr hyn a ddylai pob gweithiwr ei wneyd ydyw ymdrechu ei oreu i ddysgu ei hun yn gyntaf oll yn *elfenau gwybodaeth gyffredinol*, er ei gymhwyso i droi yn hwylus a moesgar yng ngwahanol gylchoedd cymdeithas. Er enghraifft, bwriwn fod dyn ieuanc ugain oed yn meddu archwaeth gref at gerddoriaeth neu farddoniaeth, neu at rywbeth arall, ond yn llanc pur annysgedig dywedwn yn elfenau rhif a mesur, hanesiaeth, daiaryddiaeth, &c. Wel, onid ffolineb dirfawr fyddai i'r cyfryw un droi holl ffrydlif adnoddau ei enaid yn llwyr a hollol at un o'r gwybodaethau cyntaf a enwyd, ac yntau yn gwbl annysgedig yn y cangenau ereill, y rhai o'u gwybod sydd yn addasu cymmaint ar ddyn i fod yn aelod defnyddiol a gwerthfawr o gymdeithas. Wel, ynte, ein gosodiad ni ydyw, y dylai pob gweithiwr gyssegru rhan helaeth o'i oriau hamddenol yn barhäus i ddiwyllio ei feddwl yn y cangenau uchod. Ac os bydd ei brif dueddfryd at farddoniaeth, cerddoriaeth, ieithyddiaeth, neu at ryw bwnc arall, caffed hyny fod yn brif wrthddrych ei efrydiaeth, ond nid ar draul llwyr esgeuluso pethau defnyddiol ereill. Ein barn ydyw, y dylai dynu allan gynllun ysgrifenedig iddo ei hun gogyfer ag oriau hamddenol pob dydd. Heb law hyn, mae llawer o berygl i'w ymdrechion brofi eu hunain yn aneffeithiol i fesur helaeth. Bwriwn ei fod yn darllen llawer yn barhäus, eto ni byddai hyny yn ateb cystal dyben a phe byddai wedi tynu allan gynllun iddo ei hun yng nghylch pa lyfrau i'w darllen, yng nghyd â manylion ereill perthynol i'w astudiaeth. Byddai hyn hefyd yn dra thebyg o fod yn foddion effeithiol iawn i gadwyno a darostwng y duedd wibiog ac aflonydd sydd yn y meddwl, a gwneuthur iddo aros gyda phwnc ei efrydiaeth nes ei orchfygu. Pan y ffurfia dyn ryw fath o reolau iddo ei hun, bydd yn dra thebyg o deimlo y rhai hyny fel math o hualau trymion am ei draed, ac os neidia allan o honynt bydd yn rhwym o gael ei flino gan deimlad o anffyddlondeb tuag ato ei hun. Ac ar ol iddo ddechreu cadwyno ei feddwl unwaith, daw y gorchwyl yn hawddach bob tro mewn canlyniad i hyny.

Mewn gwirionedd, ni bu un oes yn hanes holl genedloedd y ddaiar yn fwy llawn o gyfleusderau i'r dosbarth gweithiol gyrhaedd diwylliant meddyliol yn ystod ei oriau hamddenol nag ydyw yr oes hon o'r byd. Mae cyflawnder o lyfrau da ar bob cangen mewn gwybodaeth i'w cael am brisoedd hynod o isel; ac yn fwy na hyny, mae lluaws o lyfrau wedi eu darparu yn arbenig ar gyfer y rhai hyny nas gallant fforddio cynnal eu hunain mewn ysgolion a cholegau, fel y gellir bron ddywedyd fod yng ngallu yr hwn sydd yn dilyn ei galedwaith dyddiol i ddyfod yn gystal ysgolhaig a phe byddai yn treulio ychydig dymmorau mewn athrofa, dim ond iddo ymroddi yn egnïol a phenderfynol. Heb law hyny, ceir manteision ysgolion nos, darllendai, darlithiau, &c., yn y trefi poblogaidd; a gallwn ddyweyd yn hyderus y byddai pob gweithiwr ar ei ennill yn fawr o *ymrwbio* llawer yn y rhai hyn.

Mae yn drueni dybryd fod llawer o weithwyr yn treulio yr oll o'u horiau hamddenol yn y tafarndai, y chwareudai, ac ar hyd gonglau yr heolydd, ac megys yn chwilio ac yn dyfalu am ryw ffordd lygredig i dreulio eu horiau ymaith. Ië, yn

wir, gallwn ddyweyd mwy na hyna—mae y fath swyn i lawer o'n gweithwyr yng nglŷn â'r lleoedd llygredig a nodwyd, fel yr esgeulusant eu gorchwylion bydol yn aml er cael gwell cyfleusdra i ddilyn nwydau a blysiau llygredig eu calon. Teimlant fod eu horiau hamddenol hirfaith yn rhy brin iddynt allu gwneuthur chwareu teg â'u nwydau llygredig. Ow, syniad ofnadwy! Oni byddai yn llawer mwy buddiol i'r cyfryw ddynion dreulio eu horiau hamddenol mewn efrydiaeth ddyfal, yn hytrach na dinystrio eu hunain gyda phethau anweddaidd ac annuwiol? Pe buasai y dosbarth gweithiol fel corff wedi dysgu *caru efrydiaeth* a'i dilyn, mor wahanol a fuasai agwedd ein gwlad i'r hyn ydyw yn bresennol; gymmaint mwy o ddedwyddwch a llai o drueni a fyddai yma. Ond nid y rhai hyny a dreuliant eu horiau yn y tafarndai, a lleoedd llygredig o'r fath, ydyw yr unig rai a ddifrodant eu hamser. Ceir dosbarth arall o'r radd weithgar, mwy pur eu cymmeriad moesol rhaid addef, ond eto yn ymddwyn yn annheg ac anonest i'r eithaf tuag at eu horiau hamddenol. Eu prif bleser hwy ydyw eistedd yn y gornel trwy ystod oriau yr hwyr i fwynhau eu hunain trwy fygdarthu myglys, ac adrodd a gwrando "gwrachïaidd chwedlau:" dyna ydyw hoffder penaf nifer luosog iawn o weithwyr ein gwlad trwy gydol yr oriau meithion a ddeuant i'w rhan ar ol gorchwylion y dydd. Mae y dynion hyn eto yn llofruddion i'w horiau a'u cyfleusderau gwerthfawr; gwell ganddynt hwythau segura a chysgu eu horiau ymaith na chyflawnu un rhith o orchwyl meddyliol ynddynt. Cawn ddosbarth arall yn mysg y gweithwyr sydd i ryw fesur yn bobl lên-garol: talant gryn lawer o sylw i gynnwysiad y newyddiaduron, yn enwedig y darnau mwyaf dyddorol a phoblogaidd ynddynt; ond er hyny, heb erioed feddwl am ddefnyddio newyddiadur, na llyfr o unrhyw fath, yn gyfrwng i'w cynnorthwyo i feistroli unrhyw wyddor neu ddysg. Darllenant dwysged o ryw bethau, ond eto heb wneuthur hyny i un pwrpas neillduol; ac felly, y maent yn byw yn hynod o arwynebol ac anwybodus wedi'r cyfan. Cyn byth y gellir llwyddo mewn unrhyw beth, rhaid ydyw gosod y peth hwnw yn nod i'r meddwl gyrchu ato; ac ond gwneuthur hyny, a dyfalbarhau yn benderfynol, byddir yn sicr o lwyddo.

Yn wir, pan roddwn ystyriaeth deg i'r mater, nis gallwn lai na chredu y gallasai rhai o'r prif feddwon a geir ym mysg y dosbarth gweithiol yng Nghymru y dyddiau hyn fod ym mysg prif ddynion ein cenedl fel dysgedigion, pe buasent ond wedi rhoddi iawn gychwyniad iddynt eu hunain yn ystod eu horiau hamddenol tra yr oeddynt yn ieuainc. Ow! drueni dybryd fod dynion yn *mynu* gwneuthur ffyliaid o honynt eu hunain yng nghanol pob cyfleusderau a chefnogaeth i ymddyrchafu i binaclau euraidd dysg, cyfoeth, a gras. Os ydym yn cofio yn dda, dywed y Cadeirdraw Stuart fod yng ngallu y rhan fwyaf o weithwyr a dynion cyffredin i ddyfod yn Roegwyr ac yn Hebrewyr da pe meddent ddigon o wroldeb ac amynedd i ymaflyd yn y llafur angenrheidiol er cyrhaedd hyny. Hen dyb gyfeiliornus a niweidiol iawn sydd yn ffynu ym mhlith y dosbarth gweithiol trwy'r blynyddau ydyw, fod yn ammhosibl i neb ond gwŷr y colegau a lleoedd cyffelyb ragori mewn dysg a gwybodaeth. Ni fu erioed gamgymmeriad mwy dybryd. Pa beth, atolwg, a ddywedwn am y "cwmwl tystion" sydd yn profi fel arall? A oes neb ond gwŷr yr athrofëydd wedi ymgodi i sylw ac wedi ennill enwogrwydd anfarwol i'w henwau? Pa beth am Johnson a Greely yn America? pa beth am Bunyan a Baxter yn Lloegr? pa beth am Christmas Evans a John Elias, yng nghyd â channoedd rhy faith i'w

henwi? Nid oes angen i'r gweithiwr tlotaf a distadlaf roddi i fyny y syniad o ddyfod yn ddysgedig os yw yn teimlo awydd gwirioneddol i ddyfod. Cofier am Livingstone dlawd, ddinod: y fath ddefnydd a wnaeth ef o'i oriau hamddenol, "mewn amser ac allan o amser." Pa beth a fu y canlyniad? Mae y byd mawr llydan yn gwybod yn ddigon da heddyw; ac nid oes berygl y syrth enw mor anwyl byth i ebargofiant. Wel, efelyched pob dyn ieuanc o weithiwr sydd yng Nghymru y cymmeriad ardderchog hwn, neu rywun arall cyffelyb, a chânt weled y bydd y canlyniadau yn ddymunol iawn. Gwir nad oes gan y gweithiwr gystal mantais a'r hwn sydd yn cyssegru ei amser yn llwyr at efrydiaeth; ond er hyny, gwnaed ef y defnydd goreu o'r manteision sydd yn ei feddiant, a daw amser pan y syna at ei gynnydd. Pe meddyliem am weithiwr yn cyflwyno ond hanner awr o'i amser hamddenol bob dydd at efrydu gramadeg neu rifyddiaeth, a hyny o ddifrif, pwy a ŵyr y cynnydd a wnai yn y gangen hòno yn ystod deng mlynedd o amser? Gwyddom am un o ddynion dysgedicaf ein cenedl, yr hwn a fu farw yn ddiweddar, a ddarfu efrydu y Lladin yn hynod o dda wrth fyned i'w a dychwelyd o'i waith foreu a hwyr, yng nghyd ag yn ystod yr "awr ginio." Ffrwyth yr ymdrech dyfal hwnw a fu dyrchafu bachgen o saer cyffredin yn athraw enwog yn un o athrofëydd Cymru, Pan y gofynwyd i Luther pa fodd yr oedd wedi gallu gwneyd cyfieithad mor gywir o'r Beibl yng nghanol ei deithiau a'i lafur cyffredinol, gyda phethau ereill, ei atebiad oedd, "Nid un diwrnod heb adnod." Ac felly, aeth dros yr holl Feibl ym mhen ychydig o flynyddoedd. Onid trwy lafur diflino o'r fath y darfu i Dr. Carey hefyd ddyrchafu ei hun o fod yn grefftwr tlawd i fod yn un o brif ieithwyr ei oes. Yn wir, credwn mai y dynion hyny sydd wedi ymgodi i fri fel llenyddion a dysgawdwyr o fysg y dosbarth gweithiol sydd fel rheol wedi gosod yr argraff ddyfnaf ar feddwl y byd. Rywsut nas gallwn ei esbonio, maent yn meddu cryfach dylanwad na neb ereill ar gymdeithas. Gwyn fyd, ynte, pe tueddid mwy o'n gweithwyr at y gorchwyl o ddiwyllio eu meddyliau yn ystod yr oriau a ddarparodd Rhagluniaeth ar eu cyfer i'r perwyl hwnw. Beiddiwn ddyweyd eto mai egni a phenderfyniad disigl sydd yn angenrheidiol i'r gweithiwr distadlaf er cyrhaedd grisiau uchel iawn mewn dysg a gwybodaeth. O na allai gweithwyr ein gwlad gredu hyn yn sylweddol.

Ond gan nad yr un ydyw sefyllfa, oedran, ac amcanion pawb o'r dosbarth gweithiol, hwyrach y dylem sylwi rhyw gymmaint ar y neillduolion hyn. Mae cyflawnder o ryw orchwylion buddiol i'w cyflawnu gan bob gweithiwr pe ymdeimlai â'i ddyledswydd. Er enghraifft, y mae llawer o waith gan bob penteulu i addysgu a moesoli ei blant: dylai gyssegru rhyw ran o'i amser hamddenol at y gorchwyl pwysig hwn yn barhäus, onid e fe ganfyddir diffyg dysgyblaeth deuluaidd yn fuan ar y plant a ymddiriedodd yr Arglwydd i'w ofal. Yn sicr, nis gall unrhyw dad pwyllus ac ystyriol, sydd yn arfer edrych ar bethau mewn goleuni priodol, fforddio gwastraffu ei amser gwerthfawr ym mysg y meddwon, ac ar hyd conglau yr heolydd, ac anwyliaid ei galon yn tyfu i fyny yn anwybodus ac anfoesol. Pe heb un rhith o orchwyl arall ag angen ei gyflawnu, y mae gan bob rhieni gyflawn waith i addysgu a moesoli eu teuluoedd. Credwn hefyd fod gan bob Cristion proffesedig o weithiwr lawer o waith yn ystod ei oriau hamddenol i eangu ei syniadau mewn gwybodaeth dduwinyddol, ac i buro a dyrchafu ei chwaeth trwy fyfyrdodau crefyddol a duwiolfrydig. Mor ddilewyrch ydyw llawer Cristion proffesedig o ran ei grefydd allanol

a'i brofiad tufewnol. Yn sicr, yr hyn sydd yn cynnyrchu y marweidd-dra a'r llwydni crefyddol a ganfyddir ar lawer Cristion proffesedig ym mysg y dosbarth gweithiol ydyw y diogi a'r diffrwythdra gyda'r hwn y treulia ei oriau hamddenol. Mor ddyeithr i'r Beibl, ac i bob myfyrdodau ac ymddyddanion crefyddol, y ceir llawer proffeswr Cristionogol ym mysg y dosbarth gweithiol ar hyd holl oriau hamddenol eu bywyd. Pa ryfedd, ynte, eu bod yn llac a dilewyrch fel crefyddwyr, ac yn bŵl a chrebychlyd eu meddyliau, ar bob golygiad?

Tybiwn ein bod bellach nid yn unig wedi tynu cynllun i bob gradd o'r dosbarth gweithiol i dreulio eu horiau hamddenol, ond hefyd wedi attegu y cynllun hwnw â phrofion dros ei gywirdeb. Gan hyny, awn yn ein blaen bellach i roddi rhai cyfarwyddiadau manylach yng nghylch y dull mwyaf effeithiol i efrydu yn llwyddiannus.

Yn y lle cyntaf *mae yn rhaid wrth ddiwydrwydd diflino.* "Llaw y diwyd a gyfoethoga," medd yr Ysgrythyr; ac mae yr un gwirionedd i'w briodoli at waith y meddwl yn gystal a'r corff. Hwyrach nad oes yr un gelyn yn ymosod yn fwy arfog ar bob efrydydd na'r hwn a elwir *diogi*, na'r un ychwaith, os ymollyngir gydag ef, yn profi ei hun yn ddinystrydd llwyrach. Ond rhaid i bob dyn ag sydd yn bwriadu gwneyd ei ol ar y byd fynu ei orchfygu. Trwy ddiwydrwydd gellir cyflawnu gorchwylion anhygoel. Yr ydym yn synu weithiau pa fodd yr ysgrifenwyd yr holl gyfrolau gan ddynion yn yr oesoedd a aethant heibio; ond fe eglurir yr holl ddirgelwch gan y gair *diwydrwydd.* Dywed yr enwog Johnson fod yr hwn a gerddo yn fywiog am dair awr bob dydd, mewn saith mlynedd wedi teithio cymmaint a chylched y ddaiar. Y mae y dyn segur yn myned yn raddol yn Indiad swrth o ran ei deimladau, ac yn ddiarwybod iddo ei hun yn defnyddio ei ddiareb, "Y mae yn well cerdded na rhedeg, yn well eistedd na sefyll, ac yn well gorwedd nag eistedd." Felly, y feddyginiaeth oreu ydyw arfer diwydrwydd bob amser ym mhob awr hamddenol. Dywedir am yr hynod Rutherford "fod ei ddyfalwch a'i astudrwydd gymmaint, fel y gellid meddwl ei fod yn gweddïo yn wastadol, yn pregethu yn wastadol, yn egwyddori yn wastadol, ac yn ymweled â'r claf; yn cynghori o dy i dy, athrawiaethu cymmaint yn yr ysgolion, ac yn treulio cymmaint o amser gyda phregethwyr ieuainc i'w haddasu i waith y weinidogaeth, fel pe buasai wedi ymneillduo oddi wrth bob peth ond hyny, ac eto yn ysgrifenu cymmaint a phe buasai yn wastadol yn ei fyfyrfa." Gwyn fyd pe cawsem luaws o enghreifftiau tebyg i'r uchod ym mysg gweithwyr ein gwlad.

Peth arall ag y mae yn rhaid i bob efrydydd llwyddiannus wrtho yw *sefydlogrwydd diysgog.* Temtasiwn gref iawn i bob efrydydd, yn enwedig yn y cychwyn, ydyw rhoddi i fyny ei ymdrech mewn gwangalondid, os dygwydd i'r dasc fod dipyn yn galed, ac ymaflyd mewn rhyw bwnc arall ag y tybia y gall ei feistroli trwy lai o drafferth. Yn sicr, nis gall unrhyw efrydydd o nodweddiad felly lwyddo, yn neillduol os mai dim ond ei oriau hamddenol fydd ganddo at y gorchwyl. Rhaid ydyw glynu yn sefydlog wrth yr un mater, nes myned trwyddo yn llwyddiannus.

Yr awgrym nesaf a roddwn ydyw, y dylai pob gweithiwr sydd yn gosod gwerth priodol ar ei oriau hamddenol *ofalu am arfer manyldeb yn ei holl orchwylion.* Y cyfarwyddyd Beiblaidd ydyw, "Beth bynag yr ymafl dy law ynddo i'w wneuthur, gwna â'th holl egni." Pob peth sydd yn werth ei gyflawnu o gwbl, mae yn werth ei gyflawnu yn dda, ïe, mor dda ag y gellir. Ni ddylid gadael

i unrhyw bwnc lithro o'r meddwl heb ei lwyr efrydu. Wrth arfer gwneyd hyn yn y lleiaf, ni theimlir ef yn faich i'w gyflawnu yn y mwyaf hefyd. Os na ofelir am hyn yn brydlawn, nis gellir dysgwyl i un dyn ddyfod ond cymmeriad aflêr ac anghyflawn ar bob golygiad.

Wel, tybiwn ein bod bellach wedi traethu ein llên ar bwnc ein hysgrif yn y rhan fwyaf o'i agweddion, fel yr ymddengys i ni; ac er fod lluaws o'n sylwadau yn ammherffaith iawn, eto tybiwn fod y mwyafrif o honynt yn hawlio sylw a derbyniad ein cydweithwyr. Hyderwn nad ydyw yr adeg ym mhell pan y daw ein cydweithwyr yn gyffredinol i ganfod y perygl o gamdreulio eu horiau hamddenol, ac i feddu syniadau uwch am ddiwylliant, addysg, a chrefydd. Rhaid ydyw i bob dyn ddyfod i *deimlo* fod addysg a moesoldeb yn welliant personol o'r fath oreu, cyn byth y daw i wneuthur y defnydd priodol o'i oriau hamddenol; a phan y daw ein gweithwyr i edrych mewn goleuni priodol ar y mater hwn, bydd gwelliant yn sicr o gymmeryd lle. Wel, buan y gwawrio y cyfnod dedwydd hwnw.

MYFENYDD.

---

## BUGEILIAID Y BANAU.

*Iwan.* Nid yw yr enw Tori ddim ond gair cyfatebol am *ormeswr;* canys y mae gormes yn rhedeg trwy bob gwythïen o gyfansoddiad Torïaeth. Dyna Howel Gwyn, fel esampl; y mae ef yn troi rhai o'i ddeiliaid allan o'u ffermydd am bleidleisio yn ol eu cydwybodau yn y lecsiwn ddiweddaf.

*Gwilym.* Cydwybodau, yn wir; y mae cydwybodau rhyfedd gan rai o honoch, yn neillduol yn amser lecsiynau. Pa le yr oedd cydwybodau etholwyr Brycheiniog yn amser y lecsiwn ddiweddaf? yn addunedu i bleidio Mr. Gwyn, a phleidleisio yn ei erbyn ar ddydd y *poll!* Yr oedd eu cydwybodau y diwrnod hwnw yn cysgu: cydwybod lled dlawd sydd gan gelwyddwyr, ac mae yr enw celwyddgi wedi cael ei nodi ar dalcen llawer o etholwyr sir Frycheiniog. Y gwir yw, y pregethwyr politicaidd ydyw ceidwaid eich cydwybodau chwi. Gwae chwi, ragrithwyr dauwynebog, fe ddaw dydd y talu am y cyfryw bethau.

*Gruffydd.* Os torodd rhai eu hammodau, nid yw yn ddigon o reswm i Mr. Gwyn ormesu ar ei ddeiliaid.

*Hywel.* Yr ydwyf yn gwadu yr haeriad; nid oes dim angen am well meistr na Mr. Gwyn. Clywais fod rhai o'i ddeiliaid nerth braich yn ei erbyn: nid ydoedd Mr. Gwyn yn haeddu hyn. Pa ham na fuasai i etholwyr Brycheiniog ddywedyd yn agored na fuasai iddynt ei bleidio? buasai hyny yn fwy anrhydeddus na dywedyd anwiredd. Onid oes gan bob dyn ryddid i ddewis ei ddeiliaid, ei weithwyr, ei weision, a'i forwynion, heb osod ei hun yn agored i gael ei gyhuddo o fod yn ormeswr? ac mae gan bob deiliad, gwas, a morwyn hawl i newid eu meistri. Nid yw yn beth tebyg y gwnelai un o honoch gadw gwasanaethddynion nad ydych yn hoffi: nid yn aml y ceir gwasanaethddynion yn Eglwyswyr yn nhai capelwyr.

*Dewi.* Peth arall yw hyna; nid oes dim un cyssylltiad rhyngddo a'r pwnc.

*Hywel.* Yr ydych chwi yn honi bod hawl genych i ddewis y sawl a fynoch i'ch gwasanaethu, ac eto yr ydych yn gwadu ei hawl i Mr. Gwyn, os yw y 'stori yn wir, i ddewis ei ddeiliaid.

*Gwilym.* Rhyddid neillochrog ofnadwy ydyw eich rhyddid chwi—"rhyddid i ni ac i neb arall"—rhyddid i gelwyddoca; beth yw hyn ond Phariseaeth? Yr ydych chwi yn gweled brychau yn llygaid eich cymmydogion, ond nid ydych yn gweled dim o'ch drwg eich hunain. Cafwyd esampl o ryddfrydedd eich harweinyddion yn Llanelli, sir Gaer-

fyrddin, pan yr oedd Mr. Neville yn anerch yr etholwyr yno yn ddiweddar.

*Iwan.* Nid yw Mr. Neville ddim dyn o gwbl; aelod truenus yw ef, yn ol pob hanes. Mae Cymdeithas Ryddfrydol wedi cael ei sefydlu yng Nghaerfyrddin, yr hon a fydd yn foddion i'w droi allan rhyw ddiwrnod.

*Gruffydd.* Fe ddywedodd un o'n gweinidogion ni yng nghyfarfod y gymdeithas uchod nad oedd gweinyddiaeth Disraeli i barhau ddim ond hyd mis Mai.

*Gwilym.* Beth ŵyr y pregethwr dan sylw faint fydd iddi barhau? nis gall y crydd fyned ym mhellach na'i *last.* Yr ŷm yn gwybod rhywbeth trwy hanes am Mr. Neville a'i deulu; ond atolwg, pwy yw y Parchedig hwn sydd yn ei gondemnio? Yr oedd Cynddelw yn arfer dyweyd fod rhyw ddynion yn myned yn llai at y diwedd fel cynffon cath. Mae Radicaliaeth sectol yn myned yn feinach ac yn gulach bob dydd tuag at bawb sydd yn barnu yn groes iddynt. Bu rhyw Undodwr o sir Aberteifi yn gwyntyllu ei olygiadau yn Llanelli, a chafodd ei fobio gan ddynion a aeth i'r cwrdd o'r capeli, a gorfu iddo ddianc efo croen ei ddannedd dros ben wal ddeg troedfedd o uchder rhag dialedd pobl Llanelli heb un het!

*Dewi.* 'Does bosibl dy fod ti yn pleidio Sosiniaeth ac egwyddorion anghristaidd.

*Gwilym.* Nid oes dim a fynaf fi ag egwyddorion Undodiaeth; ond nid trwy fobiaeth y gellir rhoddi i lawr gau athrawiaethau. Ceisodd John Calfin wneyd hyn pan losgodd ef Michael Servetus; ond ni lwyddodd i ladd Sosiniaeth: y mae deuparth o ysbryd Calfin wedi cael ei drosglwyddo i lawr i chwi. Os ydyw yr Undodwyr mor adgas, pa ham y mae yr Independiaid yn anfon eu pregethwyr ieuainc dan ofal Undodiaid i goleg Caerfyrddin? Undodwr ydoedd y diweddwr Ddr. Lloyd, ac Undodwr hefyd oedd y diweddar Mr. Hunter.

*Iwan.* Nid oedd dim a fŷnent hwy â phynciau duwinyddol: athrawon clasurol oedd y rhai hyn.

*Gwilym.* Y mae yn anhawdd genyf gredu hyn: tebyg i ddyn fydd ei lwdn.

*Iwan.* Beth yw eich barn chwi am Fil Claddu Mr. Osborne Morgan; hwn ddaw i'r *front* ym mhen ychydig amser, ac y mae personiaid ac Eglwyswyr yn crynu yn barod wrth feddwl am wynebu Morgan a'i lu. Y mae yn ormes ac yn orthrymder ysbryd arnom ni, fel Sectau, na chawn gladdu ein meirw fel y gwelom yn dda. Mae yn well genyf weled dynion yn cael eu claddu heb un gwasanaeth o gwbl na chlywed hen ffregod yr offeiriaid.

*Hywel.* Paid brolian dwldod; mae callach dynion na neb sydd yn eich plith yn awr wedi cymmeradwyo Gwasanaeth Eglwys Lloegr. Nid yw y werin yn anfoddlawn i'r offeiriaid weinyddu wrth feddau eu cyfeillion. Nid yw hyn amgen nag ymgais am gael myned i'r pulpud: y mae y cynhyrfwyr hyn fel y cadnaw hwnw â'r grawnwin—pulpud yr Eglwys yn sur o blegid ei fod allan o'u cyrhaedd.

*Dewi.* Mae y Toriaid eglwysig yn meddwl y gallant wneyd pob peth tra mae y weinyddiaeth Ddisraelaidd yn ben; ond ni phar yn hir; maent yn methu cydweled eisoes: nis gall ty wedi ymranu sefyll.

*Gwilym.* Y mae y Rhyddfrydwyr wedi ymranu, ac fe gymmer lawer o amser i'w haduno. Cri Mr. Henry Richard a'i gynllun ydyw y dadgysylltiad; ond nid oes un o'r blaenoriaid — Mr. Gladstone, Ardalydd Hartington, a Syr William Harcourt —yn barod i'w gefnogi. Y mae y *Times*, a phapyrau ereill, yn condemnio y symmudiad. Nid oes dim ond yr helfa yn erbyn yr Eglwys a all eu huno; ond y mae hyn wedi troi allan yn aflwyddiannus. Mae

y Radicaliaid yn dair plaid, a phob plaid â'i harweinydd. Yn ol addefiad Ardalydd Hartington, y mae y wlad mewn cyflwr llwyddiannus, ac y mae y Weinyddiaeth yn rhoddi boddlonrwydd iddi. Nid oes dim angen am well prawf o allu a chraffder y Weinyddiaeth na phryniad Camlas Suez: y mae pob plaid yn ei chanmol.

*Dewi.* Pa ham na all yr offeiriaid bregethu fel ein gweinidogion ni? Mae yn ymddangos oddi wrth bregeth y Parch. John Griffiths, Merthyr, nad oes dim gallu pregethwrol yn yr Eglwys y mae ef yn perthyn iddi yng Nghymru: y mae gan bob un ei ddull difywyd.

*Gwilym.* Yr wyf yn barod i addef fod llawer o bregethwyr gwael yn llanw pulpudau yr Eglwys; ond y mae mwy o ffolineb yn cael ei draddodi ddeng waith yn y capeli. Swn heb ddim sylwedd yw cannoedd o bregethau sydd yn cael eu traddodi; cymmysgedd o boliticiaeth a chwedlau difyr, canys mae y Cymry yn hoffi y pregethwr *witty.* William Jones o'r Henblas pa ddiwrnod yn canmol y Parch. Solomon Jones am ei *wit,* a Sion y saer yn canmol Thomas Siams o Beulah am ei ystorïau. Sancteiddrwydd a weddai i dy Dduw, ac nid ysgafnder a chwedlau.

*Iwan.* Nid ydyw yr Amenau yn Eglwys Lloegr ddim ond ffurf oer a difywyd; y mae yn ddigon i rewi teimladau crefyddol y bobl. Yr ŷm ni yn llawn gwres a hwyliau yn ein hodfaon.

*Hywel.* Nid llawer o'r hen hwyliau sydd i'w cael yn eich plith yn awr: y mae ysbryd crefydd wedi oeri yn eich plith. Mae yn wir fod amenau a "Ha!" "Hm!" "Felly yn siwr!" "Dyna fe!" i'w clywed weithiau; ond mae yr amenwyr a'r hmwyr mor iach a'r cricsyn: arferiad yw y cwbl, a dim ond hyny. Nid oes dim yng ngweddïau Eglwys Lloegr yn rhwystr i un Cristion uniongred i ddywedyd "Amen;" ond mae y capelwyr yn gwaeddi "Amen" heb ystyried dim beth mae y pregethwr yn ddywedyd.

*Gruffydd.* Yr ŷm wedi colli yr hen deimlad da gynt; nid ydyw ein pregethwyr ddim mor ddefosiynol yn awr a'r hen amser. Nid oes dim yn awr ond balchder, bwriad drwg, ac anghariadoldeb yn ein plith. Os ydyw pregethwyr yr oes hon yng Nghymru yn fwy dysgedig, y maent yn fwy cul a mwy politicaidd na'r hen bobl.

---

## Adolygiad y Wasg.

A CHRONOLOGICAL AND *Geographical Introduction to the Life of Christ. By Ch. Ed. Caspari. From the Original German. Translated by Maurice J. Evans, B.A. Edinburgh: T. & T. Clark.*

Cyfieithad yw'r gyfrol hon o waith Almaenaidd o eiddo Ch. E. Caspari, llyfr ag sydd wedi ennill cryn enwogrwydd ym mhlith ei gydwladwyr. Bwriedir y gwaith i roddi ger bron y darllenydd hanes eglur a threfnus am helyntion bywyd Iachawdwr y byd tra yn preswylio ar y ddaiar, ac fel yr adroddwyd hwynt gan y pedwar efengylwr, cytundeb y naill a'r llall o'r rhai sydd yn cael ei brofi trwy ymchwiliad manwl o'u cynnwysiad â chyflead o'r tystiolaethau y maent yn ddwyn, er bod gwahaniaeth yn eu dull ac yn nhrefniad eu llyfrau.

Dosbarthir y gwaith yn chwech adran. Yr adran gyntaf a gynnwys ymchwiliad i mewn i amseryddiaeth Iuddewig; cyfnodau ym mywyd y Brenin Herod; a chyfnodau bywyd Crist; gydag amcan-gyfrifiad am y flwyddyn yn yr hon y ganwyd yr Achubwr Bendigedig. Barn yr awdwr yw i Grist gael ei eni ddwy flynedd cyn dechreuad y cyfrif derbyniedig, ac iddo gael ei groeshoelio ar ddydd Gwener, Ebrill 7, sef y 14ydd o Nisan, o'r flwyddyn o oedran Crist 30, fel yr ydym yn awr yn

ei gyfrif. Mae ei resymiadau ar y pynciau hyn yn gadarn a chywrain, ond yn rhy helaeth i'w rhoddi ger bron ein darllenwyr.

Cynnwys yr ail adran hanes am enedigaeth Ioan Fedyddiwr, genedigaeth yr Iesu, yng nghyd â hanes am ei fabandod a'i ieuenctyd.

Y drydedd adran a draetha am ddaiaryddiaeth ardaloedd yn cyffinio ar Fôr Gennesaret, yn yr hon y mae yr awdwr wedi gwneyd defnydd priodol o'r goleuni y mae teithwyr diweddar wedi daflu ar y rhan hon o'i bwnc.

Ceir yn y bedwaredd adran hanes am flwyddyn gyntaf o weinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd, gyda chydolwg ar y pedair Efengyl; traethir ar Fedydd Crist yn yr Iorddonen, dechreuad ei weinidogaeth gyhoeddus; y Pasc cyntaf; ei ail ymdaith yn Galilea; a'r ymweliad â Ierwsalem ar "Ddydd Ympryd yr Iawn."

Dilynir yr hanes yn y bummed a'r chweched adran, gan gyferbynu y gwahanol Efengylau â'u gilydd, a chan gloi y cwbl ag adolygiad beirniadol ac hanes am yr adgyfodiad.

Mewn attodiad y mae sylwadau dyddorol ar ffurf, a lleddarluniaeth dinas Ierwsalem. Eglurir y pwnc hwn â darlun hardd o'r ddinas, yn dangos y muriau, yr heolydd, a'r adeiladau amrywiol lle y bu ein Harglwydd yn llafurio, o'r Môr Marw hyd Tyrus ar lan Môr y Canoldir a Caisarea Philippi o'r tu mewn.

Nid gwaith pythefnos oedd gwaith ysgrifenu'r llyfr llafurfawr hwn, ac nid ychydig oedd y gwaith o'i gyfieithu i'r Seisoneg. Er mwyn ychwanegu at ei fuddioldeb, cyfoethogir y llyfr â dangoseg manwl yn cyfeirio at y pynciau amryfal a gynnwysir yn y gyfrol brydferth. Rhy aml yr esgeulusir yr attodiad defnyddiol hwn gan ysgrifenwyr; a lle nad ydyw'r cyhoeddwyr wedi gwella ar yr awdwyr, bydd o les i ddarllenwyr wneyd i fyny y diffyg drostynt eu hunain. Ond nid oes eisieu y fath drafferth ar y llyfr hwn. Mae y cyhoedd dan ddyled i Mr. Maurice J. Evans ac i'r cyhoeddwyr anturiaethus am yr ychwanegiad gwerthfawr a pherffaith hwn at eu hystôr o lyfrau duwinyddol Seisonig.

Nid ydym yn adnabyddus â'r cyfieithydd medrus; ond tueddir ni i feddwl ei fod wedi anadlu awyr bur mynyddoedd Cymru dros ryw ran o'i fywyd.

---

AREITHIAU Y PARCHN. J. *Morgan, Corris, a D. Evans, Llanwrin. Rhyl: J. Morris.*

MAE cyfargraff o'r llyfryn hwn wedi dyfod i'n dwylaw, pan yn myned â'r rhan olaf o'r rhifyn i'r wasg. Gwnaethpwyd yr areithiau yn neuadd tref Machynlleth, ar y 19ydd o Ionawr, mewn atebiad i haeriadau pleidwyr cyflogedig Cymdeithas y Dadgyssylltiad. Y mae yn llwyr ammhosibl i ni wneyd cyfiawnder â'r areithwyr trwy gynnyg rhoddi crynoad o'u hareithiau; a byddai yr un mor annheg â'n darllenwyr i wneyd cynnyg o'r fath. Danfoner at Mr. J. Morris, argraffydd, Rhyl, am y llyfryn. Ni roddir ei bris, ond gallwn farnu y byddai tair ceiniog yn sicr o ennill un i'r neb a ysgrifeno at Mr. Morris. Nis gellir defnyddio tair ceiniog yn well.

---

## Hanesion.

### AGORIAD Y SENEDD A'R ARAITH FRENINOL.

YR oedd y Radicaliaid yn meddwl y cawsent fodd i gnoi eu cul ar yr araith freninol. Yr oedd yr araith eleni yn un syml a phlaen; nid oedd dim cyfeiriadau bombastaidd at fesurau cyffröus ac addewidion oedd yn arfer cael eu gwneyd ar ddechreu pob Senedd er ys blynyddoedd bellach. Nid yw yn debyg y bydd i'r *critics* adael y cyfleusdra i fyned heibio heb ei hadolygu a nodi beiau allan fel cyfansoddiad.

Ar ol cyfeirio at y gwrthryfel yn Bosnia a Herzegovina, sylwodd yn syml ar bryniad *shares* Camlas Suez; ac yr oedd yn gobeithio y buasai i'r Senedd alluogi ei Mawrhydi i orphen y pryniad, yr hwn

sydd o'r pwys mwyaf i'r wlad. Y pwnc nesaf oedd ymweliad Tywysog Cymru ag India, a'r derbyniad croesawgar a gafodd yno. Rhoddodd y brawddegau ar Gylchlythyr y Caethion daw ar yr holl gleber a'r areithiau gwyntog a disynwyr ar y mater. Dywedodd fod y Llywodraeth am ddifodi caethwasanaeth os gellir; ac mae yn debyg y bydd i gommissiwn breninol gael ei benodi i wneyd ymchwiliad cytundebau sydd rhyngom â chenedloedd ereill ar y pwnc.

Mewn perthynas i faterion cartrefol, addawodd ddwyn mesur i mewn i benderfynu y cwestiwn am allu Llys Appêl Ty yr Arglwyddi, a gwella cyfreithiau y llongau, y rhai sydd wedi tynu sylw neillduol y wlad trwy Mr. Plimsoll ac ereill; yng nghyd â gwelliantau yn neddfau y prifysgolion, addysg, a llywodraethu carcharau. Bwriedir dwyn mesur i mewn i wella cyfraith Trethiad Lleol, yr hwn sydd yn faich trwm: nid oes dim dadl na rydd y mesur hwn foddlonrwydd cyffredinol. Nid oes un ammheuaeth na ddylai y gost o gynnal yr heddgeidwaid a gwallgofdai ddyfod allan o'r drysorfa genedlaethol.

Prif bwnc yr ymosodwyr oedd Cylchlythyr y Caethion; ond nid oedd gan Ardalydd Hartington ddim un goes i sefyll arni. Yr oedd yn gobeithio y bydd i'r Llywodraeth weithredu yn unol â theimladau y wlad ar fesur Mr. Plimsoll, yng nghyd ag ar addysg: os bydd i'r gwelliant hwn gael ei wneyd yn ofalus, bydd i'r rhanau gwledig dderbyn lles oddi wrtho. Dyna swm a sylwedd araith Ardalydd Hartington: ni chafodd Mr. Disraeli nemawr o drafferth i'w ateb.

## PRIODWYD,

Phelps—Dewhurst—Chwefror 14, yn Ambleston, Penfro, gan y Parch. T. Walters, periglor Maenclochog, y Parch. Peter Phelps, Parcyllyn, periglor Ambleston, ac Y.H. dros sir Benfro, ag Emily, gweddw y diweddar Richard Fleetwood Dewhurst, Ysw., Ellesmere Park, Eccles.

## BU FARW,

Jenkins—Ion. 29, Mrs. Rebecca Jenkins, Pen y Geulan, Borth, er mawr alar i'w theulu a chylch eang o gyfeillion mynwesol. Anaml y rhoddwyd Cristion mor gywir ym mhriddellau oer y bedd. Yr oedd yn hynod am ei chyssondeb yn y Gwasanaeth cyhoeddus. Yr oedd y Sul cyntaf o'r mis yn Sul pwysig iawn ganddi. Gobeithiai, yn ei hafiechyd diweddaf, y cai y fraint unwaith yn rhagor o fyned i wledda ar gariad y Gwaredwr; ond ni chaniatawyd hyn iddi. Hunodd yn dawel yn yr Iesu ar yr amser crybwylledig; y mae yn awr yn gwledda ar ffrwythau rhad ras yng nghynteddau euraidd y Baradwys fry. Ar y 4ydd o fis Chwefror, ymgasglodd nifer anarferol o luosog i dalu y gymmwynas olaf i'r ymadawedig; a rhoddwyd hi i orphwys hun yr hirnos fawr ym mynwent Llanfihangel Geneu'r Glyn, lle yr huna yn dawel hyd yr amser pan y cana

"Corn anfeidrol ei ddolef—
Corn ffraeth o saernïaeth nef."

Heddwch i'w llwch. Yr oedd yr ymadawedig yn fam i'r Parch. John Jenkins, curad Berriw, ac yn chwaer i'r Parch. Thomas Davies, Llanfyllin.

Jenkins—Chwef. 11, yn ddisyfyd iawn yn ei hannedd, 14, y Rhodfa, Caerfyrddin, Catherine, gweddw y diweddar Barch. J. Jenkins, rheithor Bowness, Cumberland, 76 oed.

Lewis—Chwef. 4, Ethel Marian, merch Mr. John Lewis, llieiniwr, *Commerce House*, Caerfyrddin, 4 blwydd oed.

Mortimer—Ion. 31, yn Nhrefgynys, ger Ty Ddewi, Penfro, Mr. John Mortimer, 57 oed.

Thomas—Chwef. 12, yn Llanymddyfri, David Thomas, Ysw., 84 oed.

### Y LLITHIAU PRIODOL, MAWRTH, 1876.

| Mawrth. | Suliau a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 1 Mer. | Mercher y Lludw * | Esai lviii. hyd 13 | Ionah iii. |
| | | Marc ii. 13—23 | Heb. xii. 3–18 |
| 5 Sul | 1 Sul yn y Garawys | Gen. xix. 12—30 | Gen. xxii. hyd 20 neu xxxiii |
| | | Marc vi. 30 | Rhuf. xiv. a xv. hyd 8 |
| 12 Sul | 2 Sul yn y Garawys | Gen. xxvii. hyd 41 | Gen. xxviii. neu xxxii. |
| | | Marc x. 32 | 1 Cor. iv. 18, a v. |
| 19 Sul | 3 Sul yn y Garawys | Gen. xxxvii. | Gen. xxxix. neu xl. |
| | | Marc xiv. 27—53 | 1 Cor. xi. 2—17 |
| 25 Sad. | Cyfarchiad Mair Forwyn | Gen. iii. hyd 16 | Esai lii. 7—13 |
| | | Luc i. 46 | 1 Cor. xv. hyd 35 |
| 26 Sul | 4 Sul yn y Garawys | Gen. xlii. | Gen. xliii. neu xlv. |
| | | Luc ii. hyd 21 | 1 Cor. xv. 35 |

* Y Salmau Priodol—Boreu, 6, 32, 38; Prydnawn, 102, 130, 143. Y deugain niwrnod yn y Garawys, oddi eithr y Suliau, yn cael eu neillduo fel dyddiau o Ympryd neu Ymwrthodiad. Colect Mercher y Lludw i'w arfer bob dydd yn y Garawys.

CARMARTHEN:
Printed and Published by William Spurrell, at his Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Tuesday, the 29th of February, 1876.

# YR HAUL.

Cyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIF. 232. EBRILL, 1876. CYF. 20.

## CYFRES FER O BREGETHAU ER AMDDIFFYNIAD Y FFYDD.

### II.—GWYRTHIAU.

"A Duw hefyd yn cyd-dystiolaethu trwy arwyddion, a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd."—HEB. ii. 4.

MAE yr adnod hon yn gosod o'n blaen y modd yn yr hwn yr oedd Duw yn cyd-dystiolaethu â'r llygad-dystion am Grist yn sylfaeniad Cristionogaeth. Yr oedd yn cyd-dystiolaethu trwy arwyddion, a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd.

Mae profiadau ereill yn cyd-dystiolaethu hefyd i wirionedd ein crefydd, fel ag y dywedais o'r blaen; ond mae arwyddion, rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd yn brofiadau ag sydd yn taflu eglurdeb neillduol ar lawer o bethau yn hanes yr Ysgrythyr a fyddai yn anesboniadwy, os nid yn anghredadwy, hebddynt. Ym mhellach, mae y pethau a nodir dan yr enwau arwyddion, rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd, nid yn unig yn ateb y dyben o fod yn gyd-dystiolaeth, ond mae llawer o honynt yn rhanau hanfodol o'r grefydd Gristionogol; canys crefydd ydyw Cristionogaeth a ymddibyna ar ffeithiau hanesyddol gwyrthiol, ac nis gellir gwahanu y ffaith oddi wrth y gwyrthiol—er enghraifft, yng nghenedigaeth ac adgyfodiad Crist—heb ddiddymu gwirionedd y ffaith. Y mae'r ffeithiau yn fynych yn wyrthiau, ac mae'r ddau wedi eu cydgylymu ac yn annattodadwy. Os na fu y gwyrthiau, ni fu y ffeithiau fel ag y dysgrifir hwynt yn yr Ysgrythyr. Os ydyw yn ammhosibl credu mewn gwyrthiau, mae yn rhaid i ni ammheu gwirionedd ac ymddiriedolrwydd yr holl hanes. Y mae y cwestiwn, gan hyny, yr ymgymmerwn ag ef—"A ydyw yn bosibl credu mewn gwyrthiau?"—yn un sydd yn galw am benderfyniad cadarnhaol: mae yn sefyll wrth y drws cyn yr elom i mewn i ystyried natur ein crefydd a'r prawfiadau ereill dros ei gwirionedd. Y mae'r drws yn gauedig hyd nes y penderfynwn nad ydyw gwyrthiau yn ammhosibl. Wrth y drws, ac megys oddi allan yn ffitio'r allwedd, yw yr oll a gynnygiaf ymwneyd ag ef, gan gwbl feddwl, os trwy gymhorth Duw y gallaf osod ger bron yn ddyladwy atebiad digonol a chadarnhaol i'r cwestiwn, bydd y drws wedi ei agor i roi mynediad i ni gwedi hyny i mewn i "weled

pethau rhyfedd allan o gyfraith Duw."

Ond cyn y gallwn ystyried a ydyw yn bosibl credu mewn gwyrthiau, mae yn angenrheidiol i ni ffurfio meddylddrych eglur am yr hyn yw gwyrth. Mae a fynwn â gwyrthiau ysgrythyrol, nid â gwyrthiau yn gyffredinol, neu yr hyn sydd yn myned wrth yr enw. Mewn hanesiaeth o bob math yng ngwahanol oesau o'r byd, rhoddir adroddiad o'r hyn a elwir yn wyrthiau. Yn hanesiaeth Groegaidd a Rhufeinig, yn hanesiaeth y canol oesau, adroddir gwyrthiau; ond nid ydyw ein hymchwiliad yn eu cymmeryd i mewn, canys nid ydynt yn hanfodol i nac yn wir yn dwyn perthynas bwysig â gwirionedd Cristionogaeth. Am hyny, nyni a gyfyngwn ein sylwadaeth at wyrthiau yr Ysgrythyr: y mae y rhai hyn o bwys annhraethol i ni.

Wrth ystyried y rhai hyn, a chymharu yr Ysgrythyr â hi ei hun, cawn weled beth ydyw syniad yr Ysgrythyr am wyrth—cawn weled beth sydd yn gynnwysedig mewn gwyrth ysgrythyrol, i'r hwn mae ein cred yn cael ei deilyngu a'i hawlio. A dichon y cawn, pan mewn meddiant o'r deffiniad (*definition*) o wyrth, oleuni a help tuag at gredu. Chwilio am ddeffiniad fydd ein gwaith yn y bregeth bresennol.

Yn awr, os cofiwch y testyn a ddewisais heddyw, chwi welwch fod yma dri gair yn cael eu defnyddio—*arwyddion*, *rhyfeddodau*, *nerthoedd*. Nid tri gair ydynt i nodi pethau gwahanol neu amgylchiadau gwahanol, ond tri gair a ddysgrifia yr hyn sydd yn gynnwysedig yn y syniad o *wyrth* yn ei ystyr ysgrythyrol. Nid tri math—nid tri rhyw o wyrthiau a feddylir wrth arwyddion, rhyfeddodau, a nerthoedd—nid un math o wyrth yw arwyddion, nid math arall yw rhyfeddodau, a math arall eto yw nerthoedd, ond tri gair a wnânt i fyny, fel y dywedais, yr hyn yw nodweddiad a chynnwysiad gwyrth ysgrythyrol.

Ymdrechaf ddadblygu yr hyn a ddywedais o dan dri o benau—

I. Ystyr y tri gair fel ag y gwnânt i fyny y deffiniad o wyrth.

II. Y modd yn yr hwn y mae yr Ysgrythyr ei hun yn profi fod y tri gair hyn yn nodweddiad o wyrth ysgrythyrol, ac nid o wahanol rywiau o wyrthiau.

III. Y modd yn yr hwn y gwnânt wyrth yn fwy credadwy.

I. Ystyr y tri gair fel ag y gwnânt i fyny y deffiniad o wyrth.

(1) Y gair cyntaf o'r tri a gymmeraf ac a ymofynaf am ei ystyr yw *rhyfeddodau* (*terata*). Y mae'r gair yma fel y geiriau yn y Groeg a'r Hebraeg, o'r rhai y mae yn gyfystyr, yn dysgrifio gwyrthiau fel ag y maent yn amgylchiadau hynod, anarferol, ac anghyffredin. Yn eu golwg allanol, maent yn taro meddwl y sylwedydd fel pethau rhyfedd, a thrwy eu hynodrwydd creant syndod yn y meddwl, a galwant am ymchwiliad.

(2) *Nerthoedd* (*dunameis*) drachefn sydd ddysgrifiad o wyrthiau yn eu golygiad mewnol. Fe gyfeiriant y meddwl at wyrthiau o ran eu hachosiaeth, o ran eu tarddiad, o ran eu hawdurdeb. Mae achos neillduol yn cael ei nodi yn y gair nerthoedd. Y mae gallu, a grym, a nerth yn eu dwyn i ben, a'r gallu, neu'r grym, neu'r nerth, yr hwn sydd yn gwneyd gwyrthiau yn *nerthoedd*, ydyw *gallu dwyfol*.

(3) *Arwyddion* (*semêia*) drachefn a gyfeiria y meddwl at y dyben sydd mewn golwg mewn gwyrth. Mae dyben gwyrth yn beth tu hwnt ac uwch law y weithred ei hun: mae'r dyben yn un moesol.

Mae y tri pheth a ddynodir trwy y tri gair hyn yn gwneuthur i fyny elfenau y syniad ysgrythyrol o wyrth. Nid geiriau cyfystyr ydynt, ond geiriau yn cyfleuwi yr holl ystyr ysgrythyrol a gynnwysir mewn gwyrth. Nid peth *rhyfeddol* yn unig

ydyw gwyrth; nid peth rhyfeddol chwaith yw wedi *ei achosi gan allu dwyfol*, ond yn ychwangol i'r ddau briodoledd yna, rhaid iddo fod *er mwyn dyben a bwriad moesol uwch law ei hunan*. Mewn geiriau ereill, mae gwyrth yn ei olygiad allanol, fel ag y mae yn taro'r llygaid, yn *hynod beth fel ymddangosiad ym mhrofiad dyn;* mae yn nerth neu yn weithred nerthol fel *effaith gweithrediad dwyfol neillduol;* mae yn arwydd *fel offeryn er dwyn oddi amgylch fwriad a dyben moesol.*

II. Nodwn yn nesaf y modd yn yr hwn y cadarnhëir y deffiniad hwn yn y defnydd a wneir o'r geiriau, "*rhyfeddodau, nerthoedd, arwyddion,*" yn yr Ysgrythyr i ddynodi gwyrth, ac nid i ddynodi graddau neu rywiau gwahanol o wyrthiau.

1. Ni ddefnyddir y gair *rhyfeddod* un amser yn y Testament Newydd, ac anfynych iawn yn yr Hen, *ar ben ei hun* am wyrth. Mae yn gyssylltedig ag un o'r geiriau ereill, yn fynychaf â'r gair *arwydd*. Cymmerwch yr enghreifftiau hyn o'r *Hen Destament:*

"A minnau a galedaf galon Pharaoh, ac a amlhâf fy *arwyddion* a'm *rhyfeddodau* yng ngwlad yr Aipht."—Ecsod. vii. 3. "Rhoddes yr Arglwydd hefyd *arwyddion* a *rhyfeddodau* mawrion a niweidiol ar yr Aipht, ar Pharaoh a'i holl dy, yn ein golwg ni."—Deut. vi. 22. "Y profedigaethau mawrion a welodd eich llygaid, yr *arwyddion* a'r *rhyfeddodau* mawrion hyny."—Deut. xxix. 3. "Fel y gosodasai Efe ei *arwyddion* yn yr Aipht, a'i *ryfeddodau* ym maes Soan."—Salm lxxviii. 43. "Hwy a ddangosasant ei *arwyddion* Ef yn eu plith hwynt, a *rhyfeddodau* yn nhir Ham."—Salm cv. 27. Yma gelwir yr un gwyrthiau wrth yr enw *arwyddion* a *rhyfeddodau* fel pe byddent eiriau cyfystyr. Yn y dyfyniad o'r Salmau mae *arwyddion* yn y rhan gyntaf o'r adnod yn cael ei ganlyn gan *ryfeddodau* yn y rhan gyfatebol: "Ei arwyddion yn yr Aipht, ei ryfeddodau ym maes Soan:" "Ei arwyddion yn eu plith hwynt, a rhyfeddodau yn nhir Ham." Yn amlwg cyfeiriant at yr un amgylchiadau." Eto, defnyddir y gair *arwydd* yn unig mewn un man, a *rhyfeddod* yn unig mewn man arall, i ddysgrifio yr un gwyrthiau: "A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Dos at Pharaoh; o herwydd Mi a galedais ei galon ef, a chalon ei weision; fel y dangoswn fy arwyddion hyn yn ei ŵydd ef."—Ecsod. x. i. "Ac anghofiasant ei weithredoedd a'i ryfeddodau, y rhai a ddangosasai Efe iddynt."—Salm lxxviii. 11, 12; Ios. xxiv. 17. Ond yn olaf. defnyddir y tri gair, neu rai cyfystyr, mewn perthynas i'r un gwyrthiau yn yr adnodau canlynol:—"A brofodd un Duw ddyfod i gymmeryd iddo genedl o ganol cenedl trwy brofedigaethau, trwy *arwyddion*, a thrwy *ryfeddodau*, a thrwy ryfel, a thrwy *law gadarn*, a thrwy fraich estynedig, a thrwy ofn mawr, fel yr hyn oll a wnaeth yr Arglwydd eich Duw eroch chwi yn yr Aipht yng ngŵydd eich llygaid."—Deut. iv. 34. "Y profedigaethau mawrion y rhai a welodd dy lygaid, a'r *arwyddion* a'r *rhyfeddodau*, a'r *llaw gadarn*, a'r fraich estynedig, â'r rhai y'th ddug yr Arglwydd dy Dduw allan."—Deut. vii. 19. "A'r Arglwydd a'n dug ni allan o'r Aipht â *llaw gadarn*, ac â braich estynedig, ac ag ofn mawr, ac ag *arwyddion*, ac â *rhyfeddodau*."—Deut. xxvi. 8.

Yn ol arferiad yr Hen Destament, gan hyny, mae yr un amgylchiadau, yr un gwyrthiau yn cael eu dynodi gan y geiriau rhyfeddodau, nerthoedd, ac arwyddion.

2. Edrychwn yn awr ar arferiad y geiriau a ddefnyddir yn y Testament Newydd i ddynodi gwyrth, ac yno gwelwn mai y gair am *un* wyrth ar ben ei hun yw *arwydd;* ond am y gyfres i gyd, weithiau gweithredoedd nerthol, weithiau arwyddion, weithiau rhyfeddodau, gweithredoedd nerthol, ac arwyddion. Yn yr adnodau canlynol, darllenwn y gair *arwydd* am wyrth unigol:—

"Hyn o ddechreu gwyrthiau [Groeg, *arwyddion*] a wnaeth yr Iesu yn Cana Galilea, ac a eglurodd ei ogoniant."—Sant Ioan ii. 11. "Yr ail *arwydd* yma drachefn a wnaeth yr Iesu wedi dyfod o Iwdea i Galilea."—Ioan iv. 54. "Gan ddywedyd, beth a wnawn i'r dynion hyn? canys, yn ddiau, *arwydd* hynod a wnaed trwyddynt hwy, hysbys i bawb a'r sydd yn preswylio yn Ierwsalem, ac ni gallwn ni ei wadu."—Actau iv. 16.

Am y gyfres i gyd, y gair yn y tair efengyl gyntaf yn gyffredin yw *gweithredoedd nerthol;* yn Sant Ioan, *arwyddion;* ac mewn un man yn yr Actau, cyssylltir y tri gair. Fel y canlyn yn Sant Matthew:—

"Gwae di, Chorasin! gwae di, Bethsaida! canys pe gwnaethid yn Tyrus a Sidon y *gweithredoedd nerthol* a wnaethpwyd ynoch chwi, hwy a edifarhasent er ys talm mewn sachliain a lludw."—xi. 21. "A thydi, Capernäum, yr hon a ddyrchafwyd hyd y nef, a dynir i lawr hyd yn uffern; canys pe gwnaethid yn Sodom y *gweithredoedd nerthol* a wnaethpwyd ynot ti, hi a fuasai yn aros hyd heddyw."—xi. 23. "Ac ni wnaeth Efe nemawr o *weithredoedd nerthol* yno, o blegid eu hanghrediniaeth hwynt."—xiii. 5, 8. "Hwn yw Ioan Fedyddiwr: efe a gyfododd o feirw; ac am hyny, y mae nerthoedd [neu *weithredoedd nerthol:* yr un gair yn y Groeg] yn gweithio ynddo ef."—xiv. 2. Yn Sant Marc: "Ac ni allai Efe yno wneuthur dim gwyrthiau [*dunamis* eto yn y gwreiddiol], ond rhoi el ddwylaw ar ychydig gleifion, a'u hiachäu hwynt."—vi. 5. "Ac efe a ddywedodd, Ioan Fedyddiwr a gyfododd o feirw; ac am hyny, y mae nerthoedd [*dunameis*] yn gweithio ynddo ef."—vi. 14. "A'r Iesu a ddywedodd, Na waherddwch iddo; canys nid oes neb a wna wyrthiau [*dunameis*] yn fy enw I, ac a all yn y fan roi drygair i Mi."—ix. 39. Yn Sant Luc: "Gwae di, Chorasin! gwae di, Bethsaida! canys pe gwnaethid yn Tyrus a Sidon y gweithredoedd nerthol [*dunameis*] a wnaethpwyd yn eich plith chwi, hwy a edifarhasent er ys talm, gan eistedd mewn sachliain a lludw."—x. 13.

Yn Sant Ioan, y gair a ddefnyddir am y gwyrthiau yn gyffredinol ydyw *arwyddion*, fel y gwelir yn y dyfyniadau canlynol:—

"Ac fel yr oedd Efe yn Ierwsalem ar y Pasc yn yr wyl, llawer a gredasant yn ei enw Ef wrth weled ei arwyddion [*semêia*] a wnaethai Ef."—ii. 23. "Hwn a ddaeth at yr Iesu liw nos, ac a ddywedodd wrtho, Rabbi, nyni a wyddom mai dysgawdwr ydwyt Ti wedi dyfod oddi wrth Dduw, canys ni all neb wneuthur y gwyrthiau hyn [*semêia* yn y gwreiddiol, er nad yw y cyfieithad Cymraeg yn anffortunus yn cadw at yr un gair] oni bai fod Duw gydag Ef."—iii. 2. "A thyrfa fawr a'i canlynodd Ef; canys hwy a welsent ei *arwyddion*, y rhai a wnaethai Efe ar y cleifion."—vi. 2. "Yn wir, meddaf i chwi, yr ydych chwi yn fy ngheisio I nid o herwydd i chwi weled y gwyrthiau [*semêia*], eithr o herwydd i chwi fwyta o'r torthau a'ch digoni."—vi. 26. "Ereill a ddywedasant, Pa fodd y gall dyn pechadurus wneuthur y cyfryw *arwyddion?*"—ix. 16. "A llawer a ddaethant ato Ef, ac a ddywedasant, Ioan yn wir ni wnaeth un *arwydd*: ond yr holl bethau a ddywedodd Ioan am y Hwn oedd wir."—x. 41. "Pa beth yr ydym ni yn ei wneuthur? canys y mae'r dyn yma yn gwneuthur llawer o *arwyddion*."—xi. 47. "Ac er gwneuthur o hono Ef gymmaint o *arwyddion* yn eu gŵydd hwynt, ni chredasant ynddo."—xii. 37. Mewn un man hefyd cyssylltir *rhyfeddodau:* "Oni welwch chwi *arwyddion* a *rhyfeddodau*, ni chredwch."—iv. 48. A chan mai at yr un gwyrthiau y cyfeirir gan y gwahanol efengylwyr, mai y geiriau *arwyddion* a *rhyfeddodau* yn dysgrifio yr un amgylchiadau.

Yn yr Actau cawn y tri gair gyda'u gilydd i ddynodi gwyrthiau Crist:

"Iesu o Nasareth, gwr profedig gan Dduw yn eich plith chwi trwy *nerthoedd*, a *rhyfeddodau*, ac *arwyddion*, y rhai a wnaeth Duw trwyddo Ef yn eich canol chwi, megys ag y gwyddoch chwithau."—ii. 22.

**Mae yr adnodau a ddyfynwyd mor hirfaith o'r Testament Newydd yn cyfeirio at wyrthiau Crist, a thra mae y dyfyniad o honynt yn ateb y dyben mewn llaw, gallwn obeithio hefyd ei fod yn ateb rhyw ddybenion chwanegol, ac yn enwedig yn cynnefino ein meddyliau â'r effaith a greïd ganddynt pan eu cyflawnid, ac yn ein galluogi trwy ddychymmyg i bresennoli amgylchiadau hanesyddol eu cyflawniad o flaen ein llygaid. Os ydych, gan hyny, wedi bod yn dilyn yn amyneddgar hyd yma, nid ymddengys yn rhy faith eto i chwanegu rhai dyfyniadau er mwyn dangos fod yr un geiriau yn cael eu defnyddio i ddysgrifio gwyrthiau apostolig yn gystal a gwyrthiau Crist.**

*Gweithredoedd nerthol:*

"A gwyrthiau [*dunameis*] ragorol a wnaeth Duw trwy ddwylaw Paul."—Actau xix. 11. "Yr Hwn, gan hyny, sydd yn trefnu i chwi yr Ysbryd, ac yn gwneuthur gwyrthiau [*dunameis*] yn eich plith, ai o weithredoedd y ddeddf neu o wrandawiad ffydd y mae?"—Gal. iii. 5, 1 Cor. xii. 10, 28.

*Arwyddion:*

"A'r *arwyddion* a ganlynant y rhai a gredant: yn fy enw I y bwriant allan gythreuliaid, ac â thafodau newyddion y llefarant."—Sant Marc xvi. 17. "Yr Arglwydd yn cydweithio ac yn cadarnhau'r Gair trwy arwyddion, y rhai oedd yn canlyn."—Sant Marc xvi. 20. "A'r bobl

yn gytûn a ddaliodd ar y pethau a'ddywedid gan Phylip wrth glywed o honynt a gweled yr *arwyddion* yr oedd efe yn eu gwneuthur."—Actau viii. 6.

*Arwyddion a gweithredoedd nerthol:*

"A Simon yntau hefyd a gredodd; ac wedi ei fedyddio, a lynodd wrth Phylip: a synodd arno wrth weled yr arwyddion a'r nerthoedd mawrion a wneid."—Actau viii. 13.

*Arwyddion a rhyfeddodau:*

"A llawer o ryfeddodau ac arwyddion a wnaethpwyd gan yr Apostolion."—Actau ii. 43. "A thrwy ddwylaw yr Apostolion y gwnaed arwyddion a rhyfeddodau lawer ym mhlith y bobl."—Actau v. 12. "A'r holl luaws a ddystawodd ac a wrandawodd ar Barnabas a Paul yn mynegu pa arwyddion a rhyfeddodau eu maint a wnaethai Duw ym mhlith y Cenedloedd trwyddynt hwy."—Actau xv. 12, vi. 8, xvi. 3, Rhuf. xv. 19.

*Arwyddion, rhyfeddodau, gweithredoedd nerthol:*

"Arwyddion apostol, yn wir, a weithredwyd yn eich plith chwi mewn pob amynedd, mewn arwyddion, a rhyfeddodau, a gweithrediad nerthol."—2 Cor. xii. 12. "A Duw hefyd yn cyd-dystiolaethu trwy arwyddion, a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd, a doniau yr Ysbryd Glân yn ol ei ewyllys ei Hun."—Heb. ii. 4.

Os ydyw yr hyn a ddywedwyd wedi bod yn ddigon i sefydlu yn ein meddyliau fod yr Ysgrythyr yn dynodi nid gwahanol raddau neu rywogaethau o wyrthiau, ond elfenau angenrheidiol yng nghyfansoddiad gwyrthiau yn eu hystyr ysgrythyrol, ac mai yr elfenau angenrheidiol hyn ydynt rhyfeddodau, nerthoedd, arwyddion; hyny yw, ymddangosiadau hynod, yn cael eu gweithredu gan allu dwyfol neillduol, er mwyn cyrhaedd dybenion moesol, bydd yn ddymunol i ni fyned ym mlaen i ystyried yn nesaf—

III. Y modd ym mha un y mae syniad cyflawn o'r hyn yw gwyrth ysgrythyrol yn gwneuthur gwyrthiau yn gredadwy.

Gwna hyn, mewn llawer ffordd a modd, ein harwain at yr hyn fydd yn dda cyfeirio eto; ond yn bresennol ni a nodwn fod yr elfenau hyn yn cyfarfod â llawer o wrthddadleuon yn erbyn gwyrthiau a adawant allan o'r golwg yr hyn yw gwyrth ysgrythyrol. Cyn gynted ag y gadäwn o'r golwg un o'r tri elfenau angenrheidiol hyn yng nghyfansoddiad gwyrth, nid yn erbyn gwyrth ysgrythyrol mae y ddadl, ond am rhywbeth arall llai cynnwysfawr, neu am ryw ran o wyrth. Os golyga'r gwrthwynebwr wyrth fel amgylchiad hynod a rhyfeddol yn unig, gan adael allan o'r cyfrif eu hawduriaeth a'i dyben; ac os rhydd bwys ar annhebygolrwydd y fath ryfeddod, a gofyn a fuasem ni fel dynion o synwyr cyffredin yn derbyn yr hanes am y fath ryfeddod yn awr hyd yn oed ar dystiolaeth gref, ni fuasai atebiad nacaol yn arwyddo gwanhâd ein ffydd mewn gwyrthiau. Canys y gwyrthiau a gynnygir i'n cred gan yr Ysgrythyr, nid rhyfeddodau* yn unig ydynt:

* Nid bob amser gellir galw gwyrthiau diweddar hyd yn oed yn *rhyfeddod.* Cof gan yr ysgrifenydd er ys rhai blynyddau yn ol gael cyfleusdra i ymddyddan ag un o'r Mormoniaid yng nghylch ei ddaliadau. Cydsyniodd â mi fod Duw wedi cadarnhau anfoniad Moses i wneyd deddfroddiad newydd trwy wyrthiau, a'i bod yn resymol dysgwyl gwyrthiau eto i sefydlu gweinidogaeth newydd yn lle yr un a sylfaenwyd gan yr Apostolion, ac a barhawyd trwy olyniaeth. Taerai fod gwyrthiau yn awr wedi cadarnhau anfoniad Smith, ac yn parhau yn eu plith er tystiolaeth i'w daliadau. "Onid ydych yn credu," meddai, "yn y geiriau prophwydoliaethol, 'A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant?'" Cyfaddefais ar unwaith fy nghred yn y geiriau, ac aethym ym mlaen i bwyso am ryw wyrth, o'r hon yr oedd ei hun wedi bod yn dyst: adroddodd ddwy. Yn gyntaf, yr oedd wedi gweled y brodyr yn arddodi dwylaw ar wraig â gwyneb chwyddedig yn ol yr Ysgrythyr yng nghylch galw yr henuriaid i eneinio'r claf, ac yr oedd iachâd wedi canlyn. Yn ail, clywodd hen wraig na fedrai lythyren ar lyfr yn llefaru â thafodau. Trodd allan nad ar unwaith, ond ar ol diwrnod neu ddau yr aeth y chwydd lawr, a dangosais iddo nad oedd yn beth *anghyffredin* i chwydd, ar ol poen yn y dannedd neu'r fannod, i ostwng gydag ychydig amser. Gyda golwg ar yr ail wyrth, gofynais iddo a wyddai pa iaith oedd, "*Menin aeide Thea Peleiado Achileos.*" Na wyddai. "A wy-

nid galw arnom wneir i gredu mewn pethau hynod ac anghyffredin fel y cyfryw, a dim pellach, ond mewn pethau anghyffredin wedi eu hachosi gan Dduw i'r dyben digonol o ddadguddio ffordd iachawdwriaeth. Gallem yn y gwrthwyneb roi ateb i'r gofyniad trwy wneuthur gofyniad arall iddo ef, a gofyniad teg fyddai, sef a fuasai yn bosibl credu, ar dystiolaeth gref, fod amgylchiad anghyffredin wedi ei achosi gan Dduw er tystiolaethu i wirionedd Dadguddiad.

Drachefn, os cyfynga y gwrthwynebwr ei syniadau am wyrthiau yn eu cyfeiriad fel geithredoedd nerthol yn unig, gan adael allan o'r golwg eu helfen fel arwyddion (a gwerth yw nodi mai at wyrthiau yn eu hymddangosiad o allu y mae cyfeiriad y saethau fwyaf yn y dyddiau presènnol), mae yn barod i ofyn a fedrwn ni gredu nid fod Duw yn gallu, ond yn ewyllysio, tori ar draws unffurfiaeth natur, tra mae Ef ei Hun yn anghyfnewidiol yn ei briodoleddau ac yn rhwym o fod yn gysson ag Ef ei Hun. Os ydyw y nerthoedd mewn gwyrth yn gwrthwynebu unffurfiaeth natur, y mae yn eu tybiaeth yn beth ammhosibl. Dichon fod hyn yn wir yn ol golygiad annigonol o'r hyn yw gwyrth, ond os ydyw hefyd yn arwydd, dyma elfen arall—elfen foesol; ac elfen yn dwyn i mewn fodoliaeth byd ysbrydol yn gystal a byd naturiol—byd moesol yn gystal a byd sylweddol—byd anweledig a'i ddeddfau tragwyddol o ddrwg a da, o anfarwoldeb a chrefydd, yn gystal a byd gweledig. Fel arwydd, mae gwyrth yn offeryn rhwng y ddau fyd—i agor y drws i arwain o un i'r llall. Rhaid cymharu gwyrth â threfn moesol, yn gystal ag â threfn sylweddol, cyn y gallwn farnu ei chyssondeb â holl drefn Duw, canys nid ydyw y byd moesol yn llai o drefn Duw na'r byd gweledig. Nid yw byd moesol yn llai o ffaith na'r byd gweledig. Mae iddo hefyd ddeddfau yn llawn cymmaint ag sydd i'r byd allanol. Pan y dywedir fod deddfau natur yn anghyfnewidiol, ac y byddai yn groes i briodoledd Duw natur fod yn anghysson ag Ef ei Hun trwy dori ar draws ei ddeddfau neu trwy weithrediadau eithriadol ac anghysson, mae yn angenrheidiol i ni ddeall yn eglur beth a feddylir wrth y gair *natur*, sef y byd sylweddol. Os deallwn nad yw *natur* yn cymmeryd i mewn y cwbl o waith Duw—nad yw yn cymmeryd i mewn nac yn cynnwys Duw ei Hun—nad yw yn cymmeryd i mewn enaid dyn, ewyllys bersonol, byd ysbrydol—nad yw yn rhoi dim cyfrif am euogrwydd pechod, a'r hiraeth am faddeuant, nac am y syniad o Dduw ac o anfarwoldeb yn enaid dyn; mewn geiriau ereill, nad yw natur sylweddol (*material*) yn rhoi dim cyfrif am y byd anweledig ac ysbrydol—yna mae yn ddealladwy fod gwyrth nid yn anghyssondeb, ond yn rhan o drefn Duw yn ei holl gyfundrefn i gyd, pan yn cymmeryd i mewn yr anweledig yn gystal a'r gweledig. Os credwn fod dadguddiad uwch law rheswm i gael ei roddi gan Dduw i ddynion, gwyrth ydoedd y cyfrwng a'r offeryn trwy yr hwn i'w roddi. Y mae yn eithriad i'r drefn weledig, ac i'r drefn anweledig ar wahân, ond yn berffaith gysson fel

ddai eto pa iaith oedd, "*Humano capiti cervicem pictor equinam.*" Na wyddai. A wyddai eto pa iaith oedd, "*Onduro polponto magurthus.*" Na wyddai; yr unig iaith a wyddai ydoedd Cymraeg, a rhyw ychydig o Seisoneg. Gwrthddadleuais nad oedd yn dyst digonol pa un ai llefaru iaith neu seiniau diystyr oedd yr hen wraig; canys dangosodd na wyddai y gwahaniaeth rhwng y llinellau a adroddais allan o'r ieithoedd clasurol a'r llinell olaf ddychymygol o eiriau neu seiniau diystyr. Dim tystiolaeth i'r ail wyrth—dim yn hynod yn y gyntaf—ydoedd sail digonol i'w hanghredu. Ymddangosai y Mormon yn ddyn cydwybodol ac ymchwilgar, ac mae yn debyg iddo gael rhesymau ereill i newid ei farn. Mewn amser maith wedi yr ymddyddan, cyfarfum ag ef, a deallais ei fod wedi ymwrthod â Mormoniaeth, ac yn mynychu Eglwys Llanb—bl—g.

cyfrwng rhwng y ddau: mae hyn yn perthyn i *offerynau* fel dosbarth. Mae allwedd neu agoriad yn ddiberthynas â'r tu fewn neu'r tu allan i'r ystafell a agora, ond y mae yn berthynasol iawn fel offeryn yn rhoi arweiniad o un i'r llall. Cymmerwch unrhyw arf mewn celfyddyd neu hwsmoniaeth, ac edrychwch arno ar ben ei hun. Mor ddigrif, mor ddiystyr, mor allan o drefn a lle yr ymddengys, ond mae mewn perffaith gyssondeb ac yn ei le fel offeryn rhwng y gweithiwr a'i waith. Felly, mae gwyrth mewn perffaith drefn ac yn ei le fel offeryn rhwng dau fyd, er dichon fod yn eithriad mewn perthynas i un o honynt 'ar ben ei hun. Fel tystiolaeth i'r gweledig am y byd anweledig gan y gweithredydd sydd yn appelio at y fath dystiolaeth, y mae gwyrth yn offeryn pwysig—mae yn *arwydd.**

Wrth ystyried y gwrthddadleuon a wneir yn erbyn gwyrthiau o dan y tri phen o ryfeddodau, nerthoedd, arwyddion, fel ag y bwriadwn wneyd, mae yn eglur nas gall gwrthddadl yn erbyn un fod yn benderfynol o'r ddadl nes cymharu yr wrthddadl â'r ddau ben arall. Gwir, os gellir dangos fod y *rhyfeddod* a ddysgrifir yn yr Ysgrythyr yn ymddangosiad ammhosibl o dan unrhyw amgylchiadau, neu fod y *nerthoedd* a ddysgrifir yn effeithiau nas gellir eu hachosi o dan unrhyw amgylchiadau, yna ofer myned ym mlaen i'w hystyried o dan y pen o *arwyddion*. Ond ar y llaw arall, os bydd yr wrthddadl yn fyr o brofi yr ammhosiblrwydd, os profa *annhebygolrwydd* yn unig er cymmaint ei faint, yna mae yn ddichonadwy gall ystyriaeth pellach o'r wyrth yn ei ddau elfen arall symmud ymaith yr annhebygolrwydd, neu hyd yn oed gwneyd yr annhebygol yn debygol.

Gall y sylwad hyn ddyfod yn fwy eglur trwy gymhariaeth. Cymmeraf yr esampl o hanes diwyrth. Nid yw yn cyfateb ym mhob ystyr; ond ateba y dyben i wahaniaethu ym mhellach rhwng y tri elfen angenrheidiol i wneyd gwyrth ysgrythyrol, ac i ddangos y modd ym mha un y mae ystyriaeth o'r tri elfen yn gwneuthur ffaith hanesyddol yn fwy credadwy.

Yn awr, daliwch sylw a meddyliwch eich bod yn clywed am y tro cyntaf am wagle bychan, ond cysson ei faintioli, wedi ei ffurfio wrth droed mynydd uchel yn rhedeg trwodd o un ochr i'r ochr arall, ac yn saith milltir o hyd. Dyna *ryfeddod* annhebygol. Meddyliwch eto ym mhellach eich bod yn clywed i'r twll yma ddechreu ar yr un amser un pen o hono ar un ochr o'r mynydd, y pen arall o hono yr ochr arall o'r mynydd ac i'r ddau ben yma oedd yn annibynol o'u gilydd fyned ym mlaen ym mlaen yn raddol, ac ar ol deng mlynedd o amser gyfarfod â'u gilydd yn y canol yn ddiwyro. Dyna ryfeddod hollol annhebygol, hollol anhygoel. Dywedech, mae yn wir fod ogofëydd i'w cael mewn mynyddoedd; mae yn ddigon cysson â phrofiad i weled tyllau wedi eu gwneyd gan natur o lawer mater ac o wahanol faintioli, ond nid twll fel hwna. Ni fu gwagle erioed mewn mynydd wedi ei ddechreu yr un adeg o'r bob tu i'r mynydd, ac yn cyfarfod mewn deng mlynedd yn y canol. Peidiwch â thwyllo: mae yn anhygoel. Dyna fyddai eich syniad wrth ystyried hynodrwydd y ffaith ar ben ei hun.

---

* Spinosa a ystyria ac a ddeffinia wyrth yn unig fel *rhyfeddod;* a haera yn gywir, yn ol y golygiad ammherffaith yna i'r hyn ydyw gwyrth, nas gallai anghyffredinolrwydd yn nhrefn natur ddyweyd dim wrthym fel y cyfryw. Y mae yn beth anghyffredin, a dim chwaneg. Gwahanol iawn yw gwerth gwyrth os ydyw yn *arwydd;* canys yna mae yn cadarnhau geiriau ac athrawiaeth yr hwn sydd yn appelio ato. Mae yn tystiolaethu i wirionedd dadguddiad yn yr oes gyntaf, ac yn parhau i ddwyn yr un dystiolaeth i'r oesoedd canlynol. Prin, ynte, y gellir mawrygu effaith gwyrth yn ormodol fel *arwydd.*

Gadëwch i mi droi eich sylw ym mhellach at elfen arall yn y ffaith, sef at achosiaeth neu *awduraeth* y ffaith. Gadëwch i mi ddywedyd wrthych mai dynion ac nid natur sydd wedi bod ar waith. Cyfaddefech ar unwaith fod yr anhawsder o gredu wedi diflanu; mae yn waith mawr ac anhawdd ei gyflawnu, ond ni feddylech ei fod uwch law gallu dynol. Mae ystyriaeth o'r ail elfen, sef yr achosiaeth, yn gwneuthur yr ammhosibl yn bosibl er yn annhebygol.

Rhaid ystyried y *drydedd elfen* cyn gwneyd y posibl yn debygol; canys gallech fod yn barod i ammheu cyn hyny a dywedyd, Gwir, mae o fewn cylch *gallu* dynol; ond i ba ddyben y gwnaethpwyd y fath dwll tanddaiarol gan ddynion? Yr oedd angenrhaid am weithwyr lawer, am lafur ac arian mawr. Mae dynion yn uno ac yn cynllunio mesurau er mwyn hyrwyddo masnach, amaethyddiaeth, celfyddyd, ond nid i dyllu mynyddoedd. Y mae yn anghysson â'r natur ddynol i feddwl y gwna dynion dreulio eu nerth, eu llafur, a'u harian i'r fath ddyben. Mae yn wir fod ynddynt *allu;* ond mae yn anghredadwy iddynt wastraffu eu hamser a'u heiddo heb rhyw ddyben rhesymol. Mae yr annhebygolrwydd yn llai nag oedd cyn clywed am yr awduraeth—am y modd ym mha un y gwnaethpwyd y gwaith; ond eto nid yw debygol heb dystiolaeth gref a diammheuol iawn. Ond unwaith y chwanegaf y *dyben* mewn golwg gan ddynion wrth y gwaith—cyn gynted ag y dywedaf mai *railway tunnel* ydyw, wedi ei wneyd trwy fynydd Cenis i gyssylltu Ffrainc ac Itali; ei fod o fantais neillduol i'r gwledydd mawrion hyn ac i'r byd yn gyffredinol—mae yr annhebygolrwydd yn darfod. Fe aeth yr annhebygol yn bosibl pan enwais yr *achosiaeth,* ac yn awr mae y posibl wedi myned yn debygol wedi enwi y *dyben.* Nid yw yn fwy anhawdd credu yn y *tunnel* o dan yr Alps nag ydyw credu mewn unrhyw ffaith arall.

Yn yr un modd gyda golwg ar wyrthiau yr Efengyl, mae yn angenrheidiol i'w hystyried o dan bob pen, o dan bob dosbarth, o'r hyn sydd yn gwneuthur i fyny eu cyfansoddiad, cyn gellir ateb y gofyniad, A ydyw gwyrthiau yn gredadwy? Ar y dechreu, gallant ymddangos yn ammhosibl ac yn anhygoel; ond pan ystyrir hwynt nid yn unig fel pethau anarferol ond fod gallu digon i'w hachosi, sef gallu dwyfol, a dyben digon i ddefnyddio eu hofferynoldeb, sef i drosglwyddo gwybodaeth annhraethol bwysig o'r byd anweledig i'r byd gweledig oddi wrth Dduw at ddyn, mae yr elfenau hyn, meddaf, yn gwneyd gwyrthiau yn fwy credadwy, a'r dystiolaeth am danynt yn fwy derbyniadwy.

Pe byddem yn cyflëu y sylwadau blaenorol at un o wyrthiau yr Ysgrythyr; er engraifft, y wyrth gyntaf yn Cana Galilea, gallem weled yr un anhawsderau ym mhob cam wrth fyned ym mlaen. Gwelwn mor ammhosibl yw i ddwfr droi yn win ar yr olwg gyntaf; ond os oedd gallu dwyfol yn achosi, aethai yr ammhosibl yn bosibl, ac os ystyriem ym mhellach fod y gallu dwyfol yn gweithredu er tystiolaeth i genadaeth Crist, aethai yr annhebygol yn debygol. A chymmeryd bras olwg ar y wyrth, a defnyddio'r gymhariaeth o'r byd diwyrthiol er eglurdeb (ond nid fel pe byddai yn hollol gyfateb ym mhob peth chwaith), nid yw y wyrth yn anghredadwy bellach, ac mae'r drws wedi ei agor i dystiolaeth gael gwrandawiad fel ag y byddai i ryw ffaith hanesyddol arall. Canys y mae yma, yn ol ein gosodiad o'r hyn yw gwyrth ysgrythyrol,—

1. Weithred anghyffredin ac anghysson ag arferiad *(experience)*.
2. Allu digonol i'w gyflawnu.
3. Dyben digonol mewn golwg.

Gair yn ymarferol wrth derfynu mewn perthynas i'r dyben—dyben

gwyrthiau; a chaniatäed Duw i ni oll gael gafael yn nyben grasol Duw yn eu cyflawniad. Hyny a roddir o'n blaen gan Sant Ioan: "Eithr y pethau hyn a ysgrifenwyd, fel y credoch chwi mai yr Iesu yw y Crist, Mab Duw; a chan gredu, y caffoch fywyd yn ei enw Ef."—xx. 31.

*Pregethwyd yn Eglwys Sant Ann, Llandegai, Tach.* 10*fed*, 1872.

---

## PENNILLION

*Ar Farwolaeth fy Ewythr a'm Modryb.*

"Marw sydd elw."—PAUL.

NID marw ydyw bod
O'r byd sy'n llawn o wae,
A chael cymdeithas Iesu Grist,
A'i "weled fel y mae."

Nid marw ydyw cael
Byth gau ein llygaid trist,
A deffro mewn llawenydd pur
Ar ddelw Iesu Grist.

Nid marw ydyw dwyn
Y boen mae angeu'n roi,
A chael rhyddhâd o'r carchar du
Lle cawsom bawb ein cloi.

Nid marw ydyw rhoi
O'r neilldu'n marwol gnawd,
A chodi mewn anfarwol fri
'R un modd a'n "henaf Frawd."

Iesu, Dywysog Hedd,
Nid marw mae dy blant;
Gorchfygu maent ar frenin braw,
A chyrhaedd nefol dant.

J. W. E.

---

## CONFFIRMASIWN.

### IX.

DIWEDDGLO.

DANGOSWYD eisoes mai y gras a gyfrenir yn y Conffirmasiwn yw *nerth ysbrydol;* a phan yn y cyfnod pwysig hwnw, a pheryglus yn wir, pan ydym yn gadael diniweidrwydd plentyndod, ac yn ymestyn at ystâd addfetach a chyfrifol dyn, yr ydym yn sefyll mewn mawr angen am y gras hwn i'n nerthu i wrthladd profedigaethau y byd, y cnawd, a'r diafol. Y pryd hwn, pan yn cefnu ar gartref, ac yn ymlithro yn raddol o gylch dylanwad teuluaidd, y mae arnom angen am nerth *ychwanegol.* Ein cri yr adeg hon yn arbenig ddylai fod,—

"Tyr'd, *Ysbryd Sanctaidd*, ledia'r ffordd,
Bydd imi'n niwl a thân;
Ni cherddai'n gywir hanner cam
Oni byddi o fy mlaen."

Mae temtasiynau yn cynnyddu mewn grym a rhifedi gyda chynnydd blynyddau ein hoes. Fel yr heneiddiwn mae arnom eisieu nerth ychwanegol, ac y mae nerth cymmesurol i'w gael, ond ei geisio mewn ffydd yn ffordd Duw heb ammheu dim; nerth ychwanegol i ymladd yn erbyn pob temtasiwn, a'r nerth hwn a dderbyniwn trwy ordinhâd sanctaidd y Conffirmasiwn, os yr iawn geisiwn ef. Ond nid ydym i aros yma wrth odreu ein Sinai ni; na, gorchymmyn Duw i ni yw "Dywed wrth feibion Israel am *gerdded rhagddynt.*" Taith yw bywyd y Cristion—ymestyn ym mlaen beunydd. Y mae ei nerth yn fynych yn pallu wrth deithio trwy anialwch gwag erchyll, lle nad oes nac yd, na gwin, nac afonydd dyfroedd. I adnewyddu ei nerth gofala ei Dad nefol am anfon iddo ddwfr o'r graig a manna—bara angylion. Crist yw y graig, ac Efe yw y manna a ddaeth i waered o'r nef. Dyma'r ymborth ysbrydol, a thrwy rin maeth yr hwn, y galluogir ni i ddefnyddio i bwrpas y nerth a dderbyniasom trwy weddïau yr Eglwys ac arddodiad dwylaw yr Esgob.

Rhaid yw edrych ar Gonffirmasiwn yn ei gyssylltiad â'r Cymmun Bendigaid. Os y gwahanwn hwynt, daw Conffirmasiwn mewn effaith yn ddirym. Gwir nad yw Conffirmasiwn yn sacrament yn ystyr briodol y gair, eto y mae yn rhagbarotoad i sacrament Swper yr Arglwydd. Y mae y cyssylltiad agosaf rhwng Conffirmasiwn a'n "Cymmun cyntaf," fel y dywedir. Dywed y rhuddell ar derfyn trefn Conffirmasiwn, "Ac ni dderbynir neb i'r Cymmun Sanctaidd nes iddo gael ei gonffirmio, neu fod o hono yn barod ac yn ewyllysgar i'w gonffirmio.

Dylid ystyried rhagbarotoad gogyfer a Chonffirmasiwn yn rhagbarotoad hefyd gogyfer a Swper yr Arglwydd. Dylent fyned llaw yn llaw. Heb hyn ychydig a gyfnerthir ar fyddin Iesu—milwyr y Groes. Dylid argraffu fwyfwy ar feddyliau ein pobl mai cam *(step)* yw Conffirmasiwn i'r Cymmun Bendigaid, a'r Cymmun eilchwyl yn gam i fuchedd sanctaidd. Dylid argraffu ar eu meddyliau mai *rhodd Duw* yw y nerth hwn, ac nid dim ag sydd yn deilliaw i ni ar gyfrif ein haeddiant ein hunain. Rhad ras yw y cyfan. Nid o ddyn ond o Dduw yn gyfangwbl. Bratiau budron yw ein cyfiawnderau ein hunain, ac ni ddichon ein gweithredoedd da ddim heb wir a bywiol ffydd. Wrth barotoi ei braidd gogyfer a Chonffirmasiwn, buddiol yw i'r bugail ystyried fod y rhagbarotoad angenrheidiol i iawn dderbyniad y ddefod aruchel hono yn cynnwys parotoad y *gydwybod* gan gystled a'r deall. Ni ellir goleuo gormod ar y deall o barth athrawiaeth "arddodiad dwylaw"—hanes, natur, ac amcan Conffirmasiwn, ond rhaid cloddio yn ddyfnach o lawer na hyn yna. Rhaid dyfod at *wraidd* y mater cyn y gwneir nemawr o ol ar y genhedlaeth ieuanc. Rhaid appelio gyda phob digrifwch at y *gydwybod*, ac ymwneyd â "dirgel ddyn y galon," onid e ofer fydd y llafur. Rhaid llafurio mewn amser ac allan o amser, nes eu dwyn i iawn ddeall, "y ffyrdd yng Nghrist." Po dyfnaf yr âr, mwyaf toreithiog y cnwd. Camgymmeriad mawr ein offeiriaid yn gyffredin, yw trin y pwnc yn ei gyssylltiad â'r deall yn unig. Y mae parotoad y deall yn angenrheidiol, ond ar yr un cyfrif na esgeuluser iawn barotoad y gydwybod. Angenrhaid dysgu pa beth yw "yr iawn ffydd," fel y gallwn ateb am "y gobaith sydd ynom." Ac angenrhaid hefyd gwybod y perygl o dderbyn yr ordinhâd hon yn annheilwng, a'r pwys o'i derbyn yn deilwng a dyladwy, fel y derbyniom y nerth hwnw, heb yr hwn nid yw bara y bywyd ond arogl marwolaeth i ni. Dylid dysgu holl cynghor Duw, ac nid darnguddio athrawiaeth y Groes.* "Ychydig o'n praidd," meddai un gweinidog llafurus ac aiddgar, "sydd yn sylweddoli y meddylddrych o ras yn y goleuni o *help* oddi wrth Dduw. Gras fel *maddeuant* sydd ddealladwy iddynt —gras nad yw yn gofyn dim genym ond *cydsyniad* yn unig, yr hyn yw y meddylddrych cyffredin am ffydd, a dderbyniant gyda phob parodrwydd —gormod parodrwydd y mae lle i ofni er mwyn iechyd ein heneidiau. Ond gras fel y *maeth* oddi wrth Dduw a gyfrenir gan Grist i'w weision ag sydd ar ddiffygio yn eu taith trwy anialwch y byd hwn, neu ras fel *arfogaeth* Duw a roddir gan Grist trwy yr Ysbryd Glân, i'w filwyr ag sydd ar fyned allan i ryfel yn erbyn y byd, y cnawd, a'r diafol; hyny yw, rhywbeth a roddir yn ddilys gan Dduw yn rhad, a rhywbeth yn hollol annibynol ar ddim haeddiant ar ein rhan, ond ag sydd o'i natur yn gofyn ymdrech ddilynol ac hunanymwadiad dilynol oddi arnom, sydd feddylddrych hollol ddyeithr i'w meddyliau a'u harferion." Ffydd ac nid dyledswydd yw diffyg yr oes.

Heb law ymgais at blanu yng nghalonau plant eu gofal yr *iawn feddylddrych* o natur a dyben Conffirmasiwn, y mae o'r pwys mwyaf i'n gweinidogion a'n bugeiliaid ysbrydol, wneyd a allont i feithrin fwyfwy yn y cyfryw, *ysbryd defosiwn.* Diffyg o'r ysbryd hwn mewn rhan fawr a ddygodd yr ordinhâd bwysighon i anfri yn y blynyddoedd a aethant heibio. Y ddefod yn cael ei gweinyddu mewn iaith annealladwy i gorff mawr y gynnulleidfa, ac "uchel wyl" ei gweinyddiad yn fwy

* *Confirmation and First Communion*, by the late Rev. Henry Newland, pp. 27—40, 3rd edition.

tebyg i *lawen* wyl na dydd mawr a phwysig—un o ddyddiau difrifolaf ein hoes. Gormod o edrych ar y cyfan fel dim amgen na *holiday trip* i fechgyn a genethod henaf ein Hysgolion y sydd, ysywaeth, yn Nhywysogaeth Cymru. Yn awr gweinyddir y ddefod yn iaith y wlad, ac y mae yr ysbryd defosiynol hefyd ar gynnydd. Deuir beunydd i brisio *quality* goruwch *quantity*, ac eto y mae lle i wella. "Nid *da* lle gellir gwell," a llawer iawn gwell fyddai cymmeryd "pob tair blynedd" fel *maximum* ac nid *minimum* amser Conffirmasiwn. Yr ydym yn ymsyniol o amledd galwadau a lluosogrwydd dyledswyddau Esgob, ac felly o'r anhawsderau a'i lluddia i weinyddu Conffirmasiwn mor aml ag y dymunai ac y byddai dymunol. O herwydd eangder ei esgobaeth, y mae yr esgob megys o dan orfod i gyfyngu ei hun i'r *triennial Confirmations.* O dan y trefniant hwn y mae yn gorwedd, fel y gallesid dysgwyl, gryn swrn o *ffurfioldeb.* I'r llygadgraff a'r myfyrgar, nid allai llai na gwisgo y cwbl â gwedd *business-like* (esgusoder yr ymadrodd). Ffurfioldeb oer fel ia yn fferu defosiwn ac yn lladd "ysbryd y peth byw." Yr unig feddyginiaeth drylwyr yw ychwanegu rhif y pen-bugeiliaid neu adferu yr Esgobion *Suffragan* neu gynnorthwyol, Ond y mae yng ngallu ein esgobion wella y drwg o dan yr amgylchiadau presennol. Yn y plwyfi lle y caniatâ nifer y rhai a ymgeisiant am Gonffirmasiwn hyn, nid allai Conffirmasiwn plwyfol, *parochial Confirmation*—ar ddydd gwyl neu Ddydd yr Arglwydd, lai na rhoddi gwedd newydd hollol ar "arddodiad dwylaw," ac adfer y ddefod hynafol i'w bri cynenid. Dygai mabwysiad y cyfryw gynllun,—ni ddywedwn fel *rheol,* afresymol fyddai hyny, ond fel *eithriad* doeth a chyfamserol,—dygai, meddwn, y prif fugeiliaid i berthynas a chyfathrach foddhaol ac ymarferol, nid yn unig â'r is-fugeiliaid sydd yn llywodraethu o danynt, ond â'r praidd hefyd. Y mae gormod pellder rhwng yr Esgobion fel rheol â'r bobl; a chyfleusdra rhagorol, mewn llawer plwyf a phentref i ddyfod â'r praidd a'r prif fugeiliaid i well ymgydnabyddiaeth â'u gilydd fel aelodau o'r *un* Eglwys, a brodyr yng Nghrist, fyddai cyfleusdra o'r natur a nodasom. Atebai yr amcan mawr mewn golwg, a hyny heb ddarostwng yr Esgob i *level* pregethwr teithiol. Ac y mae genym o'n blaen enghraifft darawiadol o Esgob yn treulio Sul yn y dull hwn, ym mysg pobl gyffredin, mewn plwyf gwledig hollol, a gwyddom y lles a ddeilliodd i'r Eglwys trwy y cyfryw ymweliad. Efelychiad achlysurol o'r esampl dda hon a asiai yng nghyd mewn perffaith gariad a chwlwm tangnefedd y gwahanol raddau a dosbarthiadau sydd o fewn Eglwys Crist, "fel y byddont yn un." Amen.

## ATTODIAD.

### I.

*Gweddi i'w harfer cyn derbyn Conffirmasiwn.*

O fendigedicaf a grasusaf Arglwydd Dduw, trwy ras pa un y'm galwyd i ystâd o iachawdwriaeth pryd y'm bedyddiwyd i, ac oddi wrth ba un y daeth pob meddwl, deisyfiad, a bwriad daionus i'm calon i; cymhorth fi yn y cyssegriad newydd yma o honof fy hunan yr wyf yr awron yn bwriadu gwneuthur i Ti; eiddo Ti ydwyf, ac felly yr wyf yn deisyf hefyd fod byth rhag llaw. Dyro i mi, O Arglwydd, fywiol deimlad o'r anrhydedd yr wyt yn ei ganiatäu i mi wrth fod yn wiw genyt fy nerbyn i'th wasanaeth, modd y rhoddwyf fy hunan i fyny yn wastad, nid yn unig gyda chyflawn gydsyniad, ond gyda siriol ewyllysgarwch calon, i gredu a gwneuthur pa beth bynag a fynech i mi. Ac yna rhynged bodd i Ti fy nghryfhau yn dy ras a'm cadarnhau mewn nerth trwy dy Ys-

bryd Glân yn y dyn oddi mewn; fel y gallwyf byth ddirnad, deall, dewis, a dilyn y cyfryw bethau ag a fo cymmeradwy yn dy olwg di. Arfoga fi, O Arglwydd daionus, yn erbyn holl brofedigaethau y byd, y cnawd, a'r cythraul, gyda llwyrfryd diysgog i ymladd yn wrol yn eu herbyn, fel na bo iddynt un amser gael y goruchafiaeth a'r gorfod arnaf; eithr bod i mi ddyfalbarhau yn ffyddlawn i gwblhau'r adduned a wnaed yn fy enw wrth fy medyddio, pa adduned yr wyf yn bwriadu yr awron â'm geneu fy hun gadarnhau ar gyhoedd o flaen y gynnulleidfa. Erglyw, O Arglwydd, weddïau dy gynnulleidfa drosof fi, bechadur annheilwng, er mwyn teilyngaf haeddedigaethau dy Fab, Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

II.

*Gweddi i'w harfer ar ol derbyn Conffirmasiwn.*

Hollalluog Arglwydd a bythfywiol Dduw, yr hwn y bu wiw genyt fy adgenedlu o ddwfr ac o'r Ysbryd Glân, ac ym mhellach trwy Arddodiad Dwylaw yr Esgob, dy weinidog di, arnaf, a'm sicrheaist o'th rasusaf gariad a'th ddaioni tuag ataf; derbyn, yr wyf yn ostyngeiddiaf erfyn arnat, fy ffyddlonaf ddiolch am dy ddirfawr ddoniau daionus i'm, heb eu haeddu; par fod genyf yr un meddyliau, deisyfiadau, a bwriadau daionus ag oedd yn fy nghalon y pryd hyny, i barhau mewn ffyddlawn ufudd-dod i Ti dros fy holl ddyddiau. I'r perwyl yma rhynged bodd i Ti, O Arglwydd, ganiatäu bod i mi gynnyddu fwyfwy yn dy Ysbryd Glân, a'm nerthu modd y gallwyf wneuthur pob rhan arall o'm dyledswydd, nid yn unig tuag atat Ti, ond tuag at fy nghymmydog hefyd; yn enwedig i'r sawl, trwy ba rai megys dy oruchwylwyr di, y trosglwyddir dy nefol ddirgeledigaethau di i mi, gan roi parchus a dyfal wrandawiad i'w hathrawiaethau da hwynt, gan dderbyn eu duwiol gynghorion hwynt, ac yn ufuddaf ganlyn eu cyfarwyddiad a'u hyfforddiant hwy; fel y'm caffer yn nifer dy ffyddlawn weision etholedig yn y dydd mawr ac ofnadwy hwnw, pan ymddengys drachefn Iesu Grist, Bugail ac Esgob ein heneidiau, er ein iachawdwriaeth neu ein colledigaeth, fel y bo ein hymddygiad yn y byd hwn. O Arglwydd, gwna i mi ddewis y rhan dda yr hon ni ddygir oddi arnaf, gan gofio pwy yr ymrwymais i'w ganlyn, dan faner pwy y cyssegrais fy hunan yn fy sanctaidd fedydd, a'r holl ffyddlondeb sydd yn ddyledus i'm haddunedau o ufudd-dod, fel, wrth ddwys ystyried y pethau hyn, y bucheddwyf yn addas i'm sanctaidd alwedigaeth, ac ar ol yr ystâd hon o filwriaeth ar y ddaiar, y'm trosglwydder i'r ystâd hòno o orfoledd yn y nefoedd, yno i deyrnasu gyda Thi heb dranc na gorphen. Amen.

[Cymmerwyd allan o *Prif Addysc y Cristion*," o gyfieithiad y Parch. Edward Wynne, Curad Llanaber, 1755, tud. 56, 27.]

---

## HANES YR EGLWYS YNG NGHYMRU O DEYRNASIAD ELISABETH HYD ORSEDDIAD VICTORIA.

(*Parhâd o dudalen* 35.)

PENNOD XVIII.

NID oes neb all wadu bod y Cymry mwyaf dysgedig—y duwinyddion enwocaf, y pregethwyr a'r awdwyr mwyaf galluog—o fewn y tri chan mlwydd diweddaf naill ai wedi cael eu dwyn i fyny yn yr Eglwys, neu wedi bod yn dal urddau esgobyddol. Ac er gwasanaeth i astudwyr Hanes yr Eglwys yng Nghymru, dodir yma gofrestriad o enedigaeth a marwolaeth luaws o enwogion,

*Gwŷr gwiwgof a aned yn yr unfed ganrif ar bymtheg:*

O.C. 1508—1574, yr Esgob Hugh Jones.

1528—1601, y Dr. Gabriel Good-

man, sylfaenwr Ysgol Ramadegol enwog Rhuthyn a'r Elusendy.*

1551—1616, yr Esgob Henry Rowland.

1552: y flwyddyn hon y bu farw yr Esgob Arthur Bulkeley.

1541—1624, Edmund Prys, archddiacon Meirion.

1568—1637, yr Archesgob Bulkeley.

1570—1637, yr Esgob Edm. Griffith.

1570—1644, y Dr. John Dafis, Mallwyd.

1573, bu farw John Salusbury, archddiacon Mon.

1574—1629, yr esgob Hanmer.

O.C. 1579—1664, Rhys Prichard, Llanymddyfri; 1581—1663, yr Esgob John Dolben; 1582—1655, yr Esgob Goodman; 1582—1650, yr Archesgob J. Williams. Cyfoeswr oedd Lewis Thomas, brodor o Forganwg, offeiriad Cymreig, ac awdwr Seisoneg galluog.

1582—1655, y Dr. Godfrey Goodman, dysgybl i Camden. Yr oedd yn awdwr dadleuol medrus. Bu yn dal perigloriaethau diofal Llansannan, Ysgeifiog, a Llanarmon yn Ial, yn ddeon Rochester, ac esgob Caerloew. Ond diswyddwyd a thaflwyd ef i garchar dros dro am wrthod llawnodi canonau newydd yr Esgob Laud; ac fel y dywed ei hun, cafodd yn 1643 "ei ysbeilio, ei anrheithio, ei orthrymu, a'i lwyr andwyo." Treuliodd weddill ei oes megys efrydydd llenoriaeth, weithiau yn Llundain, bryd arall wrth odre'r Wyddfa yn Nhy Du Llanberis. Cyfrifid ef yn wr diniwed, cymmwynasgar, dysgedig, duwiol, a haelionus. Dywedir ei fod yn gydymdeimlwr â'r Anghydffurfwyr er iddo farw yn Babydd.

1584, bu farw yr Esgob Nicholas Robinson, taid y milwriad breningar, a'r Eglwyswr lleyg brwdfrydig, John Robinson o'r Gwersyllt, ger llaw Gwrecsam, yr hwn a ysbeiliwyd o'i etifeddiaeth, ac a yrwyd ar ffo gan Cromwel. Ond wedi bod ar hir ddeol yn Ynys Manaw ac wedyn yn Ffrainc, adferwyd ei ryddid a'i diroedd iddo ar ddychweliad y brenin, a chafodd yn iawn y plas hardd presennol, yr hwn a adeiladodd y trawsfeddiannydd yn nyddiau euraidd y Weriniaeth. Y mae yr Hen Blas yn sefyll ar lan yr afon Alun, yng ngwaelod y parc.

1585—1665, yr Esgob William Roberts, am ddyoddefiadau yr hwn, yn amser Comwel, y sonir mewn lle arall.

1585, yr oedd Syr Huw Rhobert Lên, A.C., o Goleg Crist, Rhydychain, bardd ac awdwr talentog, yn gurad Aberffraw. Fe gyhoeddwyd chwech pregeth Seisoneg o'i eiddo yn Llundain yn 1600.

1587—1672, yr Esgob Griffith Williams. Ni fagodd Cymry ef allai awdwr mwy galluog na'r Dr. Griffith Williams, brodor o Lanrug yn Arfon, un o ddisgynyddion hen deulu breninol Penmynydd, ym Mon; Esgob Ossory, am yr hwn y soniasom o'r blaen.

1588—1665, yr oesai Dr. Francis Mansel, brodor o sir Gaerfyrddin, trydydd mab Syr Francis Mansel, penaeth Coleg yr Iesu, Rhydychain, ac olynydd Syr Eubule Thelwal, un o Thelwaliaid Mathafarn, Dyffryn Clwyd. Ar doriad allan y Rhyfel Gwladol, enciliodd y Dr. Mansel i'w wlad ei hun, sef Cymru, lle y gwnaeth waith da, ac y dyoddefodd lawer dros y brenin a'r Eglwys yn amser y Weriniaeth. Peth hynod yn hanes Cymru yw i'r hen deuluoedd o Seison a Normaniaid, a sefydlasant yng Nghymru, droi yn Gymry glân o ran iaith mewn cenedlaeth neu ddwy, mwy Cymreig na'r Cymry eu hunain, ac yn wladgarwyr a chymmwynaswyr penaf cenedl y Cymry; fel William Salisbury, cyfieithwr

* Cyfoeswr oedd y Dr. John Dafydd Rhys, yr hwn a ysgrifenodd yn Lladin ramadeg tra dysgedig o'r iaith Gymraeg, er mwyn i offeiriaid ac ysgolheigion ddeall y Beibl Cymraeg.

Exile

+ ruined

N B

Most extraordinary omission of Bp. William Morgan Bp. of St. Asaph



dysgedig cyntaf y Testament Newydd i'r Gymraeg, a William Myddelton, y salmydd, na fu erioed fardd Cymraeg o'i well. Felly y bu gyda teulu athrylithfawr y Manseliaid.

1589—1667, yr Esgob Hugh Lloyd, rheithor Llangadog, ac archddiacon Ty Ddewi, dyn o dalentau ysblenydd, yr hwn a ddyoddefodd erlidigaeth ofnadwy yn amser Cromwel, ac a wnaed, ar adferiad y fréniniaeth, yn Esgob Llandaf yn 1660.

1589: yr un flwyddyn y bu farw William Evans, canghellwr a thrysorydd Llandaf, offeiriad a bardd enwog.

1591. Y flwyddyn hon y bu farw Thomas Huet, cantor Menyw, cynnorthwywr W. Salesbury yng nghyfieiihad y Testament Newydd.

1592—1666. Y pryd hyny yr oedd yr hynafiaethydd enwog, Robert Vaughan o'r Hengwrt, yn oesi.

1595. Yn nechreu y flwyddyn hon y cyssegrwyd y Dr. Richard Vaughan, un o hen Fychaniaid Talhenbont, yn Lleyn, yn Esgob Bangor. Yr oedd yn wr o ddysg, a dawn, a rhinwedd mawr, a dywedir i'w lafur ysbrydol fyrhau ei oes. Dywed Fuller ei fod yn pregethu yn ardderchog ac yn byw yn dduwiol. Dywedir hefyd iddo, o herwydd ei fod mor gyfiawn a haelionus, farw yn dlawd. Wedi bod yn olynol yn Esgob Bangor, Caerlleon, a Llundain, bu farw yn 1607.

1596. Y pryd hyny y bu farw James Ellis, offeiriad enwog Llandwrog yn Arfon, a Llanfwrog ym Mon, a thrysorydd Eglwys Gadeiriol Bangor.

1598—1663. Yn y cyfamser yr oesai David Lloyd, doctor yn y gyfraith ganonaidd, un o Lwydiaid y Berthlwyd, ym Mhowys, offeiriad enwog a bardd, person Trefdraeth, ym Mon; ac wedi hyny symmudwyd ef i Langynhafal, Dyffryn Clwyd, ac oddi yno i Lanfair Dyffryn Clwyd. a wardeiniaeth Rhuthin. Difuddiwyd yntau gan Gromwel, ond ar adferiad y Freniniaeth gwnaed ef yn ddeon Llanelwy.

1599. Yn y flwyddyn olaf o'r unfed ganrif ar bymtheg, y ganed John Ellis, D.D., awdwr Lladinaidd galluog, a sylfaenwr Ysgol Ramadegol Dolgellau.

1599. Y flwyddyn hon, yr ol mynegiad Syr John Wynn o Wydir, yr ymadawodd yr anfarwol William Salisbury a'r fuchedd hon.

PENNOD XIX.

*Eglwyswyr Enwog yn yr ail ganrif ar bymtheg* :

1600—1655, y pryd hynny yr oesai George Lloyd, un o'r Llwydiaid o Ginnael, person Bangor Iscoed, Esgob Sodor a Manaw, a Chaerlleon, yn olynol.

1601—1666, George Griffith, Esgob Llanelwy yn 1660, gwrthwynebwr dysgedig a galluog Vavasor Powel, &c., nid hwyrach, nad eisteddodd yn Cymro mwy medrus erioed yng Nghadair Asaph. Dywedir iddo gael ei troi allan o bersoniaeth Llanymynach, a dyoddef llawer yn amser Cromwel.

1607—1666, yr Esgob Robert Price Yr amser y Gwrthryfel Mawr (wedi rhoddi fyny ganghellwriaeth Bangor) am Esgobaeth Ferus a Leighlin yn yr Iwerddon, bu yn wrthddrych arall i erlidigaeth, a llwyr ysbeilwyd ef o herwydd ei ymlyniad wrth achos y brenin, yr hwn ar ei adferiad i'r orsedd a benododd y Dr. Price i Esgobaeth Bangor; ond bu farw cyn ymgymmeryd â'r swyddogaeth.

1608—1673, Robert Morgan, Esgob Bangor, cymmwynaswr mawr i'r Eglwys, a phregethwr hyawdl yn Gymraeg a Seisoneg. Dyoddefodd yntau lawer dan y Weriniaeth.

1610—1688, Humphrey Lloyd, yr hwn a gyssegrwyd yn Esgob Bangor 1673. Yn amser Cromwel cawsai ei ei fwrw allan o ficeriaeth Rhiwabon, oblegid efe oedd capelwr yr Archesgob Williams, tra yr oedd y brenin a'i lys yn ymsefydlu yn Rhydychain.

1611—1674, Francis Davies, Esgob Llandaf, yr hwn a ddifuddwyd ac a

and translator of the first Bible into Welsh — when ? Bp Davies



ysbeiliwyd yn amser y Weriniaeth; ond er adferiad y brenin gwnaed ef yn Archdiacon Llandaf yn 1660, ac yn ben yr Esgobaeth hwnw yn 1667.

1612 — 1667, Stephen Hughes, Ficer Meidrym, yr hwn a gyfrifir megys un o dadau Ymneillduaeth yn y Deheubarth. Ond nid oes dim prawf boddhaol ei fod yn ddim amgen nag offeiriad efengylaidd, o blegid yn 1652, wedi i'r Gwrthryfelwyr, lwyr drechu plaid y brenin ym mrwydr Caerwrangon, cafodd Stephen Hughes ei droi allan o'i fywioliaeth gan y Cromweliaid. Ac onid oedd mewn urddau esgobol, pa fodd y goddefid iddo, wedi ail-sefydlu esgobyddiaeth, bregethu yn yr eglwysi plwyfol. "Ac os Ymneillduwr oedd, pa fodd y cyssonir ei egwyddorion â'r ffaith ei fodd wedi treulio cymmaint o'i foddion bychain ei hun, a chael yr Eglwyswyr mwyaf penderfynol i gyfieithu iddo, er cyhoeddi yn Gymraeg, waith rhai o dduwinyddion penaf yr Eglwys?" Ac yn wir nid oedd llawer o honynt fel "Tadau Ymneillduaeth Cymru" ddim mwy o Ymneillduwyr oddi wrth Eglwys Loegr nag yr oedd sylfaenwyr y gwahanol urddau mynachol yn ymneillduwyr oddi wrth Eglwys Rhufain. Ond ysywaeth magasant feibion a wrthryfelasant yn erbyn crefydd ac Eglwys eu tadau. Modd bynag y mae coffadwriaeth Stephen Hughes yn arogli yn beraidd iawn fel cymmwyswr mawr ei wlad a'i genedl, a thrwy ymdrech oes, lledaenodd yr Ysgrythyr Lân ar hyd a lled Cymru, a chyhoeddoedd argraphiadau diwygiedig a phoblogaidd o waith Ficer Llanymddyfri, *Canwyll y Cymry, y Llwybr Hyffordd i'r Nefoedd; Ymarfer Duwioldeb* yr Esgob Bayley; *Eglurhâd Perkins ar Weddi yr Arglwydd; Galwad i'r Annychweledig* gan Baxter, &c. Cynnorthwywyr Stephen Hughes yng nghyhoeddiad llyfrau Cymreig oeddynt y Deon Tillotson; R. Llwyd, ficer y Waun; Rowland Fychan, Caegai; y Dr. Henry Maurice, prebendur Caerwrangon, ac Eglwyswyr dysgedig a duwiol ereill cyssylltedig â Chymru.

1613—1689. Yr esgob William Thomas o Dy Ddewi. Cyn y Rhyfel Gwladol yr oedd yn ficer Llacharn a pheriglor Llansadyrnen, a chyfrifid ef megys gweinidog ffyddlawn a phregethwr tanllyd; er hyny trowyd ef allan gan y Senedd, ac hyd 1660 bu yn cadw tipyn o ysgol, a'i deulu mor gyfyng arnynt fel yr oeddynt yn fynych heb angenrheidiau bywyd. Yr oedd yn awdwr amryw lyfrau rhagorol a phregethau, ac yn Brotestant brwdfrydig.

Yng nghorff y flwyddyn ddiweddaf a enwyd y bu farw y Dr. John Williams, deon Bangor, awdwr Lladinaidd galluog.

1616—1661. Henry Vaughan. brodor o Feirion, ond offeiriad Pant-teg, ym Mynwy, pregethwr ac awdwr talentog. Yn 1653 bu dadl fawr rhyngddo ag un Mr. Tomlies ar Fedydd Babanod yn Hen Eglwys y Fenni.

1621—1665-6. Thomas Vaughan, person Llansantffraid, Brycheiniog, awdwr anianyddol galluog a chyfrolog, yr hwn a ddifuddiwyd gan "Lledaenwyr yr Efengyl yng Nghymru" o blegid ei ymlyniad wrth esgobyddiaeth a brenindod.

1622—1709. Huw Morris, y bardd gorchestol o Bont y Meibion, Llansilin, Dinbych; Eglwyswr lleyg a breningar, oedd yn cydoesi â'r bardd athrylithgar Robert Wynne, ficer Gwyddelwern.

1622. Y flwyddyn hon y bu farw yr englyniwr Lladin hynod John Owen (*Andœnus*). ysgolfeistr Trelech, Mynwy, yn 1590: ond brodor o' Arfon.

1625—1673. Thomas Ellis, B.D., hynafiaethwr ac ysgolhaig mawr, offeiriad Dolgellau.

1626—1702. David Maurice, ficer Abergele, duwinydd a phregethwr enwog, a gwr o dduwioldeb hynod.

1631. Marwolaeth Dr. Theodore Price, periglor dysgedig Llanfair,

**Harlech**, a Llanrhaiadr Dyffryn Clwyd.

1636—1691. David Lloyd, ficer Abergele yn 1671, Llanddulas yn 1672, Llanergain yn 1677, canon a phrebendur Llanelwy, ac awdwr talentog.

1638—1687. Yr Esgob John Lloyd o Dy Ddewi.

1638—1693. John Ellis, person Llanddyfnan, sir Fon; canghellwr Bangor.

1639—1712. Y Dr. Jonathan Edwards, penaeth Coleg Iesu, Rhydychain, yr hwn hefyd a ddaliai fywoliaethau yn Arfon a Mon; duwinydd, a gwrthwynebwr Sosiniaeth.

1646. Y pryd hwn y bu farw Lewis Jones brodor o Feirion, esgob Cashel, a Chilaloe wedi hyny, yn 104 blwydd oed. Cymmeroedd raddfa yn Dublin yn amser gwrthryfel Cromwel.

1646. Y flwyddyn hon hefyd y bu farw y talentog William Price, periglor Dolgellau, y darlithiwr cyntaf ar "Athroniaeth Foesol" yn Rhydychain.

1648—1691. Henry Maurice, D.D., yr hwn a aned yn Llangristiolus, Ynys Mon, gwr o ddysg a rhinwedd mawr, ysgrifenwr campus yn erbyn Anghydffurfiaeth, pregethwr difyfyr (*extemporaneous*) doniol a hyawdl, capelwr Archesgob Caergaint, periglor (*diofal*) Llandrillo yn Rhos.

1648—1712. Humphrey Humphreys, esgob Bangor, yr hwn y dywedir fod ei dduwioldeb mor hynod, yn ei ddyddiau oedranus yn enwedig, nad oedd neb bron yn gyffelyb iddo ef.

1655—1709. Y Dr. John Jones, deon Llandaf, gwr o ddysg a medr hynod yn y celfyddydau.

1655—1723. Henry Rowland, ficer Llannidan, ym Mon, awdwr y *Mona Antiqua Restaurata*, gwaith hynafiaethol tra dyddorol a gwerthfawr. Gadawodd hefyd lawysgrif Ladinaidd o hanes plwyfi deheuol Mon, a thraethawd ar Ddaiareg ac Amaethyddiaeth yr ynys yn Seisoneg.

1667—1743. Yr Esgob John Wynne o Lanelwy, un o Wynniaid Maes y Coed, Caerwys, ac un o'r Cymry mwyaf dysgedig a doniol yn hanes oesoedd. Bu hefyd yn olynol yn beriglor Llangelynin, prebendur Aberhonddu a Chaerwrangon, proffeswr Duwinyddiaeth yr Arglwyddes Margaret, a phenathraw Coleg Iesu, Rhydychain. Bu farw, a chladdwyd ef yn Llaneurgain.

1671—1724. Y Dr. Erasmus Saunders, prebendur Aberhonddu; Cymro gwladgarol, hynafiaethydd, a duwinydd nid anenwog.

1671—1734. Yr enwog Ellis Wynne o Lasynys, offeiriad a bardd, awdwr y *Bardd Cwsg*, cyfieithydd *Rheol Buchedd Sanctaidd*, gan Jeremy Taylor, adolygwr argraffiad 1711 o *Lyfr Gweddi Cyffredin*.

1672—1728. William Gambold, periglor Llanychaer, sir Benfro, awdwr galluog *Gramadeg o'r Iaith Gymraeg* yn Seisoneg, gwr duwiol, a doniol fel pregethwr.

1674—1748. Edward Samuel, offeiriad Bettws Gwerfyl Goch, a Llangar ar ol hyny, yr hwn oedd yn Gymro penigamp a bardd. Cyhoeddodd amryw lyfrau rhagorol megys, *Gwirionedd y Grefydd Gristionogol*, cyfieithad o waith Lladin Grotius; *Holl Ddyledswydd Dyn: Prif Ddyledswyddau Cristion; Pregeth yng nghylch Gofalon Bywyd; Pregeth ar Adgyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist*, &c.

1684—1761. Griffith Jones, person Llanddowror, gwr duwiol ac yn un o brif wladgarwyr Cymru.

1685. Y flwyddyn hon y cyfieithodd William Foulkes o Llanfyllin, bregethau yr Esgob Griffith i'r Gymraeg.

1685—1741. Moses Williams, offeiriad Llanwenog, Aberteifi, yn 1715, a Dyfynog, Brycheiniog, y flwyddyn ganlynol; ond newidiodd Dyfynog am fywoliaeth yn Lloegr. Fel llenor Cymreig galluog, a dirfawr ei lafur a'i ddyfal-barhâd, ni wasanaethodd neb ei genedl yn fwy ym-

drechgar, ffyddlawn, ac effeithiol nag efe. Ac yn ol tystiolaeth Ab Ithel, torodd ei galon yn y diwedd, o blegid i esgobion ac urddasolion Seisonig Cymru. wrthwynebu yn gyhoeddus ei ymdrechiad o blaid iaith a llenyddiaeth ei wlad.

1686. Dyma y pryd y bu farw Edward Gamage, ficer Llangenith, Morganwg, yr hwn a fwriwyd allan o'i fywoliaeth drwy drais Cromwel. Ond wedi dychwelyd o'i fföedigaeth, yn yr Iwerddon, gwnaed ef dan y freniniaeth adferedig, yn archddiacon Llandaf.

1694—1769. Yn y cyfnod hwn yr oedd Theophilus Evans, periglor doniol Llanynys a Llangammarch, yn byw, awdwr enwog *Drych y Prif Oesoedd*, *Pwyll y Pader*, *History of Modern Enthusiasm*, *&c.* Brodor o Geredigion oedd, ac ni fu erioed ysgrifenwr Cymraeg mwy prydferth a choeth.

1699. Marwolaeth y Dr. Edward Wynne, o deulu Bodewryd, ym Mon, am yr hwn y soniasom mewn man arall.

Ar rywbryd o ganol i ddiwedd yr un ganrif y ganed yr offeiriad a'r hynafiaethwr enwog John Ellis o'r Glasfryn. Meirion, person Llanddowror a Llanbedr uwch Conwy, prebendur Llanfair (Harlech), ac Archddiacon Meirionydd.

Dyma gofrestr ammherffaith o Eglwyswyr hynod eu dysg, eu duwioldeb, a'u llafur yn eu hoes, cyn i Anghydffurfiaeth effeithio dim o'r bron ar Gymru, yn enwedig yn yr esgobaethau gogleddol.

## Y BRODYR CARDOTEIOL.

*(The Mendicant Friars.)*

Er fod yr Eglwys wedi bod yn fywiog ac yn llwyddiannus iawn yn yr ynys hon amryw gannoedd o flynyddau cyn y cyfnod hwnw a elwir wrth yr enw "Canoloesoedd," eto tua dechreu y drydedd ganrif ar ddeg yr oedd wedi syrthio i gyflwr o gysgadrwydd mawr; yr oedd crefydd yn dihoeni ac achos yr Efengyl wedi myned yn ddilewyrch hollol. Yr oedd y Seculariaid, neu offeiriaid sefydlog y plwyfi, wedi myned i roi eu bryd braidd yn hollol ar bethau'r byd. Yr oedd y rhai mwyaf dysgedig o honynt yn ymroddi bron yn hollol i drafod materion gwladol. Yr oedd y swyddogion uchaf yn y deyrnas mewn urddau cyssegredig megys ag yr oeddynt yn ddiweddar, ac y maent yn awr hefyd, yn Rhufain dan lywodraeth y Pab. Clerigwyr oedd y prif swyddogion, ac yn y llysodd barn hwy oedd yn llywio ac yn blaenori. Yr oedd y lleygwyr i gyd braidd yn amddifad o bob dysg. Nid oedd dim llyfrau yn bod ond llyfrau wedi eu hysgrifenu â llaw, ac felly nid oedd y cyfleusderau i gael dysg ond prin iawn. Ni fedrai nemawr o neb o wŷr mawr lleyg y deyrnas gymmaint a thori eu henwau. Y cleddyf oedd eu hofferyn hwy, ac nid y pin ysgrifenu. Dilyn y cŵn yn yr helfa oedd eu difyrwch, ac nid darllen. Yr oedd y rhai mwyaf dysgedig o'r offeiriaid yn y modd hyn yn treulio eu hamser i gyflawnu swyddi gwladol y rhai sydd yn awr yn cael eu cyflawnu yn hollol gan wŷr lleyg: ac yr oedd llawer iawn o offeiriaid y plwyfi yn ddifater hollol yng nghylch eu dyledswyddau priodol, ac yn ymwneyd â'r gorchwylion hyny ag yw twrneion a chyfreithwyr yn eu trafod yn awr. Felly yr oedd praidd Duw yn cael ei esgeuluso, ac yn trengu o eisieu yr ymborth ysbrydol hwnw ag mae gweinidogion yr Eglwys wedi eu hordeinio i'w weini. Yr oedd y mynachod yn byw fel gwŷr boneddigion mewn mynachdai godidog ar foethau a danteithion y wlad, yn ddifater iawn am gyflwr ysbrydol y bobl. Yn y fel hyn yr oedd cyflwr crefydd wedi myned yn isel ac yn farwaidd i'r eithaf tua dechreu y drydedd ganrif ar ddeg.

O ddeutu yr amser hwn daeth y Brodyr Cardoteiol i'r maes. Gwelodd

Dominicans Black — Franciscans Grey

Carmelites White



Duw fod yr achos mawr yn gwywo, a darparodd foddion i'w fywhau: gweledd fod y corff yn clafychu ac yn syrthio i drymgwsg, a darparodd feddyginiaeth iddo ac offerynau i'w ddeffroi. Daeth y Cardoteion yma fel math y genadon.

1. Y dosbarth cyntaf o honynt a ddaeth yma oedd y Dominiciaid. Sylfaenydd yr urdd hon oedd Dominic, Yspaenwr o dylwyth urddasol, yr hwn o herwydd ymrafaelion crefyddol yng ngwlad ei enedigaeth a ffodd yng nghyd ag ychydig o gyfeillion a gydymdeimlent ag ef i Ffrainc, yno i wrthsefyll yr hereticiaid ag oedd ar hyny o bryd yn aflonyddu y wlad hòno. Wedi cyflawnu ei genadaeth gydag hyfdra a gwrolder aeth drosodd o Ffrainc i'r Eidal. Yma efe a dynodd sylw, ac a ddaeth i barch mawr gyda dau Bab, sef Innocent III. ac Honorius III. Caniatawyd iddo gan y Pabau hyn y fraint o sefydlu cymdeithas newydd o bregethwyr er gwrthsefyll gau athrawon ac ymlid athrawiaethau dinystriol ymaith. Cafodd y rhai a ymunent â'i gymdeithas yr enw "Dominiciaid" oddi wrtho ef, y sylfaenydd: galwyd hwy yn "Frodyr" (*Fratres=Friars*) o herwydd eu bod wedi eu ffurfio yn un gymdeithas; ac yn Gardoteion, o herwydd eu bod yn gorfod ymrwymo i fyw ar gardod ac i beidio â meddiannu dim cyfoeth daiarol, ac yn Frodyr Duon, oddi wrth liw eu gwisg. Daeth y Dominiciaid hyn i Loegr gyntaf yn nheyrnasiad y Brenin Ioan, yn y flwyddyn 1212.

2. Yr urdd nesaf o Gardoteion a ddaeth yma oedd y Francisiaid. Gwr o'r Eidal o'r enw Francis, yr hwn oedd fab i fasnachwr cyfoethog, oedd sylfaenydd yr urdd hon. Yr oedd yn cydoesi â Dominic, ac fel yntau daeth i barch mawr gyda'r ddau Bab, Innocent ac Honorius, a chafodd drwydded ganddynt i sefydlu cymdeithas neu urdd grefyddol. Ac efe a'i sefydlodd ar yr un egwyddorion a Dominic, neu o leiaf ar egwyddorion cyffelyb iawn. Yr oedd y rhai a dderbynid i'r frawdoliaeth yn ymrwymo i ymwrthod yn llwyr â phob cyfoeth daiarol, i wisgo gwisg blaen, ac i fyned oddi amgylch yn droednoeth. Gelwid y Francisiaid yn "Frodyr Lleiaf" (*Minorites*) o herwydd eu bod yn proffesu ac yn ymarfer yn y dechreu â mawr ostyngeiddrwydd; a "Brodyr Llwydion" o herwydd lliw eu gwisg. Tiriodd y rhai hyn gyntaf yn Lloegr yn nheyrnasiad Harri III., yn y flwyddyn 1224.

O Ffrainc y daeth y cwmni cyntaf o honynt yma. Wedi glanio o'r rhai hyn yn agos i Dover, gan nad oedd ganddynt nac ysgrepan ar eu hysgwyddau nac aur nac arian yn eu pyrsau, aethant at dy rhyw bendefig yn yr ardal i geisio ymborth a lletty dros nos. Cawsant letty, ond ni ddywedir pa un a gawsant ymborth ai peidio. Cymmerodd y pendefig hwynt fel gelynion, a throdd hwynt i ystafell, a gwnaeth hòno mor sier fel na byddai yn bosibl iddynt ddianc o honi. Hwythau yn flin gan eu taith a aethant i orphwys heb feddwl dim llawer am fwyd, ac heb wybod eu bod wedi eu gwneuthur yn garcharorion. Boreu tranoeth, pan ddaeth yn bryd iddynt ymadael, daethant i ddeall pa fodd yr oeddid wedi gwneuthur â hwynt. Ym mhen amser, wedi i'r pendefig allu casglu lluaws mawr o'i gymmydogion yng nghyd, agorwyd drysau eu carchar a dygwyd hwynt allan i bresennoldeb y dorf. Dechreuwyd eu holi, a chyhuddwyd hwynt o fod yn lladron ac yn yspïwyr. Yr oedd yn edrych yn bur dywyll arnynt, ac ni wyddent beth i'w wneuthur. Ar hyn dyma un o honynt yn tynu ymaith y gorden ag oedd ganddo yn lle gwregys am ei lwynau, ac yn ei hestyn i un o'r cyhuddwyr, ac yn dywedyd, "Wele nyni yn eich dwylaw, gwnewch â ni fel y gweloch yn dda: pe lladron ac yspïwyr fyddem, nyni a haeddem gael ein dienyddio: ond gwŷr gonest ydym ni, wedi dyfod

yma nid er drwg ond er lles trigolion y wlad." Wedi cael boddlonrwydd mai dynion diniwed oeddynt, gollyngwyd hwynt i fyned, a hwythau a aethant yn y blaen i Gaergaint, lle y derbyniwyd hwy yn roesawgar gan y Dominiciaid ag oedd wedi ymsefydlu yno dipyn cyn hyny.

3. Yn nesaf daeth y Carmeliaid yma. Cafodd yr urdd hon ei dechreuad fel y canlyn:—Aeth un Berthold, gwr o Galabria, yng nghyd â rhyw ychydig o gyfeillion, drosodd i dir Syria; ac wedi cyrhaeddyd o honynt y wlad hòno esgynasant i ben Carmel, ac yno yn y fan o ba un y dywedid ddarfod cymmeryd y Prophwyd Elïas yn fyw i'r nefoedd hwy a adeiladasant fwthyn a chapel. Yma y treuliodd Berthold ei oes mewn gweddïau a defosiynau, gan fyw ar gynnyrch yr ychydig ddaiar ag oedd ef a'i gyfeillion yn allu drin. Dyna eu dechreu yn ol yr hanes cyffredin. Ond myn y Carmeliaid eu hunain eu bod hwy yn disgyn yn uniongyrchol oddi wrth Elïas ac Eliseüs, ac mai y ddau brophwyd hyn oedd eu sylfaenyddion. Derbyniasant eu henw yn ddiddadl oddi wrth fynydd Carmel, a dywedir iddynt dderbyn y rheol dan ba un yr oeddynt yn byw, oddi wrth Albert, Patriarch Ierwsalem. Gelwid hwynt y Brodyr Gwynion am mai gwyn oedd eu gwisg. Yn y flwyddyn 1250 y daeth y Carmeliaid gyntaf i'r wlad hon.

Yr oedd eu rheolau yn llym ac yn gaeth anarferol yn y dechreu, ond llaeswyd hwy, a gwnaethpwyd hwynt yn fwy esmwyth o dipyn i beth gan Babau Rhufain.

4. Yr urdd olaf o Gardoteion, ag sydd eisieu i ni ddywedyd dim am dani, yw yr Awstiniaid. Sylfaenwyd yr urdd hon fel y canlyn:—Canfu y Pab Alecsander IV. fod llawer o'r meudwyon yn byw mewn cymdeithasau bychain heb nemawr neu ddim cysylltiad rhwng y naill gymdeithas a'r llall, a phenderfynodd eu dwyn at eu gilydd a'u ffurfio yn un gymdeithas, a threfnodd fod iddynt fyw yn ol rheol S. Awstin neu Augustinus. Yr oedd yr Awstiniaid yn enwog am eu dysg a'u medrusrwydd i gynnal dadleuon, ac yr oeddynt yn ddylanwadol iawn ym Mhrifysgol Rhydychain. Daethant yma yn y flwyddyn 1252.

Heb law yr urddau hyn bu rhyw nifer fechan o rai yn perthyn i urddau ereill yn y deyrnas hon yn y Canoloesoedd, megys Brodyr y Sach (*Fratres de Sacco*), Brodyr ein Harglwyddes (*Fratres de Dominâ*), ac ereill, ond gan nad oeddynt ond ychydig o ran nifer, ac na ddarfu iddynt gyrhaedd unrhyw enwogrwydd yma, nid oes un angen am i ni lwytho ein tudalenau â'u hanes.

Dros ysbaid rhyw ychydig o amser wedi i'r Cardoteion ddyfod i'r wlad, buont yr hyn ag yw eu henw yn arwyddocäu: yr oeddynt yn dlotach na'r tlotaf. Ni feddent nac aur nac arian, ac efydd nid oedd ganddynt yn eu pyrsau. Gwnaethent eu hunain yn gydradd, o ran meddiannau daiarol, â'r gwaelaf o'u cydgreaduriaid, fel y gallent gydymdeimlo â hwy, a bod felly yn fwy cymhwys i draddodi gwirioneddau gwerthfawr yr Efengyl mewn modd a fyddai yn ddealladwy i'w gwrandawyr. Aethent yng ngrym y ffydd fywiog ag oedd yn llenwi eu mynwesau i heolydd ac ystrydoedd culaf a bryntaf trefydd a dinasoedd. Nid oedd un lle yn rhy wael iddynt hwy i fyned iddo. Lle bynag y byddai eneidiau anfarwol i'w cael yn cysgu, yno y byddent hwythau yn myned i'w deffroi a'u hannog i rodio yn llwybrau duwioldeb. Safent yng nghonglau yr heolydd, a thraethent eu cenadwri yn hyf i bawb a'u gwrandawent. Gwnaethent eu hunain yn gyfeillion i bublicanod a phechaduriaid, heb gydgyfranogi â hwy yn eu pechodau. Pregethent, nid fel y gwneir yn awr yn rhy fynych, er sefydlu y pwnc hwn a'r pwnc arall yn iaith ddysgedig a

chlasurol yr ysgolion, ond cyhoeddent wirioneddau plaen yr Efengyl mewn iaith syml ac hawdd ei deall Pregethent i'r galon, ac nid i'r rheswm a'r deall, er mwyn argyhoeddi y pechadur o'i bechadurusrwydd, a'i gyfarwyddo at y Groes. Dywedent beth oeddynt hwy eu hunain wedi deimlo trwy ysbrydoliaeth yr Ysbryd Glân. Dan ei arweiniad Ef yr oeddynt wedi gwerthu yr hyn oll a feddent, ac wedi penderfynu myned i'r lleoedd gwaelaf a llawnaf o bechodau, fel y byddai i galonau ereill ddysgu caru Duw â'r un cariad ag oedd yn eu meddiannu hwythau.

O'r heolydd a'r ystrydoedd aethant i'r clafdai a'r yspyttai: yno gweinyddent yn y modd mwyaf tyner ac hunanymwadol i gleifion truenus nad oedd ganddynt neb arall i'w tendo: yno mewn ystafelloedd lle y byddai yr haint a'r clefyd yn teyrnasu, gwelid y Brawd yn ymyl gwely'r claf yn gweini iddo, yn gwneuthur pob peth a fedrai i esmwythäu arno, ac yn rhoddi cusan heddwch iddo ar ei ymadawiad â'r byd.

Ni bu y Cardoteion yn hir cyn cael derbyniad i mewn i balasdai a thai y cyfoethogion, canys y mae afiechyd yn tueddu i wneuthur pawb yn gydradd. Gwelid eu bod yn fedrus yn y gorchwyl o ymweled â'r cleifion, ac yr oedd y gwŷr mawr yn hoff ganddynt gael y rhai mwyaf profiadol a allent ddyfod o hyd iddynt i fod gyda hwynt yn eu cyfyngder, ac i ymgynghori â hwynt yn eu caledi. Dynion bywiog, diddiogi, oedd y Cardoteion yn y dechreu, ac nid oeddynt yn gadael dim heb ei wneyd i gymhwyso eu hunain at y gwaith ag oeddynt wedi ymgymmeryd ag ef. Darfu iddynt astudio celfyddyd y meddyg, ac fel hyn daethant yn feddiannol ar radd helaeth o wybodaeth feddygol. Felly yr oeddynt yn dderbyniol iawn ym mhob man, ac aethant yn ddylanwadol neillduol ym mysg pob dosbarth o bobl.

Yn y modd hwn buont am beth amser yn ddefnyddiol iawn yn y wlad, ac yn offerynau i wneyd daioni mewn llawer ffordd. Buont yn gynnorthwy mawr i'r offeiriaid, y rhai oedd â gofal plwyfi arnynt, i ddeffroi eu pobl o'u cyflwr o gysgadrwydd a difaterwch. Yr oeddynt yn fath o genadon cartrefol, ac elent i fanau nad allai mo'r offeiriaid eu cyrhaedd, ac at bobl ag oedd wedi cau eu clustiau yn erbyn llais eu gwir fugeiliaid.

Gan fod cryn dipyn o eiddigedd rhwng y gwahanol urddau o'r Brodyr, megys ag sydd yn awr rhwng y gwahanol sectau yn ein gwlad, rhenid trefydd a dinasoedd o dipyn o faintioli yn bedair rhan, a rhoddid rhan dan ofal pob un o'r enwadau, ac felly yr oeddynt yn gallu gwneuthur eu gwaith heb ddyfod am draws eu gilydd.

Fel hyn y bu am beth amser, ond nid yn hir iawn. Fe ddywedir mai gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch, ac ariangarwch barodd i'r Cardoteion ddechreu ymlygru. Yr oedd rheolau eu cymdeithasau yn eu rhwymo i fod yn dlawd, ac i beidio â meddiannu dim cyfoeth, ac i ymddibynu am eu cynnaliaeth ar yr hyn a dderbynient fel cardod. Blinasant ar y drefn hon heb fod yn faith. Ond pa fodd yr oeddynt i wneyd, gan fod eu rheolau yn gorchymmyn iddynt fod yn dlawd? Dadleuent nad oedd eu rheolau yn gwahardd iddynt feddu cyfoeth fel corff o bobl—mai fel personau unigol yn unig yr oeddynt i fod yn dlawd; er fod y Brawd i fod yn Gardotyn, eto nad oedd dim rhwymau ar y Frawdoliaeth i fod yn llwm. Wedi boddloni eu hunain â rhesymau fel hyn aethant yng nghyd â'r gorchwyl o gasglu cyfoeth gyda'r sel a'r diwydrwydd mwyaf. Arferent bob dyfais er cael arian. Elent am draws y wlad a gosodent eu halloran i fyny lle bynag y caent gyfle, a derbynient gyffes hwn a chyffes y llall er mwyn arian. Dirywiasant yn gyflym iawn. Yn lle bod yn fendith i'r wlad, ni buont nemawr o dro cyn

myned yn felltith iddi. Yn y dechreu, megys ag yr ydym wedi dywedyd, yr oeddynt yn llawn sel dros achos yr Efengyl, a bu eu gweinidogaeth yn dra effeithiol, ond cyn pen ychydig iawn o flynyddau aeth pob dyn da i'w casäu a'u ffieiddio. Daethpwyd i edrych arnynt fel dynion hollol ddiegwyddor, cybyddlyd, ac anonest. Yr oeddynt wedi myned yn bedleriaid, yn feddygon tin clawdd, ac yn dwyllwyr ym mhob ystyr. Nid oes un o lyfrau y rhan olaf o'r drydedd ganrif ar ddeg nad yw yn eu trin yn y modd mwyaf garw. Ac nid oeddynt wrth reswm yn cael eu condemnio yn y modd hyn gan bawb heb fod achos yn bod. Y gwir ag ef yw, ddarfod i'w cenadaeth fyned yn fethiant hollol ym mhen ychydig iawn o amser. Collasant yn fuan holl sel eu sylfaenyddion, ac ni chafodd eu hymdrechiadau un effaith barhäus er daioni. Heb law hyn, aethant yn bla i'r wlad ac yn llwyth ar ei threfn cyn pen nemawr o flynyddau. Yr oedd y mynachod yn bobl hollol wahanol: yr oeddynt hwy yn berchen ar diroedd llydain, ac yn feistri tir goreu yn y wlad: yr oeddynt yn adeiladu tai godidog, yn codi pontydd, yn gwneuthur ffyrdd, ac yn helpu'r gwan trwy eu haelioni anghymharol. Yr oedd offeiriaid y plwyfi yn byw ym mysg eu pobl, ac er nad oeddynt bob amser yn ganwyllau yn llosgi ac yn goleuo, eto yr oeddynt yn adwaen defaid eu praidd, ac yn gwneuthur rhywfaint tuag at eu dysgu a'u harwain ar hyd yr iawn lwybr. Ond am y Cardoteion, yr oeddynt hwy yn myned am draws y wlad i gasglu rhoddion, ac nid i'w cyfranu: cablent a dirmygent y mynachod, a galwent hwynt yn ddynion glwth a segur; gwawdient y person yn ei wyneb, ac annogent ei braidd i'w adael, a dywedent y celwyddau mwyaf digywilydd am y creiriau a ddywedent fod ganddynt yn eu meddiant, ac am y gwyrthiau a wnaed trwyddynt, a hyn oll er mwyn hyrwyddo y fasnach ysbrydol wrth ba un yr oeddynt yn byw.

Yr oedd Wicliff, yr hwn a fu farw yn y flwyddyn 1384, yn hynod o elynol iddynt, ac nid oedd yn eu harbed un amser. Cyhoeddai eu beiau a'u drwg weithredoedd pa bryd bynag y byddai cyfle yn caniatäu. Yr oeddynt hwythau yn teimlo i'r byw. Syrthiodd Wicliff i afiechyd trwm, a meddylid ei fod ar fin marw. Pan glybu y Brodyr hyn, aeth tri o'r rhai blaenaf o honynt ato, a chymmerasant arnynt fod yn bryderus iawn yng nghylch ei gyflwr ysbrydol. Cynghorasant ef i ymbarotoi. Arddangosasant iddo ei fod yn awr, yn ol pob tebyg, ar fin tragwyddoldeb a'i fod wedi gwneyd cam mawr â hwy yn ei ddydd: annogasant ef i edifarhau ac i wneyd cyfiawnder â hwy trwy gydnabod yn awr mai cam yr oedd wedi wneyd â hwy. Ar hyn dyma yr hen wr dewr yn galw am ei was, ac yn ceisio ganddo godi ei ben yn uwch ar y gobenydd, a thyma fe yn dywedyd mewn dull penderfynol iawn wrth ei ymwelwyr, "Ni byddaf farw ond byw, a chyhoeddaf eto ddrwg weithredoedd y Brodyr."

Ond er mai y cymmeriad ag ŷm wedi ei roi yma iddynt oedd y cymmeriad ag oedd y Cardoteion fel corff o bobl yn ei haeddu, eto nid oeddynt hwy, er cynddrwg oeddynt, heb eithriadau yn eu plith. Yr oedd rhai o honynt yn ddynion da, duwiol, a dysgedig. Yr oedd amryw o'r Ffranciscciaid yn Rhydychain yn enwog trwy'r byd am eu dysg. I'r Frawdoliaeth hon y perthynai Roger Bacon, Duns Scotus, ac Occham, am y rhai y dywedir nad allai un genedl ddangos eu cyffelyb.

Parhaodd y Cardoteion yn yr ynys hyd amser y Diwygiad yn yr unfed ganrif ar bymtheg, pan ysgubwyd hwy a'r holl enwadau crefydol ereill i ffwrdd, am ysbaid rhai blynyddau o leiaf. Ond nid yn hir iawn y buont cyn ailgyfodi, ond nid mwyach ar agwedd cymdeithasau dan nawdd a

rheolaeth Pab Rhufain, ond fel math o *free lances* dan enw pregethwyr, y rhai yn ol dim ag ŷm ni yn abl i ddeall, sydd yn awr yn llanw lle ac yn gwneuthur yr un gwaith â Chardoteion y Canoloesoedd.

---

## Y MILFLWYDDIANT AR WAWRIO.

*Dai.* Pa fodd yr ydwyt ti yn teimlo dy hun heddyw, Ned, o ran dy gorff, dy feddwl, a'th galon?

*Ned.* Wel, yr ydwyf yn teimlo yn bur dda o ran y rhai hyn, ac yn awyddus am glywed dy resymau ym mhellach am yr haeriad uchod, sef dynesiad y milflwyddiant.

*Dai.* Cei, cei eu clywed yn olynol, a dyma yr ail reswm, sef yr enw *Church* neu *Eglwys*, y rhai ydynt gyfystyr. Capel neu dy-cwrdd y galwai yr hen bobl duwiol gynt eu haddoldai, megys capel Sion, capel Cynon, neu dy-cwrdd Lledrod yn sir Aberteifi. Eglwyswyr yn unig oedd yn defnyddio yr enw hwn ar eu haddoldai, ac yn wir, yr oedd yr Ymneillduwyr dro yn ol yn ffieiddio yr enw, ac yn ei roddi a'i daflu ar yr Eglwys, mewn dull o wawd, dirmyg, a sarhâd arni, megys yr *hen* Eglwys, yr *hen* lan, a'r *hen* butain, &c. Ond yn awr, fy machgen anwyl i, pwy ond y nhw sydd wedi mabwysiadu ac yn defnyddio yr enw hwn, megys "*our Church*," ein Eglwys ni, &c., yr hyn sydd yn profi geirwiredd yr hen ddiareb Seisonig, "*Wonders will never cease*," hyny yw, ni dderfydd rhyfeddodau byth.

*Ned.* Yr wyt yn agor fy llygaid bob tro, ac yr ydwyf yn canfod yn eglur iawn fod yr Ymneillduwyr ar ddyfod yn ol i fynwes yr hen Fam, cyn eu bod mor hoff o'r enw; a gad iddynt, Dai, ei harfer hyd yr eithaf, neu, ys dywed y Sais, tu draw i glawdd Offa, "*Let them use it with a vengeance.*"

*Dai.* Na, Ned, yr wyf yn methu yn fy myw a chydweled â thi ar y mater hwn, er ein bod y rhan fynychaf ar faterion ereill, o blegid nid yw yr achau, y cyflawniadau, a'r ymddygiadau a gymmerant le ynddynt o bryd i bryd yn gweddu i'r enw bendigedig a chyssegredig hwnw.

*Ned. Beg your pardon with hat in hand and on my bended knees*, Dai. Y mae yn debyg i mi roddi *vent* i fy nheimladau a rhyddid i fy nywediadau mewn anystyriaeth ac anwybodaeth o ystyr y gair *Church*, yr hyn, ef allai y byddi cystal a hysbysu i mi, ac am yr hyn y teimlaf yn wir ddiolchgar i ti.

*Dai.* Gwnaf, gwnaf mewn dau eiriau. Mae y gair yn deilliaw o'r gair Groeg *κυριακοσ*, a hwnw o *κυριοσοικια*, hyny yw, ty yr Arglwydd, neu dy Dduw.

*Ned.* Diolch yn dalpau i ti (chwedl y Cardies), Dai; canys er fy mod yn awr yn tynu ar fy mhedwar ugain mlwydd oed, eto, ni wyddwn i ddim beth oedd ystyr y gair.

*Dai.* Cymmer galon, Ned, nid oes neb yn rhy hen i ddysgu, ys dywedodd un doethawr gynt, "*Were man coeval with the sun, the patriarch pupil would be learning still.*"

*Ned.* Ha, ha, ha; pwy a ŵyr na ddeuaf finnau yn ddoethwr, canys nid ydwyf mor hen a'r haul yna.

*Dai.* Deuwn yn union at y pwnc mewn llaw, neu fel ag y dywed y pregethwyr goleuddysg (?) yma, "Syrthiwn ar ein testyn ar unwaith," fel barcud ar gyw. Ti a wyddost i mi ddyweyd wrthyt, Ned, mai ty yr Arglwydd yw ystyr gwreiddiol y gair, ond yr wyf yn gofyn i ti, Ned, mewn sobrwydd a phrysurdeb, a ydyw y pethau sydd yn cael eu cario ym mlaen ynddynt hwy yn gweddu i'r Bod Mawr ar enw pa un y gelwir hwynt.

*Ned.* Yn wir, nid wyf fi yn gwybod ond y nesaf peth i ddim am eu hystranciau a'u hystrywiau yn eu capeli, canys i'r Eglwys Lân Gatholig yr wyf fi, Mali, a'm plant yn myned

ddwy waith bob Sul ac yn yr wythnos hefyd.

*Dai.* *Nota bene*, Ned. Nid wyf fi yn condemnio na chwaith yn cymmeradwyo yr arferiad o gynnal y cyfarfodydd gweddi, y seiet breifat, yr Ysgol Sul, a'r ysgol gân, os bydd ty cyfleus gerllaw ynddynt hwy. Ond gwarchod pawb ni rhag y fath bethau a'r arwerthiadau, y crach eisteddfodau, y cyngherddau, y darlithiau, y brygawthiadau, yr *interludes*, a phob math o fountebanciaeth a gynnelir ynddynt hwy. Rhag y fath anras-waith, gweddïaf yng ngeiriau ein Litani glodwiw ac ardderchog, "Gwared ni, Arglwydd daionus."

*Ned.* Mewn sobrwydd, Dai, a ydyw y fath bethau a hyn yn cael eu goddef yn y capeli, neu "jurches," fel y geilw Wil Brydydd y Coed hwynt?

*Dai.* Maent *wedi* cael eu goddef, ac y maent eto yn cael eu goddef i raddau mwy neu lai mewn amryw fanau mor wir a bod yr haul wedi codi o'i wely y boreu heddyw.

"A wado hyn, aed â hi,
A gwaded i'r haul godi."

*Ned.* Yr wyf yn teimlo fy llygaid yn torwynu tua'r lan, fy nhafod yn glynu wrth daflod fy ngenau, fy nghalon yn curo a bron neidio allan o'i gwisg, fy ngwaed yn berwi yn fy ngwythïenau, a'm gwallt yn sefyll yn syth fel *porcupine quills* ar fy nosbarth uchaf wrth glywed y fath bethau hyn.

*Dai.* Y mae genyf un peth yn rhagor i ofyn i ti, Ned, a dyma fo: a wyddost ti pa effaith neu ddylanwad y mae y cyfryw *berformances* yn gael ar y gwrandawyr neu'r gwyddfodolion?

*Ned.* Na wn i yn wir, Dai bach anwyl, ond mi wn i gwyddost ti, canys yr ydwyt yn bur hyddysg yn eu holl ystranciau hwynt.

*Dai.* Y mae yn peri iddynt lygadu, winco, a phoco eu penau ar eu gilydd —chwerthin nes y mae ei cwppwrdd canol bron â *bursto—clapo* eu dwylaw nes y gallech feddwl fod holl wragedd y byd i gyd yn grwn (a Bettws hefyd yn y cwmni) yn cwyro ymenyn ynddynt, a chicio eu traed yn erbyn y lloriau, y meinciau, a'r corau, nes peri i ddynion o *nerves* gweinion a meddyliau meddal, fel ti a minnau, gredu fod holl dabyrddau, holl seindorfau, yr holl fydyssawd wedi ei crynoi at eu gilydd a'u curo gan holl bencerddwyr y byd, nes y byddont yn ddeillt gwylltion candryll mwnws mân.

*Ned.* Mae yn ddigon i "synu, pensyfrdanu dyn."

*Dai.* Nid yw hyn ond hanner yr hanes am danynt; er enghraifft, heddyw pregethir yn ddouiol, deniadol, a thoddiadol dros ben ar gariad Duw, priodas yr Oen, a bywyd tragwyddol, y fory darlithir yr un modd ar "garu, priodi, a byw." Heddyw y clywir yr amenau a'r diolchiadau yn dyrchafu, gobeithiwn, o eigionau eu calonau; y fory "Ha, ha, ha" y gwrywod a "Hi, hi, hi" y benywod; y ddau ryw am yr uwchaf, fel pe baent yn ymgystadlu am wobrau am y *lungs* goreu. A heddyw cenir mewn hwyl ac oddi ar deimlad yr emyn bythgofadwy a bendigedig hwnw a'r cyffelyb. *O mores.*

*Ned.* Yr wyt, Dai, wedi fy nharo i â syndod, byddardod, a mudandod; ond rho glywed i mi, beth all fod dyben a diwedd y pethau hyn?

*Dai.* Cei, *in a word;* "diwedd y gân yw y geiniog."

*Ned.* A gaf fi gyfansoddi englyn unodl union newydd spon o'r Mint i'r fath genedlaeth drofäus a hon?

*Dai.* By all means, Ned; *ad libitum*, if you like.

*Ned.* Wel. dyma fo:

Llom grefydd llaw-ymgrafu,—nid da saint
Yw *Dissenters* Cymru;
Dwl a dall yw'r d—l—d du—
Cristianiaid yn croes dynu.

*Dai.* Dyma fy ail reswm, yr hwn sydd mor amlwg ag y gall un dyn â hanner llygad, ac ar redeg, ei ganfod ar yr olwg gyntaf.

SYLWEDYDD SALA' YDYW.

## ER COF

*Am Elizabeth Morgan, merch Mr. a Mrs. Morgan, Alltlwyd, Llannon, Ceredigion.*

"Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig."

Bu farw Liza Morgan!
'Run hawddgar, dyner, fwyn,
Un o genadon Iesu
A ddaeth o'r ddai'r i'w dwyn:
Fe'i *collwyd* gan y teulu,
Fe'i *collwyd* gan bod un;
Fe'i *cafwyd* yn y nefoedd
Ar ddelw Crist ei hun.

Tylodion y gym'dogaeth
A gawsant ergyd dwys
Pan roddwyd hon i orwedd
Yn dawel dan y gwys;
Y rhai'n yn ffyddiog gredent
Na welent newyn du,
Ond chwalwyd eu holl hyder—
Bu farw'r eneth gu.

Ei cholled a ganfyddwn
Pan yn yr ysgol gân,
Ni chlywir llais Miss Morgan
Yn beraidd fel o'r bla'n:
Rhyw angel gwyn a'i cipiodd
I gôr y drydedd nef,
I ganu *alto* peraidd,
Yr anthem "Iddo Ef."

Gwag yw ei lle'n yr Eglwys,
Gwag yn yr Ysgol Sul,
A dystaw'r llais gynghorai,
"Gwnewch gadw'r llwybr cul;"
Ond os y ddai'r ga'dd golled,
Ac os mai gwag ei lle,
Mae'r nefoedd un yn llawnach
Ar ol cael hon i dre'.

Yn wir y mae y syniad
Na chaf ei gweled mwy
Yn rhodio oddi amgylch
Yn rhoi i'm mynwes glwy';
Gadawodd fyd y galar,
Mae wedi myned trwy
Drochionog dônau'r afon,
A'i lle nid edwyn mwy.

Pan yn ei chystudd olaf,
Dyoddefai yn ddigwyn,
Gan bwyso ar ei Phrynwr
Fu farw er ei mwyn;
'Roedd yn rhy wan i ganu,
Ac yn rhy wan i fyw,
Ond nid rhy wan i gredu,
Na chwaith i garu Duw.

Na, yn 'r amgylchiad yna,
Ei hunig ymffrost oedd,
Fod yr Oen fu ar Galfaria
Yn gwbl wrth ei bodd;
Gwynebai fro marwolaeth,
A'r fanwl farn yn hy,
Gan seilio'i holl obeithion
Ar Aberth Calfari.

'Rwy'n methu peidio teimlo
Wrth wel'd ei dosbarth bach
Yn wylo am eu meistres,
Sydd heddyw'n berffaith iach:
Cânt athrawesau eto
I'w dysgu 'ngeiriau Duw,
Ond nid yr un Miss Morgan,
Can's hòno mwy nid yw.

Tydi, ferch ieuanc nwyfus,
Sy'n awr yn llon dy wedd,
Wrth basio drwy y gladdfa
Gad ddeigryn ar ei bedd;
Dos ar dy ddwylin, dywed,
"Os marw'n glau a raid,
O Dduw, rho imi'r nefoedd,
A bedd yn Llansantffraid."

Pan y cyrhaeddodd adref,
I'r Ganaan fry uwch ben,
Pwy welai yno'n canu
Mewn gwisg seraphaidd wen,
Ond Lewis, ei brawd henaf,
A Richard Rowland cu;
A siriol wenu wnaethant,
Pan yno gwelsant hi.

Mae hiraeth yn ein calon
Am fyned yno i fyw,
O fyd y gorthrymderau,
"Can's llawer iawn gwell yw;"
Wel, pwyswn ar ein Prynwr,
Dewiswn Ef yn rhan,
Ac yna ar fryniau Canaan
Cawn ganu yn y man.

---

## GOLWG AR GWRS Y BYD.

### CYFFES-GELL Y CAPEL.

CONDEMNIR yr Uchel-ddefodwyr o lygru moesau a diraddio cymmeriadau benywod yn y gyffes-gell. Un o garpiau Pabyddiaeth yw cyffesiadau preifat, ac un o garpiau Pabyddiaeth yw seiet breifat yr Ymneillduwyr yng Nghymru. *My Lords Deacons* a'r pregethwr sydd yn derbyn cyffesiadau pobl y capeli. Nid ŷm yn gwybod am ddirgelwch y seiet breifat yn bersonol, ond clywsom lawer am weithrediadau a gormes y seiet ar yr aelodau anhapus pan dan ddysgyblaeth. Rhywbeth yn debyg i hyn y dygir pethau ym mlaen:—

*Gweinidog.* Thomas James, oes rhywbeth ar eich meddwl chwi heno?

*Thomas* [Mor iach a'r cricsyn]. Dim yn *barticular.*

*Gweinidog.* John Jones, yr wy'n

gobeithio eich bod yn myned ym mlaen gyda chrefydd.

*John Jones.* Ydwyf, bid siwr, onid e ni fuaswn yn d'od yma heno. Yr wy'n diolch fod y cynauaf wedi ei gael i mewn, a bod Nansi yn gwella.

*Gweinidog.* Nansi, y mae yn dda genym eich gweled yn gofyn am le yn ein plith, oes dim chwant ar Jack droi.

*Nansi.* Oes siwr, mae'n chwiban hymnau er's llawer dydd.

Y fath dduwioldeb a hyn sydd yn cael ei siarad: y dall yn arwain y dall, a'r ddau yn cwympo i'r ffos. Os yw cyffesiadau yn ddrwg, ac yn ffiaidd i Uchel-Eglwyswr, y mae yn ddrwg yn y capel hefyd. Nid ŷm wedi cael diwedd eto ar y cyhudd-iadau yn erbyn Mr. Ward Beecher: y maent fel pen y ddraig a laddodd Hercules: mor gynted ag oedd ef yn tori un pen, yr oedd un arall yn codi yn ei le.

### MR. OSBORNE MORGAN A'R MYNWENTYDD.

Ychydig o wlan a llawer o swn, chwedl y dyn hwnw ar ol cneifio y mochyn. Er cymmaint o ysgrifenu a siarad fu, rhoddodd Ty y Cyffredin ei ddyfarniad yn erbyn Mr. Morgan a'i gwmni. Trafododd ef y mater yn feistrolgar, a gwnaeth ei oreu i berswadio y Ty i weled yn llygad yn llygad ag ef; ond i ddim pwrpas: yr oedd ei bwnc yn un diles a diangen-am-dano. Yr oedd ei araith yn deilwng o well achos na'r un oedd ganddo mewn llaw. Dywedir mai amcan Mr. Morgan oedd ceisio aduno y blaid Ryddfrydol. Yr oedd y rhesymau a ddygwyd ym mlaen yn erbyn Mr. Morgan yn adnabyddus i'n darllenwyr. Ni wnaeth pleidwyr Mr. Morgan gynnyg i wrthbrofi y ffeithiau a ddygwyd ym mlaen. Siaradodd Mr. Cross ar y pwnc yn ei agwedd gyfreithiol ar yr effaith mae mynwentydd yn ei wneyd ar iechyd y cyhoedd. Profodd ei bod yn awr yn niweidiol i'r byw. Nid oes gan yr awdurdodau ddim awdurdod i barotoi claddfëydd; mae yn rhaid cael cyfraith newydd ar y mater. Os cauir yr holl fynwentydd bydd gwaith Mr. Osborne Morgan, fel Othelo, ar ben.

Gwnaeth y Prif Weinidog iawn ddefnydd o'r Ystadegau a barotowyd. Dywedodd nad oes dim llai na dwy ran o dair o'r boblogaeth yn cael eu claddu yn awr mewn *cemetries*, y mae y drydedd ran arall, tua chwech miliwn o bobl, yn Eglwyswyr: wrth reswm nid yw y rhai hyn yn achwyn. Y mae yr holl gynhyrfiad yma yn cael ei wneyd dros ddwy filiwn o wŷr, gwragedd, a phlant.

Methodd Mr. Morgan wneyd dim y tro yma i hyrwyddo cynlluniau Cymdeithas y Dadgyssylltiad, yn ei ymosodiadau Quixotaidd ar y clochdai. Nid oes gan y gymdeithas ddim i wneyd eleni â'r mynwentydd, ac mae yn awr yn udganu i'r gad yn erbyn mesur y Prifathrofëydd.

### ONEUEN I MR. HENRY RICHARD & CO. I'W THORI.

Byddai yn burion peth i Mr. Richard a'i gyd-weithwyr yn erbyn yr Eglwys i astudio *Returns* a ddygwyd i'r Senedd ar gais Arglwydd Hampton, sef nifer yr Eglwysi a adeiladwyd ac a adferwyd ar y gost o 500p. ac uwch law hyny, er y flwyddyn 1840. Tanysgrifwyd o ugain i ddeng miliwn ar hugain yn y gwahanol esgobaethau, heb law Peterborough, Caerloew, a Bryste. Pan mae Balaamiaid sydd yn cael eu talu am regu yr Eglwys yn sefyll ar ben eu tomenau eu hunain bloeddiant, "Edrychwch ar yr Eglwys yng Nghymru." Nid oes un dyn byw bedyddiol mor hoff a Mr. Richard am gyfeirio at Gymru. Adeiladwyd ac adferwyd 165 yn esgobaeth Llandaf yn unig. Gwariwyd y swm o 370,482p., heb law 19,298p., o drysorfëydd Eglwysig. A ydyw y ffeithiau hyn yn profi fod yr Eglwys yng Nghymru yn marw? Lol wirion i gyd.

x Rhuddin is heart of oak



## BUGEILIAID EPPYNT.

*Idwal.* Wel, fechgyn, mae y gwanwyn wedi dyfod.

*Llywelyn.* Ydyw mae; ond mae y tywydd yn lled oer, serch hyny.

*Ifor.* Ydyw, mae'r defaid a'r ŵyn yma yn peri llawer o drafferth i mi.

*Idwal.* Mae'r *Parliament* wedi cyfarfod.

*Llywelyn.* Ydyw mae; ac mi a welaf fod Osborne Morgan wedi dyfod ym mlaen eleni eto â'r helynt claddu.

*Idwal.* Bachgen yn iawn yw Osborne Morgan. Mae ei lonaid o ruddyn. Rhuddyn yw i gyd.

*Ifor.* Nid rhuddyn fyddaf fi yn galw y fath beth a hyn, ond math o haerllugrwydd chwithig.

*Idwal.* Mae eisieu arnom ni, yr Ymneillduwyr, gael ein hiawnderau.

*Ifor.* Yr ydych yn cael pob chwareu teg yn y byd. Yr ydych yn cael addoli fel y mynoch, a phryd y mynoch, a pha le bynag y mynoch.

*Idwal.* Mae eisieu arnom ni i gael myned i fynwentydd yr Eglwys i gael claddu ein meirwon.

*Sierlyn.* Onid ydych chwi yn cael claddu eich meirwon yno, a chael claddedigaeth Gristionogol yn y lle cyssegredig hwnw?

*Idwal.* Mae eisieu arnom gael hawl i fyned i'r mynwentydd i gael claddu ein meirwon yn ol dull ein hunain. Mae y fynwent yn perthyn i ni fel chwithau.

*Ifor.* O, ai fel yna yn wir? Yr oeddych drwy yr holl flynyddau yn ysgego byth a hefyd am gael gwared o'r dreth Eglwys, gan draethu nad oedd yr Eglwys na'r fynwent yn perthyn dim i chwi, mai eiddo yr Eglwys oeddynt.

*Sierlyn.* Mae Ymneillduaeth ac Ymneillduwyr yn llawn o bob *humbug*, twyll, ac anghyssondeb. Chwi y cnafiaid direswm a digywilydd wedi bod yn ysgrechain drwy y blynyddau am gael gwared o'r dreth Eglwys ar y tir mai eiddo'r Eglwyswyr oedd yr Eglwys a'r fynwent, ac yn awr yr ydych mor bresaidd a digywilydd a dyfod ym mlaen i haerllugo cael myned yno i greu terfysg ac aflonyddu gwlad ac Eglwys.

*Ifor.*Ië, yn sicr mae hyn yn brawf o'r anghyssondeb gwaethaf.

*Sierlyn.* Ië, pa ddewin allasai feddwl y buasai gwrthwynebwyr y dreth Eglwys yn dyfod ym mlaen i geisio y fath beth a hyn?

*Ifor.* I ba beth wyt ti, Sierlyn, yn cyffelybu y ger aflonydd hon?

*Sierlyn.* Tebyg ydynt i'r blaidd ysglyfaethus hwnw gynt yn ymosod ar yr oen diniwed.

*Idwal.* Pa flaidd oedd hwnw?

*Sierlyn.* Aeth blaidd ac oen er ys tro maith yn ol i afon loew i dori eu syched. Yr oedd yno bob chwareu teg i bob un o honynt i gael digon o ddwfr o'r natur oreu. Ebai y blaidd wrth yr oen, "Yr wyt yn dwyno fy nwfr i, ni allaf fi byth ei yfed, o blegid yr wyt ti yn ei wneyd yn aflan." "Nac wyf fi yn wir," ebai yr oen. Ysgyrnigai y blaidd ei ddannedd gan ddywedyd, "Yr wyt." "Nis gall hyny fod," ebai yr oen, "O blegid fi sydd ar y tir isaf—i lawr ac nid i fyny mae'r dwfr yn rhedeg. Ni wnes i ddim niwaid i ti erioed." "Nid dyna y peth," ebai y blaidd, "fe roddodd dy daid di sarhâd i mi, ac am hyny, mi a ddialaf arnat ti." Ar hyny, dyma y blaidd yn rhuthro gan larpio yr oen yn groes i bob rheswm.

*Ifor.* Diolch i ti, Sierlyn. Dyma yn gymhwys fel mae yr Ymneillduwyr politicaidd. Buont yn curo fyth ac hefyd ar yr hen Eglwys am gael tynu y dreth Eglwys i lawr, ac wedi hir floeddio byth a hefyd, na pherthynai yr Eglwys a'r fynwent ddim iddynt hwy, maent fel y blaidd ysglyfaethus a melltigedig pan yn rhuthro ar yr oen am ddiwyno ei ddwfr ef, pan nas gallasai hyny fod mewn unrhyw fodd, yn gwaeddu mai hwy a biau y fynwent.

*Sierlyn.* Ië, dyma bentwr o haerllugrwydd a digywilydd-dra—ïe, dyna beth yw *logic* radicalaidd, ïe *logic*

"Carlo" Sion Pantyblaidd, pan yn ysglyfaethu defaid Troed y Foel!

*Llywelyn.* Yr wyt ti, Ifor a Sierlyn, yn arfer iaith drwsgl iawn heddyw.

*Sierlyn.* Mae yn rhaid arfer iaith gymhwys i'r testyn a'r personau ydym yn drafod—"Ffrewyll i farch, ffrwyn i asyn, a gwialen i gefn yr ynfyd."

*Idwal* Os nad oes hawl, pa wahaniaeth? Gadëwch i ni fyned i'r fynwent, ni wnawn i ddim allan o le.

*Sierlyn.* Na; byddwch mor anfoesgar a meirch ac asynod yno.

*Idwal.* Na; yr ydym ni yn cynnal pob peth mewn trefn ac yn foesgar iawn—yn grefyddol iawn yn ein holl gyrddau a'n hangladdau.

*Ifor.* O na; yr wyf yn gwybod yn dda am rai o'ch emynau.

> "Nid ofnaf w'radwydd neb na'u 'stwr
> Wrth ufuddhau i fedydd dwr," &c.

Pa faint o fawl sydd yn y fath rigwm pen bys a hyn, dim ond ergyd sect yw yr hen bennill llipa.

*Sierlyn.* Er ys rhai blynyddau yn ol, yr oedd pwnc ysgol yn cael ei adrodd mewn capel yn Sir Gaerfyrddin, ac ynddo fath eiriau aflan a hyn, mewn math o ddrama grefyddol—

BECHGYN.

> Ac yna'r butain lawn o grach
> Ni cheir hi mwyach byth!

MERCHED.

> Terfynwyd 'nawr ei rhwysgfawr ddydd
> Mewn tân y bydd hi byth, &c., &c.

BECH. A MERCHED

> Llawenychwn, gorfoleddwn, &c., &c.

Dyma faint o foesgarwch sydd genych chwi yn eich addoliad.

*Llywelyn.* O mae ein hangladdau ni yn well, serch hyny.

*Sierlyn.* Dim gronyn. Mewn angladd er ys tri mis yn ol, yn Sir A—, bu yno storm ofnadwy. Clowyd dau ddrws y capel yn erbyn y gweinidog, a gosodwyd dau ddyn i'w gwylio; ond daeth Dai Luke y gof ym mlaen â bar mawr o haiarn yn ei law, gan frathu dan y drws nes ei fwrw i ganol y llawr, a dyna lle yr oedd dadwrdd ofnadwy—storm o genllysg teimladau drwg yn ymgroesi yn aruthrol.

*Ifor.* Ië, a phe celai yr Ymneillduwyr ddyfod i fynwentydd yr Eglwys, troent ein hangladdau tawel a Christionogol fel ffeiriau *Tipperary*—yn ymladd ac iwbwb fawr.

*Idwal.* Yr ŷm yn foddlawn peidio areithio, dim ond cael canu a gweddïo.

*Sierlyn.* O, ië; cael canu pennillion isel ac ergydiol o natur y rhai a nodais, i gael difrïo yr Eglwys.

*Llywelyn.* Os na chawn ni ganu ein pennillion yr ydym yn foddlawn ar gael dim ond gweddïo. Mae gweddïo yn waith digon difrifol, nid oes modd myned o le mewn gweddïo.

*Sierlyn.* O, y mae rhai o'ch gweddïau chwi yn fwy melltithiol na dim mewn bodolaeth; maent mewn ystyr yn waeth na dyrifau Owain Meirion, Dic Ddall, a Lefi Gibbwn.

*Llywelyn.* Nid wyf yn credu gelli brofi y fath beth. Yr wyt yn gwneyd cam â ni.

*Sierlyn.* Mae dwy blaid yng nghapel—ac mae y gweinidog yn ei weddïau (?) yn curo y blaid wrthwynebol iddo ef yn ofnadwy yn ei weddïau. Mae yn dywedyd pethau arswydus o ryfygus.

*Ifor.* Pa fath effaith y mae y rhyfyg hwn yn gael ar y gynnulleidfa?

*Sierlyn.* Mae ei blaid ef yn *bowo* a gwenu yn anghyffredin.

*Ifor.* *Bowo* yn y capel?

*Sierlyn.* Ië, yn debyg fel y gwelaist haid o wyddau wrth gael eu hanfon i mewn i dŷ—i gartws neu rywle arall.

*Idwal.* Yr oeddit ti gynneu yn son am *logic*, beth yw dy *logic* a'th *rhetoric* di yma? Yr wyt wedi colli ar y pwnc; beth sydd a fyno hyn â'n bod ni yn cael claddu ym mynwentydd yr Eglwys?

*Sierlyn.* Mae gyda fi eithaf *logic* a *rhetoric* hefyd. Yr wyf gyda fy mhwnc. Os cewch chwi fyned i fynwentydd yr Eglwys, byddwch yn canu baledau politicaidd yno, ac yn gweddïo gweddïau *Philippaidd* yno, er mwyn curo yr Eglwys.

*Ifor.* Yr wyt ti yn deall *logic*—yr wyt gyda dy bwnc—dilyn arni.

*Sierlyn.* Nid oes amser maith er pan oedd gweinidog mewn angladd yn gwaeddu tu allan i borth y fynwent—fod Eglwys Lloegr yn drewi o Babyddiaeth, a phe celai fyned i'r fynwent, dywedasai yr un peth, a pheth gwaeth hefyd.

*Ifor.* Sut ddyn oedd hwnw?

*Sierlyn.* Cnwffyn o ddyn go fawr oedd efe, a rholyn o bapyr yn ei law, ac arno yn ysgrifenedig, "Cofiant. . . . . . ."

*Ifor.* Hai, fechgyn, dacw Dai Luke y gof yn dyfod â bar ar ei ysgwydd i gael agor drws rhyw gapel, i angladd gael myned i mewn iddo.

*Sierlyn.*

Mae Dai Luke y gof yn crymu yn ei war,
Gan gymmaint ei frys wrth gario y bar;
Bydd Dai Luke y gof yn bwrw fel hwrdd
Wrth agor y ddeuddrws gael myn'd i'r ty cwrdd.

---

## Adolygiad y Wasg.

ON THE EXISTENCE OF *Mixed Languages, being an Examination of the Axioms of the Foreign School of Modern Philology, more especially as applied to the English. Prize Essay by James Cresswell Clough. Llundain: Longmans,* 1876.

AMCAN awdwr y gyfrol hon yw profi bod y fath beth ag ieithoedd cymmysgedig, a bod y Seisoneg yn un o honynt. Ysgrifenwyd ei lyfr er mewn dymchwelyd athrawiaeth a dderbynir yn lled gyffredin gan ysgolheigion diweddar; sef, mai iaith Is-Almaenaidd yw'r Seisoneg. Ennillodd yr awdwr wobr a gynnygwyd yn y cyhoeddiadau Seisonig am y traethawd goreu at y perwyl hyny, ychydig fisoedd yn ol. Gwaith penodol ei lyfr yw dadbrofi dau osodiad a ddifynir ganddo o weithiau Max Müller a Dr. Morris, yn haeru nad oes posiblrwydd i'r fath beth ag iaith gymmysgedig fod, ac nad yw gramadeg y Seisoneg yn gymmysgedig neu yn fenthycedig.

Mae pawb sydd wedi rhoddi ystyriaeth i'r pwnc yn gwybod ei bod yn anniohonadwy i unrhyw iaith gael ei chadw yn hollol bur a dilwgr pan y byddo'r sawl ag sydd yn ei siarad yn ymgyfathrachu neu yn cydfasnachu â phobl yn siarad iaith arall. Cynnwys yr iaith Seisoneg fel ei siariedir a'i hysgrifenir yn awr luaws o eiriau estronawl. Ef allai bod ynddi ddau neu dri chymmaint o eiriau wedi eu cymmeryd o'r ieithoedd clasurol ag sydd o eiriau Teutonaidd; ac y mae bagad o eiriau ynddi wedi eu bynthyca oddi wrth ieithoedd amrywiol ereill. Mae hyd yn oed y Gymraeg, er mor ofalus a medrus y byddo'r hwn a'i ddefnyddia yn cynnwys llaweroedd o eiriau benthyg, rhai wedi, a rhai heb ei Chymreigeiddio. Nid gwaith hawdd bob amser yw penderfynu tarddiad gair. Amlwg yw mae'r un gair yw *eglwys* (Cymraeg) ac *église* (Francaeg); ond nid yw yr un o honynt yn tarddu oddi wrth y llall; *ecclesia* yw'r gair Lladin cyfatebol; ond rhaid olrhain *ecclesia* at *ekklesia* (Groeg). Nid llai amlwg yw mae'r un gair yw *braich* (Cymraeg), *brac* (Gaeleg), *bras* (Francaeg), *brachium* (Lladin), *brachion* (Groeg), a *branch* (Seisoneg); ond, er y gellir credu bod y gair Francaeg *bras* wedi disgyn o'r Lladin *brachium*, annoethineb a fyddai haeru bod unrhyw un o'r pedwar gair arall wedi tarddu oddi wrth unrhyw un o'r lleill. Y mae yn llawer tebycach eu bod wedi wedi disgyn oddi wrth iaith a siariedid gan bobl yn byw oesoedd pell yn ol, cyn i'r Celtiaid ymranu oddi wrth y Lladinwyr a'r Groegiaid, a chyn i gyndeidiau y tri teulu ymadael â'r Teutoniaid.

Er hyn i gyd, fe gynnwys pob iaith, y mae yn debyg, amryw eiriau estronol; ac yn ddiammheu y mae'r Seisoneg yn cynnwys y fath amlder o honynt, fel y mae yn anghredadwy i ddynion o ddysg Max Müller a Dr. Morris wadu ei bod yn iaith gymmysgedig yn yr ystyr hwn; ac felly ymddengys mai â gelyn dychymmygol y mae awdwr y llyfr dan sylw wedi bod yn ymdrechu. Rhyw beth

hollol wahanol i hyn yn ddiammheu yr oedd yr ysgolheigion hyn yn olygu; sef, meddyliwn, yr ammhosiblrwydd o gymmysgu dwy iaith a gwneyd iaith newydd o'r cymmysgedd; nid newid iaith trwy ychwanegu ati o bryd i bryd. Eu barn hwy yw mai yr hyn sydd yn penderfynu dosbarth iaith yw ei gramadeg, nid ei geiriau noethion; y dull y mae yn ffurfio ymadroddion; y geiriau bychain anhebgorol i gydgorffori brawddeg, y rhai sydd yn cydglymu'r sylweddeiriau, yr ansoddeiriau, a'r perwyddiaid yng nghyd. Nodir gan awdwr y llyfr fod geiriau Lladin yn lluosorach yn yr iaith Seisoneg na'r geiriau Teutonaidd; ond cyfaddefa ar yr un pryd fod yr olaf yn cael eu defnyddio yn amlach o lawer. Y rheswm o hyn yw, nis gellir ffurfio ymaddroddion cyfan o unrhyw hyd â'r geiriau benthyg hyn: ond gellir yn hawdd wneyd hyny heb yr un o honynt. Ac ar y sail yma y mae ieithwyr yn gyffredinol yn rhestru'r Seisoneg yn mhlith yr ieithoedd Teutonaidd; o blegid bod ei geiriau anhebgorol yn perthyn i'r teulu hwnw o ieithoedd.

Mae dynion yn gwahaniaethu yn eu ffurf o ddosbarthu anifeiliaid, llysiau, a pethau difywyd mewn natur. Cymmer rhai fel sylfaen eu trefn ymddangosiad allanol anifeiliad a phlanigion; ereill, gyda mwy o reswm a gymmerant eu cyfansoddiad a'u priodoleddau llai amlwg ar y olwg gyntaf, megys ffurf esgyrn milod, natur eu dannedd, y ffordd y maent esgor ar eu hepil, a'r modd y maent yn eu maethu. Esgyrn geiriau, hefyd, yw'r cydseiniaid, ac ni osodir llawer o bwys ar y llafaraid wrth olrhain tarddiad gair. Yn yr un modd elfenau Teutonaidd sydd yn cyfansoddi ysgerbwd neu ystram yr iaith Seisoneg; ac i'n tyb ni mwy athronyddol yw'r gyfundrefn a gymmer yr ysgerbwd, yr ystram, yr elfenau anghenrheidiol a'r dull o'u cyd-drefnu fel sail y dosbarthiad, nag un seiliedig ar y geiriau damweiniol, benthyg neu gynhenid, a ddefnyddir yn unol â'r testyn sydd mewn llaw.

Ymddengys i ni nad yw'r awdwr a'r ieithwyr syniadau y rhai y mae ef yn wrthwynebu yn gwahaniaethu ond ychydig iawn mewn barn am y *peth* y maent yn ei drafod, ond am yr *enw* y maent yn ei roddi iddo; ond, er hyny nid yw'r llyfr wedi ei gyfansoddi a'i gyhoeddi yn ofer. Tuedda Mr. Clough i'r farn a goleddid gan Ddr. Rowland Williams, ac o blaid yr hon y mae Dr. Nicholas wedi ysgrifenu; sef i'r Seison, er mor anwar a chreulawn yn eu ymosodiadau ar y wlad hon, ymuno â'r Cymry i raddau helaethach, a bod rhagor o waed Celtaidd yng ngwythienau pobl Lloegr, nag y myn ysgrifenwyr i'r *Saturday Review* ac ereill. Dengys ei lyfr lawer iawn o ddysgeidiaeth a chraffder, ac agora lygaid y darllenydd i'r effaith a gafodd gwahanol helyntion pobl Lloegr, yn neillduol y Goresgyniad Normanaidd ar iaith y werin Seisnig. Os nad yw wedi cyrhaedd ei amcan yn llwyr, sef disodli'r lleawyr a eilw ef yr ysgol newydd, mae yn yr ymdrech wedi profi bod llawer i'w ddyweyd ar ei ochr; mae wedi helaethu cylch gwybodaeth am natur ac ansawdd y Seisoneg, ac wedi taflu goleuni ar y pwnc penodol mewn dadl.

---

## Gohebiaethau.

### "LLOFFION HANESYDDOL."

*At Olygydd yr "Haul."*

ANWYL SYR,—Er fy mod weithian er ys mwy na deugain o flynyddau yn y lle hwn [Merthyr Tydfil], ac wedi fy alltudo o'm hen Ddyfed anwyl, ac ardal fy maboed, onid ar ambell ymweliad byr-arosol iawn; er hyny, pwy ŵyr na chaf eto ryw gyfnod fy ngosod ym meddrod fy mam yn Llanwinio?

Ond at y pwnc. Bûm yn dra chyfarwydd â'r ysgolor mawr, yr hynafiaethydd haeddglod, a'r bardd tlysawg Ab Iolo, yr hwn a fu garedig iawn i mi am fagad o'm blwyddau macwyol,

yn fy hyfforddi yng nghyfrinach Beirdd Ynys Brydain, ac a roddes i mi fagad o lyfrau, yng nghyd ag urdd "bardd" yn y flwyddyn 1838. Parch i'w gofiant byth.

Hefyd fy hen gyfaill mynwesol John Rhys, Penydaren (Ieuan Hydref): ni fu odid Sul, yn ystod deg i bymtheg mlynedd, nad ymwelai â mi yn fy nhy ryw ben i'r dydd, heb law yn fynych ar hyd yr wythnos. Gan hyny, teimlaf, herwydd fy nhra-adnabyddiaeth o'm hen gyfaill anwyl, galluog, athrylithgar, hunanymwadol, a threiddgraff, ddyledswydd arnaf i gywiro y cofnodion o hono yn y rhifyn olaf o'r HAUL, er mwyn ei ferch, ei gydnabod, a'i edmygwyr dros wlad a gorwlad. "Y gwir yn erbyn y byd."

JOHN RHYS, PENYDAREN.

Ganwyd ef, fel y noda eich gohebydd parchus, yng Nghydweli. Cafodd yno addysg foreuol, yn debyg i ereill o'i gyfoedion yr amser hwnw, hyd oni osodwyd ef yn egwyddorwas gof, gyda'r hyn y myfyriai, ac y daeth yn gyd-ohebydd â'i gyfaill Dewi Achddu ac ereill i *Seren Gomer;* ac hefyd ymdrechai gyfansoddi caniadau a phennillion ar fesurau rhyddion, ac ambell draethawd. Symmudodd i Benbre, a bu am gyfnod wrth ei gelfyddyd yno. Bu yn swyddfa Huw Williams, Ysw., ryw dalm o amser. Bu wrth ei gelfyddyd ryw dymmor yn Sirowy, ac oddi yno daeth i Benydaren. Priododd ag un o ferched Mr. Williams, Newfoundland, Penbre, o'r hon y mae un ferch yn fyw, yng Nghastell Nedd, ac yn ol dim a wn i yn awr yn fam bagad o blant.

Gwaith J. Rhys ym Mhenydaren am hir flynyddau oedd pwyso haiarn y *puddlers* yn y felin—nid glo fel y sonir.

Bu yn hynod lafurus gyda thraethodi, a barddoni, neu yn hytrach brydyddu. Cyfansoddai ganiadau a marwnadau ar fesurau rhyddion, gan na chymmerodd erioed y drafferth o fyfyrio rheolau caethion Cerdd Dafod. Mewn traethodi y tra ragorai, yn enwedig lle y gofynid cynnorthwy llafurfawr ystadegau a chyfieithadau manylgraff, yn yr hyn y bu yn hynod lwyddiannus. Ennillodd gannoedd o wobrwyon eisteddfodol a rhai tlysau. Yr oedd yn ddyn a lwyr berchid gan uchel ac isel radd, o ymddygiad gweddus bob amser, didwyll a dihoced at gyfaill a phawb, ac yr oedd iddo air da gan bawb a'i hadwaenai.

Cafodd lawer o'i ofidio, a threuliodd lawer o arian yng nghadwraeth ei anwyl wraig, druan, yr hon a amddifadasid o'i synwyrau am hir flynyddau cyn ei marw. Meddylir i hyn effeithio llawer ar yr eiddo yntau. Bu yn hir glafychu, a phan y tybid ei fod ar wellâd, collodd ei fywyd ar *Incline* Penydaren. Aeth un olwyn dros ei wddf, a bu farw yn y fan * * * * * Chwefror 22, 1855, yn 54 mlwydd oed.

Dydd Sadwrn, Chwefror 24, 1855, diwrnod hynod o dymmestlog gan eirwlaw a gwynt, ymgynnullodd cannoedd o'i gydnabod yn foneddwyr a gweithwyr, yn barchus iawn i'w angladd, a chludwyd ei weddillion yn un o'r eirch godidocaf a welsom nemawr erioed, dan elorwisg ddu, i gladdfa Sant Dewi, Merthyr Tydfil, yn cael ei ddilyn gan ei ferch, a'i gyfeillion, yn nesaf at y corff; y Parch. D. Howel (Llawdden). Thos. Stephens, Ysw., Cyhelyn, Nathan Dyfed, yr Odyddion a'r Iforiaid, swyddogion y gwaith, a goreugwyr yr ardal, er gerwined yr hin, a chyfarfuwyd ar ol hyny yn nhy Nathan, er synied y dull goreu i drefnu'r arian a roddasai yng ngofal Mr. Stephens, mwy nag ugain punt, er budd ei ferch amddifad. Gwnaed hyny er dysgu gwnïadwaith, &c.

Tanysgrifiwyd gan ei gyfeillion, a gosodwyd maen hardd ar ei fedd.

NATHAN DYFED.

---

## Hanesion.

URDDIAD.

Ar ddydd Sul, Mawrth 12fed, urddwyd y personau canlynol i swyddau sanctaidd

gan Arglwydd Esgob Ty Ddewi, yn Eglwys Abergwili:—

*Diaconiaid.*—Thomas James Bowen, Coleg Dewi Sant, Llanbedr, i guradiaeth Sant Pedr, Caerfyrddin; Henry Charles Davies, B.C., Coleg Lincoln, Caergrawnt, i guradiaeth Llanbedr, Brycheiniog; Isaac Davies, llythyrenog, i guradiaeth Ystradgynlais, Brycheiniog; Hugh Jones, Coleg Dewi Sant, Llanbedr, i guradiaeth Llanbedr; William Joseph Kilpack, Coleg Catwg Sant, Caergrawnt, i guradiaeth Eglwys y Drindod, Abertawy; David Edward Williams, A.C., Coleg Exeter, Rhydychain, i guradiaeth Dewi Sant, Caerfyrddin; Hugh Francis Williams, B.C., Coleg Penfro, Rhydychain, yn gaplan i Ysgol Ramadegol Abertawy; John Williams, B.C., Coleg yr Iesu, Rhydychain (trwy lythyrau cymmyn oddi wrth Arglwydd Esgob Llanelwy); William John Wooding, Coleg y Frenines, Birmingham, i guradiaeth Abergwaen, sir Benfro: yr oll o'r rhai uchod gwedi eu penodi trwy drwydded.

*Offeiriaid.*—Meredith Hamer, B.C., Coleg Dewi Sant, Llanbedr, curad Sant Pedr, Caerfyrddin; William Robert Lloyd, B.C., Coleg Dewi Sant, Llanbedr, curad Aberystwyth; John Frederick Walwyn Trumper, B.C., Coleg Sant Ioan, Caergrawnt, curad Clyro, Maesyfed; William Gordon Williams, B.C., Coleg Dewi Sant, Llanbedr, curad Llansawel, swydd Gaerfyrddin.

### TYSTEB I MR. HOWEL GWYN.

Y MAE yn gofus gan ein darllenwyr am driniaeth fradwrus a gymmerodd le yn sir Frycheiniog yn amser yr etholiad diweddaf, pan gafodd Mr. Gwyn ei orchfygu trwy dwyll a brad y frawdoliaeth jackyddol yn y sir uchod. Nid oes un dyn yng Nghymru yn fwy cysson a ffyddlawn i'r achos Ceidwadol mewn llan a llys na Mr. Gwyn. Y mae ef bob amser yn barod i ymladd brwydr dros ei egwyddorion, er iddo golli ei sedd dros Frycheiniog. Y mae yn llawenydd mawr i Mr. Gwyn fod yr achos Cyfansoddiadol wedi bod yn fuddugoliaethus mewn lleoedd ereill ar ol yr holl ymdrechu caled, ac ymladd llawer brwydr etholiadol. Y mae cyssondeb ac ymlyniad disigl wrth egwyddorion yn brin yn ein hoes ni—oes yr agerbeiriannau a'r pellebyr pan mae rhedegfa bywyd yn myned ym mlaen gyda'r fath gyflymdra, ac yng nghanol cynnifer o gyfnewidiadau; ond nid yw Mr. Gwyn yn ddyn i gymmeryd ei arwain gan hudlewrynod politicaidd: y mae ef wedi hoelio ei faner wrth yr hwylbren, ac nid yw yn myned i'w thynu i lawr. Yn holl ymdrafodiaeth bywyd, y mae Mr. Gwyn yn esampl fel boneddwr gwladaidd, Ynad Heddwch, Cadeirydd Bwrdd yr Undeb, ac fel meistr tir. Nid oes dim llawer o amser er pan adeiladodd ac y gwaddolodd ef Eglwys ei hun, heb law ei gyfraniadau tuag at achosion eglwysig yn Neheubarth Cymru.

Penderfynodd edmygwyr Mr. Gwyn yn sir Frycheiniog, fel arwydd o barch iddo, ei anrhegu â thysteb gwerth 350p. Yr oedd y dysteb yn gynnwysedig o lestri arian, a modrwy berlawg, gwerth can gini i Mrs. Gwyn. Tynodd y dysglau arian lawer o sylw yn Aberhonddu.

Ychydig ddyddiau yn ol cymmerodd y cyflwyniad le yn neuadd palas y Dyffryn, anneddle Mr. Gwyn. Yr oedd y ddirpwryaeth yn gyfansoddedig o brif foneddigion Aberhonddu. Llywyddodd Mr. Gwynne Holford, A.S., yr hwn a dalodd warogaeth uchel i Mr. Gwyn, a chyflwynodd y Parch. Garnons Williams y dysteb i Mr. a Mrs. Gwyn mewn araith hyawdl. Diolchodd Mr. Gwyn mewn araith wresog iddynt am eu caredigrwydd, a'i fod yn falch wrth ei derbyn, nid yn gymmaint am y parch oeddynt yn ddangos iddo ef, ond am eu hymlyniad wrth yr achos Ceidwadol.

Dechreuodd ef gymmeryd rhan mewn materion politicaidd ddeugain mlynedd yn ol, ac er yr amser hwnw ymlynodd yn ffyddlawn wrth egwyddorion cyfansoddiadol mewn gwlad ac Eglwys. Yr oedd ef yn credu nad oes dim cymmaint o ryddid gwladol a chrefyddol mewn un wlad ag sydd yn ein gwlad ni. Ymladdodd dros ei egwyddorion naw gwaith—weithiau yn llwyddiannus a phryd arall yn aflwyddiannus, ond yr oedd yn wastad yn teimlo yn falch ei fod wedi gwneyd ei ddyledswydd. Pe buasai iddo ef ddywedyd na siomwyd ef yn yr etholiad diweddaf, fe ddywedai anwiredd; ond yr oedd ganddynt un cysur, i'w gyfeillion Ceidwadol wneyd ei goreu, ac i'r frwydr gael ei hymladd yn deg o'u tu hwy; ond nis gallent wrthsefyll dylanwadau rhagrithiol a bradwrus, y rhai a lwyddasant o'r diwedd dan gochl y balot.

Galwodd y Cadeirydd ar Mr. David Thomas, Maer Aberhonddu, i gyflwyno y fodrwy i Mrs. Gwyn. Diolchodd Mrs. Gwyn yng nghanol llongyfarchiadau byddarol. Dywedodd fod yn bleser mawr ganddi weled cynifer o wynebau cyfeillgar o sir Frycheiniog, lle y treuliodd hi a Mr. Gwyn lawer o ddiwrnodau hapus, ac fel yr oeddynt yn gwybod rhai dyddiau a berodd ofid iddynt, ond cawsant y cydymdeimlad dwysaf, yn neillduol ar yr 22fed o Fai, pan gafodd ei gwr da ei orchfygu trwy frad ac anwireddau. Dymunodd arnynt ddiolch i'r etholwyr am eu caredigrwydd. Talodd Charles Bath, Ysw., ddiolch i Mr. Gwynne Holford am lywyddu, i'r hyn yr atebodd Mr. Holford yn fyr. Eisteddodd y ddirprwyaeth i *luncheon* ar y diwedd.—RHEIDIOL.

SIRYDDION CYMRU AM 1876.

*Aberteifi.*—Mr. George Williams, Griffith, Wallog, ger Aberystwyth.

*Brycheiniog.*—Mr. Mordecai Jones, Morganwg House, Aberhonddu.

*Caerfyrddin.*—Mr. James Buckley, Castell Gorfod.

*Caernarfon.* — Mr. Robert Carreg, o Garreg.

*Dinbych.*—Mr. Thomas Barnes, Quinta, Croesoswallt.

*Fflint.*—Mr. Conwy Grenville Hercules Rowley Conwy, Bodryddan.

*Maesyfed.*—Syr Richard Green Price, Barwnig, Norton Manor, Llanandras.

*Meirionydd.*—Mr. Thomas Taylor, Cliff.

*Mon.* — Is-Filwriad Robert Bramston Smith, Pencraig, Llangefni.

*Morganwg.*—Mr. Thomas Picton Tuberville, Mynachlog Ewenni.

*Penfro.*—Mr. Charles Allen, Dinbych y Pysgod.

*Trefaldwyn.*—Mr. Richard John Edmunds, Edderton.

## ESGORODD,

Emlyn—Chwef. 24, yn Wilton-Cresent, Llundain, yr Isiarlles Emlyn, ar ferch.

Lloyd—Maw. 17, priod y Parch. Evan Lloyd, A.C., ar ferch.

Lloyd—Chwef. 7, yng Nglangwili, priod Ll. Ll. Price, Ysw., ar ferch.

Norton—Yn Wellfield House, Llanelli, priod Mr. Howard J. Norton, ar fab.

## BU-FARW,

Ashton—Maw. 20, yn Gayton, Norfolk, Jeanette, priod Mr. John Ashton, llawfeddyg, a merch y diweddar Mr. T. Powell, llawfeddyg, Caerfyrddin, 35 oed.

Davies—Chwef. 14, ym Mheriglordy Llangathen, priod y Parch. J. Davies, 31 oed.

Williams—Maw. 15, yn nhy ei mab yng ngyfraith, J. Lewis, llieiniwr, Petryal Llys y Dref, Caerfyrddin, Mrs. Alice Williams, gynt o swyddfa *Seren Gomer*, 84 oed.

## Y LLITHIAU PRIODOL, EBRILL, 1876.

| Mawrth. | Suliau a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 2 Sul | 5 Sul yn y Garawys | Ecsod. iii<br>Luc vi. hyd 20 | Ecs. v., neu vi. hyd 14<br>2 Cor. vi. a vii. 1 |
| 9 Sul | 6 Sul yn y Garawys | Ecsod. ix.<br>Mat. xxvi. | Ecsod. x. neu xi.<br>Luc xix. 28, neu xx. 9—21 |
| 10 Llun | Llun cyn Pasc ... | Galar. i. hyd 15<br>Ioan xiv. hyd 15 | Galar. ii. 13<br>Ioan xiv. 15 |
| 11 Maw. | Mawrth cyn Pasc | Galar. iii. hyd 34<br>Ioan xv. hyd 14 | Galar. iii. 34<br>Ioan xv. 14 |
| 12 Mer. | Mercher cyn Pasc | Galar. iv. hyd 21<br>Ioan xvi. hyd 16 | Daniel ix. 20<br>Ioan xvi. 16 |
| 13 Iau | Iau cyn Pasc ... | Hosea xiii. hyd 15<br>Ioan xvii. | Hosea xiv.<br>Ioan xiii. hyd 36 |
| 14 Gwe. | Gwener cyn Pasc* | Gen. xxii. hyd 20<br>Ioan xviii. | Esai lii. 13 a liii.<br>1 Pedr ii. |
| 15 Sad. | Nos cyn Pasc ... | Sech. ix.<br>Luc xxiii. 50 | Hos. v. 8 hyd vi. 4<br>Rhuf. vi. hyd 14 |
| 16 Sul | Dydd Pasc† ... | Ecsod. xii. hyd 29<br>Dad. i. 10—19 | Ecs. xii. 29, neu xiv.<br>Ioan xx. 11—19, neu neu Dad. v. |
| 17 Llun | Llun yn wythnos y Pasc | Ecsod. xv. hyd 22<br>Luc xxiv. hyd 13 | Can. ii. 10<br>Mat. xxviii. hyd 10 |
| 18 Maw. | Mawrth yn wythnos y Pasc | 2 Bren. xiii. 14—22<br>Ioan xxi. hyd 15 | Esec. xxxvii. hyd 15<br>Ioan xxi. 15 |
| 23 Sul | 1 Sul wedi'r Pasc... | Num. xvi. hyd 36<br>1 Cor. xv. hyd 29 | Num. xvi. 36, neu xvii. hyd 12<br>Ioan xx. 24—30 |
| 25 Maw. | St. Marc, Efeng. a Merthyr | Esai lxii. 6 [11<br>Luc xviii. 31 hyd xix. | Esec. i. hyd 15<br>Philip. ii. |
| 30 Sul | 2 Sul wedi'r Pasc... | Num. xx. hyd 14<br>Luc xxi. 5 | Num. xx. 14 hyd xxi. 10, neu xxi. 10<br>Col. ii. 8 |

* Y Salmau Priodol—Boreu, 22, 40, 54; Prydnawn, 69, 88.

† Y Salmau Priodol—Boreu, 2, 57, 111; Prydnawn, 113, 114, 118. Credo Sant Athanasius i'w arfer. Y Rhagymadrodd Priodol yng Ngwasanaeth y Cymmun i'w arfer hyd Ebrill 23.

CARMARTHEN:
Printed and Published by William Spurrell, at his Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Friday, the 31st of March, 1876.

# YR HAUL.

## Cyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIF. 233. MAI, 1876. CYF. 20.

## CYFRES FER O BREGETHAU ER AMDDIFFYNIAD Y FFYDD.

### GWYRTHIAU.—III.

"Ac a'th fwydodd â manna, yr hwn nid adwaenit, ac nid adwaenai dy dadau."—DEUT. viii. 3.

MAE yr Ysgrythyr, fel ag y gwelsom o'r blaen, yn golygu fod tri peth yn gwneyd i fyny y cyflawn ystyr o'r hyn yw gwyrth ar ei thudalenau. Y tri rhan yma mewn gwyrth ysgrythyrol yw *rhyfeddodau*, *nerthoedd*, *arwyddion;* ac nid yw gwrthddadleuon a ellir eu cyfodi yn erbyn gwyrthiau yn safadwy, os na chymmerant i mewn eu cyflawn ystyr a chynnwysiad. Ceir gweled hyn wrth fyned ym mlaen, ac yn enwedig yn y gwrthddadleuon a gyfodir yn erbyn gwyrthiau yn eu golygiad o *ryfeddodau*.

Yn y golygiad hwn o *ryfeddodau* yr ydwyf yn bwriadu ystyried gwyrthiau yn y bregeth bresennol, a dangos nad ydynt o herwydd hyn yn bethau anhygoel.

Wrth ryfeddodau (*terata*) deallaf ryw bethau hynod, ryw bethau anghysson â'n profiad blaenorol, ryw beth "yr hwn nid adwaenit, ac nid adwaenai dy dadau." Mae'r Ysgrythyr yn hawlio mai pethau hynod, pethau croes i brofiad blaenorol, yw gwyrthiau. Dyma'r dysgrifiad o honynt; dyma ran o'u sylwedd fel y gwelir yn y testyn, ac mewn manau ereill, megys Exod. ix. 18, 24; x. 6, 14; xi. 6; Deut. iv. 32, 34; viii. 3; S. Ioan xv. 24. Pan gyfodir yr wrthddadl gan hyny gan y gwrthwynebwr fod gwyrthiau yn anghygoel, o herwydd eu bod yn groes i brofiad, nid ydynt yn dyweyd dim ond yr hyn mae'r Ysgrythyr ei hun yn ei ddyweyd yng nghylch natur gwyrthiau, sef eu bod yn groes i brofiad. Ond y cwestiwn yw, a ydynt *o herwydd hyn*, nid o herwydd rhyw reswm arall, yn anhygoel? Dichon fod y gwrthwynebwr yn golygu nad oes Duw, nad oes unrhyw achos yn natur, digonol i greu gwyrth, pan yn gwrthddadleu ei bod yn ammhosibl, o herwydd ei hanghyssondeb â phrofiad; ond os felly, mae yr wrthddadl yn un yn erbyn yr *achosiaeth* ac nid yn erbyn yr *hynodrwydd* o wyrth, ac yn galw am ystyriaeth yn ei le priodol yr hyn fydd o dan y pen nesaf, *nerthoedd*, Mae'r Cristion yn cymmeryd yn ganiataol y Bod o Dduw, h.y., o allu digonol i greu gwyrth, o herwydd mae'r Ysgrythyr yn golygu yr achosiaeth gan

Dduw yn rhan o ddeffiniad ac o sylwedd gwyrth Yn y driniaeth bresennol gan hyny o wyrth fel *rhyfeddod*, rhaid i ni yn briodol gyfyngu ein sylw at wyrthiau yn eu golygiad o ryfeddodau, neu ymddangosiadau croes i brofiad (*phenomena contrary to experience*), ac at yr wrthddadl a gyfodir yn ei herbyn nid am ryw reswm arall, ond o herwydd eu bod yn groes i brofiad yn unig.

Mae'n amlwg fod y gair yma *profiad* yn air o bwys yn y ddadl, ac yn galw am ddeffiniad o'r hyn a ddeallir wrtho. Profiad yw cyfanswm y gwybodaeth a feddiannwn trwy sylwad blaenorol, neu oddi wrth yr hyn a ddysgasom trwy sylwad blaenorol ereill. Pan ddywedir fod unrhyw beth yn groes i brofiad, yr hyn a feddylir yw ei fod yn groes i'r hyn a welsom neu glywsom ein hunain, neu yn groes i'r hyn a glywodd ac a welodd ereill o'u blaen, tystiolaeth pa rai a gredwn. Gwybodaeth ydyw yn deillio nid allan o'r meddwl oddi fewn, ond oddi wrth ymddangosiadau allanol (*external phenomena*) trwy sylwi arnynt.

Mae profiad yn amlwg yn beth *cynnyddol*. Mae yn cynnyddu trwy sylwadau newydd yn feunyddiol. Yn y modd hyn y mae profiad y byd yn chwanegu. Nodwch hefyd mai trwy sylwi nid ar yr un ymddangosiadau, nid ar yr un na chwaith ar gyffelyb bethau mae yn cynnyddu, canys yr un peth yw profiad o'r un pethau. Ni ddysgir dim newydd trwyddynt. Cynnydda gan hyny trwy sylwi ar yr hyn sydd *wahanol* i brofiad blaenorol.

Os ydyw profiad i fod yn safon ffydd, os oes rhaid i ni wrando ar brofiad, ac os ydyw profiad yn wybodaeth wedi ei hennill oddi wrth sylwi ar bethau gwahanol i'r hyn a sylwyd o'r blaen, mae yn angenrheidiol credu mewn ymddangosiadau *gwahanol* i'r rhai blaenorol. Nid ydynt yn anhygoel o herwyd eu bod yn ymddangosiadau gwahanol i brofiad blaenorol. Onid ê ni fuasai profiad yn safon o ddim gwerth. Mae gwyrthiau yn ymddangosiadau *gwahanol* i brofiad blaenorol, nid ydynt ynte o herwydd hyny yn anhygoel. Nid ydyw o leiaf bod yn wahanol i brofiad yn eu gwneyd yn anhygoel.

Nid ydyw yn gwneuthur dim pwys pa gymmaint o wahaniaeth all fodoli, *pa* mor wahanol gall yr ymddangosiadau fod. Gallant fod yn wahanol *iawn*, yn *hollol* wahanol i brofiad blaenorol. Trwy sylwi ar amgylchiadau hollol wahanol, hollol eithriadol i ddim a welwyd o'r blaen, mae llawer o'r darganfyddiadau gwyddonol mwyaf wedi tarddu. Nid ydyw gwyddoniaeth yn gwrthod megys anhygoel unrhyw ymddangosiad o herwydd ei fod yn eithriadol ac yn wahanol i'r hyn a nodwyd o'r blaen. Mae ein profiadau ni ein hunain yn fynych y tro cyntaf mor wahanol i'n profiadau blaenorol ag ydyw unrhyw wyrth. Ystyriwch mor newydd, mor hynod, mor wahanol i'w brofiad blaenorol yw bywyd a'i amgylchiadau bob dydd i feddwl plentyn. Nid ydynt o herwydd hyny yn anhygoel. Ystyriwch mor hynod, mor newydd, mor wahanol i'w brofiad blaenorol yw y gwledydd newydd a'u cynnyrchion a'u golygfëydd a'u harferion i'r teithiwr mewn gwledydd pellenig. Ystyriwch mor hynod, mor newydd, mor wahanol i'w brofiad blaenorol yw llawer o'r gwirioneddau gwyddonol a ddarganfyddir gan astudiwr natur o amser i amser. Yn ol maint eu hynodrwydd gellir gofyn am brawf mwy, neu dystiolaeth gryfach, ond nid ydynt o herwydd hyny yn anhygoel. Dichon fod rhyw resymau ereill yn gwneuthur ymddangosiadau yn anhawdd eu credu, ond nid ydyw eu bod yn wahanol ac yn wahanol i'r gradd helaethaf i brofiad blaenorol yn eu gwneuthur felly. Yn yr un modd gyda golwg ar wyrthiau yr Ysgrythyr, nid ydyw eu bod yn hynod, ac yn hollol wahanol i brofiad blaenorol, yn eu gwneuthur yn anhygoel.

Fe ganiatëir yn ddiammheu yr hyn

a ddywedwyd, ond mae gwrthddadl arall yn aros, a dyma gnewullyn y ddadl. Mae yn wir, medd yr amheuwr, nad ydyw gwyrthiau yn anhygoel o herwydd eu bod yn *wahanol* i brofiad, ond maent yn ymddangosiadau *croes* i brofiad blaenorol. *croes* i brofiad cyffredinol, ac am hyny yn anhygoel. "Yr wyf yn caniatäu eich ymresymiad," dychymmygaf fy mod yn ei glywed yn ychwanegu, "nad yw rheol yn ol pa un y dylid anghredu yr hyn sydd *wahanol* i brofiad blaenorol yn un a ddeil ei chwilio, canys milwriai yn erbyn credu pob newyddbeth, ac yn erbyn cynnydd mewn gwybodaeth brofiadol. ond mae profiad yn ein dysgu i gredu yn unffurfiaeth natur, ac mae'r profiad yma yn gysson. Profiad hefyd sydd yn ein dysgu i gredu mewn tystiolaeth, ond nid yw ein profiad o wirionedd tystiolaeth yn gysson. 'Rwyf yn fwy parod gan hyny i gredu y profiad o unffurfieath natur, yr hon sydd yn gysson ac yn erbyn gwyrth yn hytrach na gwirionedd tystiolaeth yr hon sydd wedi fy nhwyllo yn fynych. Mewn geiriau ereill, mae yn fwy rhesymol credu fod y tystion o wyrth wedi cyfeiliorni, na bod cyfnewidiad ym mhrofiad cyffredinol y byd yn erbyn gwyrthiau; mae yn fwy tebyg fod tystiolaeth yn anghywir, na bod gwyrth yn wir."

Dyma gyfreswm (*syllogism*) gyfrwysgall yr ammheuwr (*sceptic*) Hume. sydd wedi gwneyd gwasanaeth mawr i achos anffyddiaeth cyn byn. Ar yr olwg gyntaf. mae hi yn ddeniadol, ac yn ddiammheu mae yn cynnwys llawer o wirionedd. Mae y parodrwydd gyda pha un yr arweinir dynion yn fynych o dan ddylanwad, teimladau, neu ragfarn crefyddol, i gredu unrhyw hanes am gyfryngiad goruchnaturiol, yn ddigon adnabyddus ac yn taflu gradd o ammheuaeth ar y dechreu ar *bob* tystiolaeth am wyrthiau. Ond er hyny ni thâl y cyfreswm yma ei brofi: try allan yn arwynebol; mae yn cynnwys gwir, ond nid y gwir i gyd. Ymdrechwn gyda gradd o hyder wneyd yn eglur nas gall yr ymresymiad ddal dwr.

Nodwch fod y cyfreswm a ddefnyddir gan yr ammheuwr yn gwneyd profiad yn safon tystiolaeth ac yn safon gwyrth. Mae yr un safon o debygolrwydd ag sydd yn deilliaw oddi wrth brofiad blaenorol, yn troi o blaid cyssondeb natur, ac yn erbyn pob tystiolaeth am wyrth. Mae y tebygolrwydd yn gorphwys yn erbyn gwirionedd y dystiolaeth o'r hyn sydd yn groes i brofiad. Dyna'r gosodiad ar ba un mae'r ymresymiad yn troi.

Os yw'r gosodiad yma yn wir. dylai fod yn wir yn gyffredinol; dylai fod yn wir mewn perthynas nid i wyrthiau yn unig. ond i'r hyn sydd yn groes i brofiad yn gyffredinol, i bob peth sydd yn groes i brofiad. Os ydyw tystiolaeth yn rhy ammhëus i brofi dim yn yr Ysgrythyr sydd yn groes i'n profiad yng nghylch ymddangosiadau (*phenomena*) dylai fod yn wir hefyd fod tystiolaeth yn rhy ammhëus i brofi unrhyw ymddangosiad (*phenomena*) croes i brofiad ar faes hanesyddiaeth celfyddyd neu wyddoniaeth.

Ystyriwch fath ganlyniadau afresymol a darddai oddi wrth y gosodiad yn ei gyflawn ystyr. Os bod yn groes i brofiad blaenorol (a dyna'r gosodiad) sydd yn dirymu y dystiolaeth. ac nid dim arall yn ol yr ymresymiad. digon fydd cyfyngu ein hunain at y canlyniad o hyny, ac nid dim arall. Dichon fod rhesymau gwrthwynebol ereill y dylid eu hateb; dichon dylid dangos fod achosiaeth ddyladwy ar waith, fod gallu goruchnaturiol yn medru gweithredu. fod Duw yn bod, yn alluog i weithio ac yn ewyllysio gweithio trwy wyrth, ond nid dyna'r ddadl bresennol. Y gosodiad gwrthwynebol ag sydd i chwalu amddiffynfëydd Sion yw fod gwyrth yn groes i brofiad blaenorol. Y mae yr hyn sydd yn croesi profiad blaenorol yn anghredadwy. Dyma enghraifft i chwi o gymhwysiad y cyfreswm at un o wyrthiau yr Ysgrythyr.

Mae profiad yn ein dysgu fod afonydd bob amser yn rhedeg i waered tua'r môr, ac nad yw eu dyfroedd byth yn aros am ysbaid o amser yn bentwr o'r tu uchaf er mwyn gwneyd ffordd sych trwyddynt i'r teithiwr. Nid oes lle gan hyny i dystiolaeth gael derbyniad am ymddangosiadau croes i brofiad mor gysson a chyffredinol. Nis gall un dystiolaeth fod yn ddigon cryf i brofi i'r Iorddonen sefyll er mwyn i Israel fyned trwyddi yn droed sych. Mae yn fwy tebyg fod y dystiolaeth yn gyfeiliornus na bod y ffaith yn wir.

Er mwyn gweled i ba dir mae y fath ymresymiad yn arwain, cymmeraf ddau neu dri o enghreifftiau lle nad oes dim gwyrthiol yn cael ei hawlio; ac *yn gyntaf* oddi wrth ffeithiau naturiol. Y mae yn ddiammhëu fod llawer o ddynion yn y byd yn hollol anhysbys o hynodion y ddaiar tua'r pegynau (*the poles*). Mae ymwelwyr a hanesion yn tystiolaethu fod diwrnod goleu-dydd yn parhau yno am fis neu ychwaneg weithiau heb ddim nos; a nos am yr un ysbaid, pan na welir byth mo'r haul: ac yn wir mewn un man fod yno noswaith a diwrnod, bob un yn chwe mis o hyd, a rhyngddynt eu dau yn gwneyd i fynu y flwyddyn gyfan. Beth a ddywedai yr ammheuwr yn ol ei reol am hyn? Onid rhyw beth fel hyn? "Mae'r hyn a ddywedir yn groes i'm profiad. Chlywodd neb erioed o'r blaen am y fath beth. Yr wyf yn ddigon hysbys o hyd diwrnodau a nosweithiau. Mae'r nos yn canlyn dydd, a'r dydd yn canlyn nos o'r dechreuad o fewn y pedair awr ar hugain. Mae'r dydd yn hwy yn yr haf, a'r nos yn y gauaf, a dyma brofiad pawb mor belled ag y gwyddom. Mae diwrnod o oleuni am chwe mis, a noson o dywyllwch am chwe mis yn anhygoel. Mae yn fwy tebyg fod y dystiolaeth yn gyfeiliornus na bod y ffaith yn wir."

*Drachefn* yr enghraifft nesaf oddi wrth gymhwysiad celfyddyd. Nid oes neb yn fwy hysbys o'r amser y gall dyn aros dan y dwfr yn ddiogel na'r pysgotwyr perlau yn y Dwyrain. Maent yn gwybod yn dda beth yw mesur gallu dynol yn y cyfryw gyflwr. Mae yn sicr na wyddent ddim am y *diving bell* na'r darpariaethau ereill at yr un dyben, pan ddyfeisiwyd hwynt gyntaf. Pe byddai yr ammheuwr yn un o honynt ac yn gysson â'i reol, pan yn clywed am y tro cyntaf rhyw dyst yn dywedyd iddo weled dynion yn myned i lawr dan y dwfr i long suddedig, yn aros yno am hanner diwrnod i weithio i achub eiddo, ac yn dyfod i fyny yn iach a chysurus, beth a ddywedai? Onid fod y peth yn groes i'w brofiad, ac i brofiad helaeth ereill, ac am hyny yn anhygoel, ië, yn ammhosibl? fod y dystiolaeth yn fwy tebyg o fod yn gyfeiliornus na'r ffaith ddywededig yn wir? yn yr un modd mewn dyfeisiadau ereill a ellid eu nodi—maent yn gosod o'n blaen ymddangosiadau croes i brofiad blaenorol yr holl hil ddynol.

Cymmerwch enghraifft *eto* o fewn cylch y gelfyddyd feddygol. Hyd o fewn ychydig amser yn ol yr oedd yn farn gyffredinol nad oedd modd iachäu pilen (*cateract*) ar y llygad. Dyma oedd profiad cysson a pharhäus yr holl feddygon, a phawb ereill. Nid oedd neb wedi gweled na chlywed yn un man nac yn un oes am adferiad y llygad. Un diwrnod dyma dyst yn dyweyd ei fod yn adnabod un a iachawyd, er mor groes i brofiad blaenorol. Pe byddai yr ammheuwr yn ei glywed, ac yn gysson â'i reol, byddai yn rhaid iddo ddyweyd fod y fath ffaith yn anhygoel, a'i fod yn fwy tebyg fod y dystiolaeth yn gyfeiliornus, na fod profiad mor gyffredinol wedi ei chroesi.

Cymmerwch *eto* enghraifft o fewn cylch gwyddoniaeth anianyddol. Gŵyr pawb mai effaith gwres ar feteloedd a sylweddau yw eu llosgi, neu eu toddi, neu eu berwi, ond nid byth eu rhewi. Byddai hyny yn hollol groes i brofiad cyffredinol: ond clywch!

Poetha y fferyllydd ei dawddlestr nes y byddo yn goch, yna rhydd ynddo ryw gymmysgedd gwlyb yr hwn yn fuan a fflamia ar y gwyneb, ac yna tywallta i'w gnnol drachefn arian byw, ac mewn ychydig eiliadau mae'r arain byw yn cael ei gyfnewid gan y gwres yn delpyn o ia. Cyn rhewi arian byw mae angen am oerfel anferthol fwy nag i rewi dwfr, ond dyma arian byw yn cael ei oeri ynghanol tawddlestr poethgoch, nes rhewi! Nid hawdd dychymmygu dim mwy croes i brofiad blaenorol, a phe byddai yr ammheuwr yn gysson â'i reol, anghredai yr ymddangosiad (*phenomenon*) o herwydd ei bod yn fwy tebyg fod y dystiolaeth yn gyfeiliornus na bod ffaith mor groes i brofiad yn wir.

Yn awr rhaid i'r rheol wneyd y ffeithiau a enwyd yn anghredadwy yn erbyn tystiolaeth, os ydyw bod yn groes i brofiad cysson blaenorol yn ddigon i wneyd gwyrthiau yn anghredadwy. Nid yw ddim i'r pwrpas yn bresennol i ddyweyd fod yr effaith yn deilliaw oddi wrth achos digonol yn yr enghreifftiau o nodwyd, canys â gwyrthiau fel rhyfeddodau, â gwyrthiau yn eu golygiad o bethau croes i brofiad blaenorol y cymherir hwynt. Mae y cwestiwn o achosiaeth eto yn ein haros, ond mae'n rhaid clirio'r ffordd cyn myned at hyny o'r gwrthddadl sydd yn tori dan sail pob tystiolaeth o blaid gwyrthiau. Os nad oes un dystiolaeth yn ddigon i brofi gwyrth, ofer yw myned ym mhellach â'r ystyriaeth o honynt; mae'r drws wedi ei gau. Nis *gall fod* y fath beth a gwyrth. Mae yn groes i brofiad cyffredinol. Ond yr ydym yn dangos, os ydyw'r rheol yn wir, ei bod yn gwneuthur yr enghreifftiau a enwyd yn anhygoel, yn gystal a gwyrthiau, os nad oes rhyw reswm arall heb law bod yn groes i brofiad yn eu herbyn. Gellid dangos hefyd, nad yw cyffredinolrwydd y profiad blaenorol, na mesur y gwrthwynebolrwydd (*the universality or the extent of the contrariety of the previous experience*), yn fwy yn erbyn gwyrthiau nag yn erbyn yr enghreifftiau a enwyd. Am hyny nid oes modd ar y tir presennol gwahaniaethu rhwng credinolrwydd gwyrth, ac ymddangosiadau anarferol ereill mewn natur, neu gelfyddyd.

Os nad ydyw tystiolaeth o unrhyw fath yn ddigon i sefydlu gwirionedd y wyrth (yn ei golygiad o ffaith ryfeddol) o dywyllwch dros wlad yr Aipht am dri diwrnod, nid yw yn ddigon chwaith i sefydlu gwirionedd y nosweithiau hirion tua'r pegynau; o herwydd maent yn groes i brofiad. Os nad yw tystiolaeth yn ddigon i sefydlu gwirionedd y wyrth i Grist gerdded ar y môr, nid yw chwaith yn ddigon i brofi i rai sy'n byw tua'r cyhydedd (*equator*) fod dwfr yn rhewi. Os nad yw tystiolaeth yn ddigon i sefydlu gwirionedd y wyrth am Jonah yn y môr, nid yw chwaith yn ddigon i brofi gwirionedd y mynediad dan ddwr trwy gyfrwng *diving apparatus*. Os nad ydyw yn ddigon i sefydlu gwirionedd agoriad llygad y deillion gan Grist, nid yw chwaith yn ddigon i brofi iachâd pilen ar y llygad. Os nad yw yn ddigon i brofi gwirionedd yr hanes am y tri llanc yn y ffwrn yn Babilon (yn y golygiad o ryfeddod, cofiwn, yma, ac ym mhob enghraifft arall), nid yw chwaith yn ddigon i brofi gwirionedd rhewad yr arian byw yn y tawddlestr: o herwydd yr oedd y cwbl yn groes i brofiad blaenorol.

Dyma'r canlyniadau i ba rai yr arweinir ni gan gymhwysiad y rheol ag ydoedd i wneyd gwyrthiau yn anghredadwy. Mae yn amlwg bod y canlyniadau i ba rai y'n harweinir yn afresymol. Mae ynte ryw ddiffyg yn y rheol, neu yn ei pherthynolrwydd. Mae hi yn *anghywir ynddi ei hun*, neu yn *y cymhwysiad a wneir o honi*. Nid ydyw yn anghywir ynddi ei hun, canys wrth brofiad blaenorol yr ydym yn barnu am bob peth a welwn neu a glywn am dano. Mae pob peth ar yr olwg gyntaf yn anhygoel, os bydd

yn groes i'n profiad. Ein profiad i'r hyn fu sydd yn peri i ni megys trwy reddf ddysgwyl bydd y dyfodol yn debyg Mae'r haul wedi codi heddyw a ddoe. ac o'r blaen. am hyny dysgwyliwn y cwyd y fory, os na fydd rhyw achos ar waith i'w rwystro nas gwyddom. Dyna'r os. Mae'r os yn cyfyngu y rheol. "Mae yn debyg bydd y dyfodol fel yr hyn a fu, oddi eithr yn y cyfeiriad. lle mae genym ryw reswm i ddysgwyl yn wahanol." meddai yr Esgob Butler yn ei Gyfatebiad (*Analogy*) Mae *os*. mae terfyn yn cyfyngu y rheol. Mewn geiriau ereill nid yw yn cynnwys y gwir i gyd heb chwanegu yr *os*.

Ond gwna ychydig o ystyriaeth manylach ddangos i ni mai yn ei *pherthynolrwydd* mae'r rheol yn colli. Mae hi yn defnyddio profiad fel safon i fesur gwerth tystiolaeth a gwirionedd gwyrth. Nid *profiad* yw *mesur tystiolaeth*. Nid priodol ei chymhwyso fel ag y gwneir at dystiolaeth. Mae hi yn ammherthynol. Mae y safon yn appelio at brofiad, pan nad oes gan brofiad hawl gael gwrandawiad. Oddi wrth ei chamgymhwysiad y tarddodd y canlyniadau afresymol a welsom. Pan glywir am ryw ryfeddod mewn gwyddoniaeth neu gelfyddyd nid ydym yn penderfynu ar unwaith ynghylch ei wirionedd trwy ei bwyso a'i fesur yn ol ein profiad blaenorol. Dichon ein bod yn gwneuthur hyny fel y cam cyntaf, ond nid aroswn heb i ni holi ym mhellach yr amgylchiadau o dan ba rai y cymmerodd y rhyfeddod le, pa achosion oedd ar waith, a chwestiynau ereill cyffelyb. Os oedd yno ryw elfen, neu ryw achos na wyddom ddim am dano o'r blaen, na'i natur, nid oes genym ddim profiad ar y mater o gwbl Nid ydyw profiad yn awr yn berthynol. Nid oes genym brofiad blaenorol o gwbl, am hyny nid yw'r dystiolaeth yn dyweyd dim sydd yn "groes i'n profiad." Rhaid derbyn y dystiolaeth, a phwyso a mesur ei gwerth cyn ei gwrthod neu ei derbyn yn ol rhyw safon heb law profiad. Pan glywodd y pysgotwyr perlau gyntaf am ddynion yn aros dan y dwfr am oriau, dichon mai y syniad cyntaf yn eu meddyliau oedd ammheuaeth neu anghrediniaeth, o herwydd fod y fath ymddangosiad (*phenomenon*) yn groes i'w profiad helaeth. Gwyddent nas galliai neb aros dan y dwr yn hir, o herwydd nad oedd yno awyr i anadlu. Ond pe dywedid wrthynt yn mhellach fod ffordd i drosglwyddo awyr lawr iddynt dan y dwfr wedi ei ddyfeisio, gwelent ar unwaith fod yma ryw beth allan o gylch eu profiad: fod appelio at eu profiad yn anmherthynol. Cyn gynted ag y clywent am yr awyr a'r bibell i'w drosglwyddo o'r gwyneb, pa un a oeddynt yn credu yn effeithioldeb y cynllun ai peidio, deallent ar unwaith nad oedd eu profiad helaeth yn gwybod dim am arosiad dan y dwfr o dan y fath amgylchiadau. Yr oedd eu profiad yn gyfyngedig i arosiad dan dwfr heb foddion anadlu. Yr oedd yma achos newydd, ac allan o gylch eu profiad. Gwelent ar unwaith yr hyn ni wel yr ammheuwr fod gweithredydd digonol yn bresennol i greu y rhyfeddod, ac nad oedd lle i appelio bellach at brofiad blaenorol

Dyma'r hyn a hawliwn dros wyrthiau yr Ysgrythyr. Os golygir hwynt yn eu hagwedd allanol fel rhyfeddodau, maent yn groes i brofiad blaenorol: a phe cyfyngem ein hystyriaeth o honynt at y golygiad yma, byddent yn ol rheol yr ammheuwr Hume yn annhebyg o fod yn wir, neu o leiaf yn ammheus iawn. Ond dywedir am danynt eu bod yn cael ei heffeithio gan achos, ac mae'r achos o'r fath ag i'w gymmeryd allan o gylch ein profiad. Nid yw'r cwestiwn bellach rhwng profiad a thystiolaeth, canys mae profiad yn ammherthynol, ac am hyny mae lle i wrando ar dystiolaeth. Nid yw'r Ysgrythyr yn galw arnom i gredu mewn gwyrthiau fel rhyfeddodau yn unig, ond fel rhyfeddodau yn

tarddu oddi wrth achos digonol er mwyn dybenion digonol. Mae'r Ysgrythyr yn hawlio gweithredydd dwyfol, ac os oes gweithredydd digonol i greu'r effaith, yna rhaid i brofiad, pa un ai croes neu wahanol i brofiad fo'r ymddangosiad ar yr olwg gyntaf, ddystewi a myned o'r neilltdu, fel y gwnaeth cyn gynted ag y soniwyd am y bibell i drosglwyddo'r awyr i'r gweithiwr tan-ddyfrol. Mae yr hyn oedd yn wahanol neu yn groes* i'r hyn a ddysgwyliem oddi wrth ein profiad blaenorol wedi cymmeryd lle fel ffaith (yn wir erbyn ystyried) yn ddigon cyffredin. A dyna'r rheol gyfrwysgall ag oedd i wneyd gwyrthiau yn anghredadwy wedi methu—wedi profi yn arf o awyr, yr hon hyd yn oed yn llaw cawr nis gall roddi ergyd—o herwydd mai cysgod yw. Mae gwrthddrych yr ymosodiad yn derbyn y ddyrnod amcanedig, ond nid oes un clwyf yn aros, nid oes dim wedi ei brofi ond fod yr offeryn rhyfel yn ansylweddol. Felly gwirir yr addewid na lwydda'r un arf a lunir yn erbyn y ffydd; felly y troir cynghor Ahitophel yn ffolineb.

Hyderwn fod y sylwadau blaenorol wedi agor y drws yn awr i dystiolaeth gael o leiaf wrandawiad yn erbyn profiad yng nghylch gwyrthiau. Os gwrthddadleuir eto nas gall yr un dystiolaeth gyrhaedd ym mhellach nag at ffeithiau allanol; nas gall gyrhaedd at y goruchnaturiol; nid yw yr wrthddadl yn yr ystyr hyn o ddim nerth; nid yw *ond* dyweyd beth yw natur tystiolaeth. Gwaith tyst yw tystiolaethu yr hyn a welodd neu a glywodd fel *ffaith*, fel ymddangosiad (*phenomenon*), nid rhoi esboniad o'r achosiaeth. Mae duwinyddion yn cydnabod fod y Bod o Dduw Personol yn ymddibynu ar ymresymiad arall ac nid ar wyrthiau fel eu prawf. Caniataed y gwrthwynebwr yn unig y dystiolaeth i'r ffaith allanol gymmeryd lle, yna mae natur ei hachosiaeth yn do'd i'r maes, ac yn galw am ystyriaeth—am ystyriaeth o'i sylwedd ac o'i deongliad, beth a brawf, beth a gynnwysa. Mae *esboniad goruchnaturiol* gwyrthiau yn ymddibynu ar resymau sydd at law, ond nid ydynt yn gynnwysedig yn nhystiolaeth y tyst. Mae hyd yn oed rai o'r ffeithiau yn wyrthiau,† megys yr adgyf-

* Dengys Dr. Mozley yn y *Bampton Lectures* (*Nos.* 2 *and* 3) fod y dysgwyliad na chymmer yr hyn sydd groes i'n profiad le yn hollol gysson â'i ddygwyddiad fel ffaith. Nid yw'r dysgwyliad yma yn medru hawlio iddo ei hun y penderfyniad ynghylch ffaith (*a question of fact*). Mae y fath benderfyniad allan o'i gylch a'i swydd. Mae yn egwyddor mawr, ond nid yw yn perthyn iddo osod i lawr ddychymygion, a phenderfynu beth all neu na all gymmeryd lle yn y byd. Nid yw yn perthyn iddo reoli ffydd grefyddol, a dyweyd am rai gweithredoedd o eiddo Duw er dadguddiad o'i ewyllys i ddynion na chymmerasant le. Such decisions are totally out of its sphere (maddeued y Cymro uniaith, er lles yr hwn yr wyf yn treio ysgrifenu neu'n hytrach addasu goreu medraf mewn gwisg Gymraeg allan o ffynnonau Seisoneg, y gweddill o'r dyfyniad yn Seisoneg am ei fod mor anghyfieithadwy, ac eto yn werth ei ddyfynu): it can assert the universal as a *law;* but the universal as a *law*, and the universal as a proposition are wholly distinct. The proposition is the universal as a fact, the law is the universal as a presumption; the one is an absolute certainty, the other is a practical certainty, *when* there is no reason to expect the contrary. . . . . Yet there has existed virtually in the speculations of some philosophers an identification of the universal as law, with a universal as a proposition; by which summary expedient they enclosed the world in iron, and bound the Deity in adamantine fetters; for *such a law* forestalls all exception to it. . . . . The logic of unbelief wants a universal, but no real universal is forthcoming, and it wastes its strength in wielding a fictitious one."

† Dywed y Proffeswr Tyndall yn ei adolygiad o'r *Bampton Lectures* gan Dr. Mozley mewn un man fel y canlyn:—

"Pa fodd y gŵyr fod gwyrthiau y Testament Newydd yn ammhosibl i ddynion eu cyflawnu? Ceisied a fyno, nid oedd ganddo un rheswm arall mewn gwirionedd ond hyn—na ddarfu i neb dyn o'r blaen gyflawnu y fath bethau. Ond a ydyw y ffaith na wnaeth neb gyfodi y marw erioed, yn profi nas *gall* dyn byth gyfodi y marw?

**odiad; ond pan wel y gwrthwynebwr hyn, mae yn newid ei dir, ac yn dyweyd fod y ffeithiau yn ammhosibl ynddynt eu hunain, o herwydd fod deddfau natur, parhâd grym (*permanence of force*), yn gwneyd troseddiad yn ammhosibl (dyma'r unig osodiad wna ateb dyben yr ammheuwr), ond os oes awdwr personol i drefn natur (yr hyn a hawlir) yn bod, ac yn ewyllysio gweithredu, mae yma achosiaeth digonol i wyrth tu allan i gylch profiad.**

**Yn y modd hyn arweinir ni yn y blaen, a gwelwn fod yn angenrheidiol i ni ystyried gwyrthiau ym mhellach yn eu golygiad o nerthoedd ac arwyddion yn ol deffiniad yr Ysgrythyr am danynt. Bendithied yr Arglwydd yr hyn a ddywedwyd, a gweled fod yn dda i wneuthur yr ystyriaeth pellach o honynt dueddu i dawelu ammheuon, a chadarnhau ein ffydd.**

***Pregethwyd yn Eglwys Sant Ann, Llandegai, Rhagfyr 2,* 1872, *gan y Parch. D. W. Thomas.***

---

## GWELEDIGAETH YR ESGYRN SYCHION GAN ESECIEL.

ESECIEL, gwas yr Hollalluog Dduw,
Gwr a gymhwysodd Ysbrydoliaeth wiw
I fod yn Brophwyd enwog yn ei ddydd—
Yn gysur a dyddanwch teulu'r ffydd,
Ryw dro, mewn gweledigaeth ga'dd ei hun
O dan arweiniad Ysbrydoliaeth gun,
Yn rhodio mewn dyffryndir prudd ac erch,
Oedd gwbl amddifad o brydferthion derch;
Ac esgyrn sychion hulient wyneb hwn,
Marwoldeb oer deyrnasi arno'n grwn.
Ow! olwg brudd; mae'n ddigon i lesgäu
Y galon ddewraf, ac i lwyr wanhau
Holl ymadferthoedd penaf enaid dyn
Tra'n syllu ar y fath olygfa flin;
Gweddillion oer marwolaerh welai'n drwch
O'i gylch yn gymmysgedig yn y llwch.
Ni fedrai Angeu, erchyll "frenin braw,"
Wneyd arddangosiad cryfach ar un llaw,

---

'Nac ydyw yn ddiammheu,' dyma raid i Mr. Mozley ateb, 'canys byddai hyn yn gwthio profiad tu draw i'r terfyn a gyrhaeddodd hyd hyn—a haeraf fod hyny yn anghyfreithlawn.' *Gall* amser ddyfod ynte pan bydd dyn yn alluog i gyfodi y marw. Os caniatëir hyn, ac nis deallaf pa fodd y gall Mr. M. osgoi y caniatâd, diflana yr angenrheidrwydd o gasglu dwyfoldeb Crist oddi wrth ei wyrthiau. Trowch y pwnc fel y mynoch, nid oes warant dros y casgliad pwysig fod gwyrthiau Crist yn arwyddo dwyfol allu, ond yr hyn a eilw Mr. Mozley yn 'raff o dywod,' yr ymresymiad oddi wrth brofiad."

Nid ydyw y Proffeswr enwog yn dyweyd ei fod yn caniatäu y *ffaith* o adgyfodiad, ond treio gwneyd rhwyd mae. Mae'r masglau yn rhy fras i ddal; yn ofer y taenir rhwyd yng ngolwg pob perchen aden. *Caniataed* y ffaith, a chaiff weled yn fuan. Heb law hyny, nid profiad, ond tystiolaeth sydd yn penderfynu'r ffaith fel ymddangosiad (*phenomenon*). Ni ŵyr profiad ddim am yr achosiaeth. Dywed na chymmerodd le o'r blaen, ond ni ddywed na *all* rywbryd gymmeryd lle trwy achosiaeth dynol. Dywed, gan na wnaethpwyd gan ddyn, eu bod yn *debyg* (os na ddaw rhyw allu arall i'r amlwg cuddiedig yn bresennol) nas gwneir byth. Ni ddywed nas gall—nad yw yn ddichonadwy. Ni ddywed nas gall yn hollol (*absolutely*) na dyn nac unrhyw allu arall mewn natur anadnabyddus hyd yn hyn. Pe dywedai profiad hyny llwyddid i gau'r drws yn erbyn pob gwyrth, pob achosiaeth heb law achosiaeth naturiol: ond gan na wna hyn, mae'r drws yn agored, mae lle i wyrth. *The logic of unbelief wants a universal.* Mae yr un gocheliad i'w arfer gyda golwg ar yr ymresymiad hwn, ag a nodwyd, ac a ail-nodwyd drachefn a thrachefn yng nghorff y bregeth, mae nid amgylchiad anarferol, anghyffredin yn unig yw gwyrth, a bod yn rhaid i'r gwrthresymau gymmeryd mewn yr holl syniad o'r hyn yw gwyrth ysgrythyrol. Rhowch i lawr yn ymresymiad dyfynedig y Proffeswr *y deffiniad* yn lle y gair "gwyrth," a gwelir yn uniongyrchol y diffyg: *e.g.*, "Pa fodd y gŵyr fod gwyrthiau y Testament Newydd [neu y gweithredoedd hynod hyny o awduraeth goruchnaturiol er dybenion moesol] yn ammhosibl i ddynion eu cyflawnu. . . . . Nid oes warant dros y casgliad pwysig fod gwyrthiau Crist [neu y gweithredoedd nerthol hyny o awduraeth goruchnaturiol er dybenion moesol a briodolir i Grist] yn arwyddo dwyfol allu, ond yr ymresymiad oddi wrth brofiad." Nid yw profiad yn dyweyd ond am yr allanol, y rhyfeddol; mae y tybosodiad (yr *hypothesis*) o'r awduraeth *fel rhan o'r wyrth* tu allan i brofiad, ac ymddibyna ar brofion ereill, ar gyd-ddygwyddiad y ffaith (*the coincidence of the fact*), ac yn enwedig ar y prawf fod gallu ac ewyllys yn bodoli ar wahân i ac uwch law deddfau natur. Mae yn gorphwys mewn gair ar yr un rhesymau a ffydd fod Duw. Am hyn eto.

O'i allu i ddinystrio teulu dyn,
A'u gwisgo ar ei ddelw brudd ei hun.
Olygfa erch! gwel'd dyffryn drwyddo'n
llawn
Gweddillion dynol—esgyrn sychion iawn;
Ni throediai bywyd drwy y dyffryn prudd,
Ni chlywid trydar, ac ni welid grudd
Yn llawn o gochni, chwaith na llygad llon
Un mab na merch 'n y weledigaeth hon;
Marwolaeth yn ei hagrwch mwya' i gyd
Deyrnasai drwy y dyffryn ar ei hyd;
A phwy freuddwydiai y gwnai bywyd llon
Ddifodi hagrwch yr olygfa hon?
Pwy fedrai goledd y dysgwyliad syn
I fywyd dramwy rhwng yr esgyrn hyn?
Ond ust! mi glywaf Ysbrydoliaeth Duw
Yn dwys ymddyddan gyda'i brophwyd
gwiw
Ar bwnc yr esgyrn sychion; a chyn hir,
Mewn ufuddhâd i gais y Duwdod pur,
Mae'r hen Eseciel wrthi'n llawn o ffydd,
Uwch ben yr esgyrn yn prophwydo'n rhydd
A hyawdl; ac ar hyn fe glywai drwst
Yr esgyrn yn ymglecian oll ar ffrwst
Am draws eu gilydd yn gymmanfa fyw,
Drwy nerth gorchymmyn yr Anfeidrol
Dduw;
Pob asgwrn neidiai'n syth i'w le ei hun,
Fel pe bai ymwybyddiaeth fyw 'mhob un,
Heb annrhefn nac anghydfod o un rhyw,
Yn attalfëydd ar lwyddiant cynllun Duw.
Ac yn y man y weledigaeth syn
Berffeithiwyd gan y rhyfeddodau hyn:—
Daeth gïau, cig, a chroen, i harddu gwedd
Yr esgyrn gwyw edrychent mor ddihedd:
Dynoliaeth hardd brydferthai hagrwch
prudd
Yr esgyrn sychion fuont mor ddifudd:
Cyrff destlus, cryno, sydd yn harddu'r fan,
A theyrn marwolaeth mwy yn llesg a gwan.
Ca'dd angeu'i drechu ar ei dir ei hun
O'r dyffryn hwn, adferwyd hwy bob un;
O'r fynwent esgyrn daethant oll i'r lan
Yn llawn hoenusrwydd gwyrthiol yn y fan.
A'r esgyrn asiwyd yn golofnau gwych,
I ddal yr adail ddynol hardd, ddinych;
Yr esgyrn oeddynt sathrfa o dan draed
Gânt eu cylchynu gyda chig a gwaed—
Gânt fod yn rhan o fod urddasol byw,
Yr urddasolaf yn llywodraeth Duw.
Ond A! er tlysed yr olygfa hon,
Er ardderchoced ydyw'r oll o'r bron,
Try'r oll yn fethiant heb gael mwy na hyn;
Marwoldeb lywodraetha drwy y glyn
Os na ddaw'r *anadl* esmwyth i fywhau
Y lladdedigion; Angeu wna barhau
I chwerthin ar ei sedd fel gwron mawr
Wrth weled *delwau* dynol ar y llawr:
Ef eto bia'r llawryf gwyrdd ei hun.
Ond A! wrth archiad Llywydd dai'r a nef
Mae'r hen Eseciel eto'n dyrchu llef
Mewn llawn awdurdod tua'r pedwar gwynt
Nes gwneyd i'r *anadl* frysio ar ei hynt,
A chwythu ar y lladdedigion gwyw,
Nes iddynt, o'u marwoldeb, godi'n fyw,
A dryllio cyffion Angeu'n chwilfriw oll,
A dianc o'i lywodraeth fawr ar goll.
A! dacw dyrfa ogoneddus wiw,
Neidiasant o farwolaeth erch yn fyw,
Heb *ddelw* angeu prudd yn hagru gwedd
Dim un—pob gwyneb sy'n eisteddfa hedd.
Daeth nwyfiant bywyd i drydanu drwy
Bob aelod iddynt—byw a fyddant mwy;
Gwridgochni prydferth wisga wedd pob
grudd,
A heddwch sy 'mhob mynwes, neb yn brudd.

ARWYDDOCAD Y WELEDIGAETH.

Y weledigaeth yma
A ga'dd Eseciel wiw
Yn rhagddangosiad prydferth
O weithrediadau Duw,
At genedl alltudedig
O'i hyfryd fro ei hun,
Sy'n wael a dirmygedig
Dan iau caethiwed blin.

Y genedl hon fu unwaith
Yn anwyl gan Dduw'r nef,
Nes iddi, drwy anfadwaith,
Sarhau ei ddeddfau Ef:
Plant Israel, pwy mor agos
At galon Duw ei hun
A hwy, nes iddynt wyro
O lwybrau rhinwedd cun.

Eu gobaith sydd ar drengu
Yn eu caethiwed hir,
Heb wawr am waredigaeth
Byth o estronol dir;
Eu hesgyrn a wywasant,
Pob grudd sy'n rhychiau llwyd;
O'u gwersyll anrheithiedig
Sain cân a mawl ni chwyd.

Ond A! mae'r weledigaeth
A gafodd prophwyd Duw
Yn dangos ffordd Rhagluniaeth
O du'r trueiniaid gwyw;
Mae gwawr i dori eilwaith
Ar deulu'r gaethglud fawr,
Mae aur fynegfys gobaith
Fel yn ymddangos 'nawr.

O feddau eu trueni,
Fe'u dygir oll i'r lan
Yn dyrfa ddirifedi,
Fe'u hunir yn eu rhan;
Tir cyssegredig Israel,
Gwlad eu cyndeidiau mad,
Wneir eto'n etifeddiaeth
Fras iddynt hwy a'u had.

Yr Arglwydd a dywallta
Ei Ysbryd yn eu plith,
Eu sychder a ireiddia
Dyferion nefol wlith;
Cânt eto eu hadferyd
Yn ol i'w hanwyl wlad,
Fe seliwyd yr addewid
A llw eu Dwyfol Dad.

MYFENYDD.

## HANES YR EGLWYS YNG NGHYMRU O DEYRNASIAD ELISABETH HYD ORSEDDIAD VICTORIA.

(*Parhâd o dudalen* 113.)

### PENNOD XX.

*Achosion cynnyddiad mawr Ymneillduaeth yn y Ddeunawfed Ganrif. Y symmudiad crefyddol a elwir yn gyffredin "Y Diwygiad Methodistaidd," a'i ganlyniadau. Yr ymraniad Calfinaidd a Wesleyaidd.*

GWAWRIODD y ganrif dan sylw ar yr Eglwys gan arddangos ffrwyth llafur cynnyrchiog* esgobion a chlerigwyr Cymreig dros gant a hanner o flynyddoedd. Yr oedd Pabyddiaeth wedi diflannu o fewn dim o'r holl wlad, ac nid oedd ond ychydig iawn o Anghydffurfwyr yn yr holl Dywysogaeth; ambell gynnulleidfa fechan, ar wasgar ym mhell oddi wrth eu gilydd, yma a thraw, yn benaf yn y Deheubarth; Bedyddwyr, Annibynwyr, Presbyteriaid, a Chrynwyr. Ond os credir Dr. Rees, "ni fu erioed Eglwys wahanedig o Bresbyteriaid yng Nghymru"—wedi adferiad Esgobyddiaeth, fe ddeallir. Ond ymddengys i amryw gynnulleidfaoedd, a gyfrifid unwaith yn Bresbyteriaid, droi yn Undodiad neu Sosiniaid. Oddi gerth hyn, yr oedd holl gorff y genedl yn Eglwyswyr brwdfrydig, ac yr oedd nifer y Cymmunwyr yn fawr iawn, yn enwedig ar y prif wyliau. Yr oedd yr Ysgrythyr Lân, a'r Llyfr Gweddi Gyffredin, pregethu, a gweinyddiad y sacramentau sanctaidd, yn ol y gyfraith, yn yr holl Eglwysydd plwyfol, a hyny yn yr iaith Gymraeg. Y mae yn beth na wadodd neb o'r Ymneillduwyr erioed, a pheth a fynegodd eu tadau iddynt, fod gan y Cymry, y pryd hyny, mewn tref a gwlad, y parch mwyaf diffuant i Wasanaeth, trefniadau, ac ordinhadau yr Eglwys. Nid oedd neb drwy'r wlad yn esgeuluso bedyddio eu plant gan offeiriad, a'u conffirmio gan Esgob, nac yn breuddwydio am briodi na chladdu ond yn ol trefn yr Eglwys. Yr oeddynt yn dyfod yn lluoedd, ieuainc a hen, yn aml filltiroedd lawer o ffordd mewn plwyfi gwasgarog, i dderbyn Swper yr Arglwydd, yn enwedig y Nadolig, y Pasc, a'r Sulgwyn. A phwy a ddywed i ni pa fodd i gyssoni hyn oll â'r darlun dychrynllyd a dynir gan haneswyr Ymneillduaeth o anwybodaeth, tywyllwch ysbrydol, diogi gweinidogaethol, a llygredigaeth moesol, ac annuwioldeb offeiriaid yr oes hòno fel corff; hyny yw, oddi gerth "Tadau Ymneillduaeth Cymru," bid sicr. Creded a all. Ni wadwn nas gall fod rhywfaint o wir mewn hen wrachïaidd chwedlau traddodiadol, a cherddi pen-ffair Glan y Gors, a Thwm o'r Nant; ond y mae y darlun wedi ei orliwio yn fawr dan eu dwylaw, a chredwn fod y peth yn eithaf amlwg i bob sylwedydd diragfarn, sef mai yr amcan yw esgusodi a chyfiawnhau yr ymraniadau sydd wedi cymmeryd lle yn ein gwlad. Ni wad neb nad oedd offeiriaid yr oes hòno yn foneddigion o ran dysgeidiaeth. Yr oeddynt yn gyffredin yn ddarllenwyr mor hylithr fel y daeth "darllen fel person" i fod yn ddiareb; ac ni phrofwyd erioed eto nad oeddynt, fel corff, yn iach yn y ffydd, tra yr oedd rhai o honynt yn awdwyr a phregethwyr galluog. Yr hyn a haerir yw mai gwersi moesol oerllyd oedd eu pregethau yn gyffredin, heb ddim tân Efengylaidd ynddynt, ac nad oeddynt yn ddigon ysbrydol eu profiadau, a diargyhoedd eu bucheddau, i godi llais effeithiol yn erbyn dirywiad a llygredigaeth eu hoes. Sonir llawer am wylmabsantau, chwareuyddiaeth, difyrwch creulawn, campau, meddwdod, ac anfoesolder y genedlaeth hòno. Dysgrifir holl Gymru megys bre

* Adeiladwyd tua dau cant, fel y cyfrifir, o Eglwysydd a chapeli anwes yng Nghymru yn ystod yr amser hwn, o deyrnasiad Elisabeth, hyd gyfodiad teulu Hanover i'r orsedd.

tywyllwch paganaidd hyd oes "Y Diwygwyr Methodistaidd ac Ymneillduol," a'r canlyniad yw bod miloedd o'r werin yn cwbl gredu mai "Tadau Ymneillduaeth" a ddygasant gyntaf erioed y wir Efengyl i Gymru ryw gant neu ragor o flynyddau yn ol. Heb gyfiawnhau dim ar yr hen wylmabsantau a'r campau, gallwn ofyn yn hyf pa faint llai anfoesol oedd ac yw ein ffeiriau cyffredin pan yr ymffrostir bod y Cymry yn "genedl o Ymneillduwyr?" A oedd mwy o ffoledd a gwagedd, meddwdod, tyngu a rhegu, ymladd, ac anniweirdeb, yn dilyn y gwylmabsantau gynt nag a geir yn y ffeiriau y buom oll ynddynt yn nyddiau dysgleiriaf Ymneillduaeth? Ond nid oes neb mor afresymol a gwneyd pregethwyr ac ysgrifenwyr Ymneillduol yn gyfrifol am y pethau hyn, er eu bod hwy yn cyfrif holl annuwioldeb eu hynafiaid ar ben beddau offeiriaid yr oesoedd hyny! A pha faint rhagor na chynt o frawdgarwch, cymmydogaeth dda, gonestrwydd, llettygarwch, a diweirdeb a geir yn hanes Anghydffurfiaeth Cymru? Neu a geid, yng nghyfnodau ein brawdlysoedd y pryd hyny, ychwaneg o droseddau a drwg weithredoedd? Nis gellir dweyd, fel yr ymlawenhäwn, fod *crime* wedi cynnyddu yn y cyfamser, na'i fod chwaith yn *lleihau;* o blegid pobl gonest, heddychlawn, diddrwg yng ngolwg y cyfreithiau poenol yw'r Cymry er's oesoedd.

Yr ydym yn ddigon parod i gyfaddef fod gwybodaeth Feiblaidd a chyffredinol wedi mawr gynnyddu, drwy lafur yr Ysgolion Sabbathol a Dyddiol, y Pulpud a'r Wasg; ond ein barn yw bod y genedlaeth sydd yn awr yn hen, ac agos i ddiflannu, yn meddu llawer mwy o wybodaeth grefyddol na'r genedlaeth sydd yn cyfodi yn awr. Yn lle "Gair Duw yn uchaf," cyfnodolion ysgeifn yr oes sydd uchaf ym mhob lle gyda'r rhai hyn.

Pa faint bynag o angen oedd am adfywiad crefyddol a deffroad yn yr Eglwys, lledaeniad gwybodaeth, a diwygiad moesau, a bywhâd ysbrydol, tua chanol y ganrif ddiweddaf, nid oddi wrth yr Ymneillduwyr oddi allan, ond oddi wrth ymdrech yr offeiriaid rheolaidd oddi fewn, y daeth hyny oddi amgylch.

Yr oedd yn yr Eglwys, yng Nghymru, yn gystal a Lloegr, ddynion mwy galluog a dyfnach eu dysgeidiaeth, ond yr oeddynt yn treulio eu nerth yn benaf i wrthladd Anffyddiaeth a Deistiaeth nad oeddynt yn cyffwrdd â'r Cymry fel cenedl, os o gwbl. Yr oedd eu pregethau yn troi ar dystiolaethau allanol Cristionogaeth, a'i rhagoroldeb fel cyfundrefn o athroniaeth foesol, ac appeliadau at "Lyfr Natur;" a pha mor fuddiol bynag y gallai y fath bregethu fod i'r dysgedig a'r ymchwilgar, nid oedd ond addysg sychlyd a dieffaith gyda golwg ar y werin anllythyrenog. Hyn a esbonia boblogrwydd mawr a dylanwad cyffredinol yr offeiriaid a appelient nid at reswm a barn eu gwrandawyr gymmaint ag at eu teimladau a'u calonau. Er eu bod yn llai dadleugar a chul eu rhagfarnau, yr oeddynt yn llawn mor danllyd ac effeithiol â'r hen dduwinyddion Puritanaidd, a'u sel yn rhedeg yn llawn mor bell ac anochelgar dros derfynau y gyfundrefn blwyfol, yr hyn a ennynai eiddigedd a digofaint rhai o'u cyd-offeiriaid buddiog, ac a'u dygodd i wrthdarawiad ag awdurdod esgobol. Y mae enw Daniel Rowlands o Langeitho, ef allai, yn fwy adnabyddus nag un arall o honynt. Gelwir ef yn gyffredin iawn yn "Rector Llangeitho;" ond, er bod ei gyfeillion a'i elynion yn ei gyfrif fel un o'r pregethwyr mwyaf a gyfodwyd yng Nghymru, ni fu erioed yn fwy na churad* yno dros wyth mlynedd ar hugain, am y cyflog cardodol o *ddeg punt* yn y flwyddyn!

* Bu ei dad a'i frawd wedyn yn dal y berigloriaeth hono.

Cyrchai ugeiniau a channoedd, hyd yn oed o Wynedd a Mon bell, i Langeitho bob Sul y Cymmun. Gwaharddwyd iddo, yn 1763, ar ol bod ddeugain mlynedd yn yr offeiriadaeth, bregethu o fewn Esgobaeth Ty Ddewi, a dywedai yr Esgob Burgess mai dyma'r weithred ynfytaf a gyflawnodd ei ragflaenwr erioed. Nid ymddengys fod Rowlands, er's tro maith bellach, yn euog o fyned gymmaint i blwyfi ereill, ond bod pobl o blwyfi ereill yn dyfod i Langeitho. Ac er ei fod yn parhau ar ol ei ddystawiad i weinidogaethu, mewn adeilad anghyssegredig, y mae yn amlwg na fwriadodd erioed ymneillduo oddi wrth yr Eglwys; a phe buasai efe a'i gydweithredwyr yn byw yn ein hoes ni, buasai y Methodistiaid Calfinaidd yn frawdoliaeth o'r Eglwys, yn lle bod, fel heddyw, yn Ddadgyssylltwyr a Dadwaddolwyr. Nid ydym mewn un modd yn cydymdeimlo â'r hyn oll a wnaeth yr "Offeiriaid Methodistaidd," ond tra yr ydym yn eu beio yn hollol am hau, er yn anfwriadol, hadau Ymneillduaeth chwerw yr oes hon, yr ydym yn gorfod cydnabod cywirdeb eu hamcanion, eu hymroddiad hollol i'r hyn a gyfrifent yn wasanaeth i Dduw, ac i'w cenedl a'u hoes, eu gweithgarwch diflino; ac yn cyfaddef effaith a nerth eu gweinidogaeth, yn peri i dorfëydd wylo yn hidl, lefain allan dan ddwysbigiadau cyfamserol, a llamu mewn gorfoledd, yr hyn a elwid yn "ddiwygiad," ac a gymmerai le nid yn unig ar ganol pregeth danllyd, ond weithiau ar ddarlleniad y Litani, neu ran arall o'r Gwasanaeth. 'Meddylir mai rhyw ddeuparth o ysbryd hen offeiriad Llanddowror a ddisgynodd gyntaf* ar gurad Llangeitho, yr hwn oedd drwy ei fywyd yn uchelgais am enwogrwydd a dylanwad pregethwr mawr poblogaidd, yr hyn a farnai yn anhebgorol i weinidogaeth efengylaidd ac effeithiol. Ond er ei ymlyniad wrth yr Eglwys, bu i'w esampl a'i gynlluniau arwain ereill i Ymneillduaeth yn y pen draw. Nid yn unig pregethai mewn lleoedd anghyssegredig, yr hyn y mae cannoedd o offeiriaid yn ei wneyd drwy'r blynyddoedd yn awr, ac yn gweinyddu sacramentau yr Eglwys yn y cyfryw leoedd cyffredin gyda chymmeradwyaeth esgobol; ond os ceuid drws yr Eglwys yn ei erbyn ef, ai i gapel Ymneillduol agored: os na chai fyned i'r Eglwys, am ei fod yn ormod o Ymneillduwr, nac i gapel yr Anghydffurfwyr, am ei fod yn ormod o Eglwyswr, dringai gareg-farch neu ben clawdd, ac oddi yno gweddïai, darllenai, pregethai yn fwy effeithiol ef allai nag y clywsid ef erioed o'r blaen. Fel hyn y casglodd gyntaf y fath dorf o gymmunwyr o bell i Eglwys Llangeitho, a chan ei fod â'i holl feddwl ar barotoi pregethau nerthol, y mae yn debyg, wedi hir sefydlu ei boblogrwydd, na thorasai gymmaint yn niwedd ei oes dros gloddiau ei gymmydogion offeiriadol anfoddog, pe na buasai i "ddystawiad oddi wrth Esgob" ei ymlid eilwaith i'r prif-ffyrdd a'r caeau. Heb law hyny, Rowlands a adeiladodd "y ty seiet," fel y gelwid y capel cyntaf, am y rheswm nas gallai ei "gynghorwyr," neu bregethwyr lleyg, lefaru yn yr Eglwys, ac nis gellid cadw, meddir, gyfarfod cymmunwyr, na chwrdd gweddi ond mewn adeilad heb ei chyssegru! Ond cedwid ysgol ddyddiol yn ddigon aml yn Eglwys y plwyf yn y dyddiau hyny. Ffurfiodd efe a'i "gydoffeiriaid Methodistaidd" hefyd gymdeithasau o "ddychweledigion" a elwid yn *societies*, gwreiddyn "seiet," y rhai a ystyrid neu a gyfrifent eu eu hunain yn unig broffeswyr crefydd, yn wahaniaethol a gwahanedig oddi wrth "y byd," y rhai a ymddiriedid i flaenoriaid ag oeddynt mewn undeb â'i gilydd; ond, dros amser hwy o lawer nag y gallesid dysgwyl, par-

* Dan bregeth Griffith Jones yn Llanddewi Brefi.

hasant i gymmuno yn rheolaidd yn eu Heglwysi plwyfol, neu i dderbyn Swper yr Arglwydd yn eu capeli yn unig o law offeiriad urddedig. Syndod mawr yw na ddarfu iddynt ymneillduo fel corff annibynol hyd y flwyddyn 1811. Dywedwyd y gallasai egobion y dydd hwnw, oni bai eu hanwybodaeth o iaith a syniadau y wlad a'r oes, yn hawdd attal yr "Ymraniad Methodistaidd," ond cynnyg urddau sanctaidd i ddynion a ddewisid gan gyfarfodydd misol, neu yr *association*, y sasiwn fawr. Ond, a chaniatäu y gallesid gwneyd offeiriaid o'r pregethwyr lleyg enwocaf, prin y gallesid gobeithio i'r rheiny ufuddhau yn ymarferol i Act yr Unffurfiad. Nid oeddynt erioed wedi arfer y Llyfr Gweddi Gyffredin yn eu cyfarfodydd priodol eu hunain, ond darn o hen drefn addoliad Presbyteraidd. Yr oedd cyfathrach ysbrydol rhyngddynt yn wir â chanlynwyr Iarlles Huntingdon, y rhai a gadwant, hyd heddyw, at Ffurfwasanaeth Eglwys Lloegr, gan mwyaf; ond y mae yr enwad yn diflanu mewn llawer o ardaloedd yn Lloegr.

Ac ni ddangosodd John Wesley, o gof anfarwol, erioed gymmaint o wendid a phan yn rhybuddio ei ganlynwyr i beidio byth ymneillduo oddi wrth yr Eglwys, ac yntau ei hun wedi eu magu a'u maethu mewn Anghydffurfiaeth ymarferol. Dyma anghyssondeb mawr offeiriaid Methodistaidd Cymru. Rhai o honynt yn wir a ymwadasant â'r Corff byth wedi 1811, pan ordeiniwyd gweinidogion heb urddau esgobol; ond, rhyngddynt hwy a'r esgobion estronieithus, yr oedd y rhwyg (y sism) wedi ei wneyd, ac nid oedd modd ei gyfanu.

Dywed un o ohebwyr yr *Eglwysydd*, y diweddar Barch. R. Richards, o Gaerwys, "Yr oedd y dyddiau hyny yn ddyddiau tywyll, terfysglyd, a gofidus iawn i lawer o bobl yn yr ardaloedd hyny [sir Benfro]. Yr oedd ymraniad y Methodistiaid Calfinaidd oddi wrth yr Eglwys, a'i gweinidogion, a'i hordinhadau, wedi peri llawer mwy o derfysg a gofid i bobl y Deheudir nag i bobl y Gogledd. Yr oeddynt yn sect, ac yn cael eu hystyried felly, yn y Gogledd er's blynyddau bellach, os nid o'r dechreuad; ond nid felly yr ystyrid hwynt yn y Deheudir, canys fe edrychid arnynt yno fel aelodau deffröedig yn yr Eglwys; am hyny fe deimlid yr ymraniad fel rhwygiad cyfeillion y naill oddi wrth y llall." Llawer yn yr ardal y cyfeirir ati a ymlynasant wrth yr Eglwys a'i gweinidogion, ond "yr oedd mawr ofal calon o herwydd ymneillduaeth Reuben." Ac y mae yn myned rhagddo i ddysgrifio'r wylo mawr oedd yn y cyfarfod offeiriadol tra yr oedd ficer patriarchaidd Nevern yn ceisio cysuro yr Eglwys, y byddai i Dduw ofalu am dani yn nyddiau ei gofid a'i thywyllwch. "Yr oedd," medd ein hanesydd, "pob llygad yn llawn, a phob grudd yn wlyb gan ddagrau. Yr oedd fy nagrau i wedi gwylchu fy nghadach-gwddf, fel yr oedd yn wlyb drwyddo." Mae yn dywedyd am offeiriaid y cyfamser, a gwyddfodol yn y cyfarfod y galerid cymmaint fod y Methodistiaid wedi ymneillduo oddi wrth yr Eglwys, "Dysgwyd hwynt gan y Nef yn ddiau i osod gwirioneddau mawrion yr Efengyl o flaen y gwrandawyr yn y cyfryw fodd ag a achosai y fath gynhwrf ym mhlith y gwrandawyr, ag a berai i'w dagrau redeg yn gyflym i lawr eu gruddiau. Yr oedd eistedd o dan eu gweinidogaeth, a gwrando eu hymadroddion am bethau'r iechydwriaeth, yn effeithio ar y gwrandawyr yn debyg fel y gwna cyffwrdd â chadwyn y peiriant trydanol â'r rhai a gyffyrddant â hi, neu rai yn cyffwrdd â hwynt."

Y mae yr un ysgrifenydd yn sylwi hefyd na chaniatäi yr hen Fethodistiaid i Ymneillduwr bregethu yn eu capeli, nad aent i gapel ymneillduol;

ac y mae yn adrodd hanesyn hynod, fod Mr. Charles o'r Bala wedi ei gyhoeddi i weinyddu Swper yr Arglwydd yng Nhastell Newydd Emlyn, a bod torf fawr o gymmunwyr wedi ymgasglu i dderbyn y sacrament; ond i rai o honynt, wedi derbyn y bara, pan welsant bregethwr heb fod mewn urddau esgobol yn dechreu cyfranu'r gwin, godi a myned ymaith heb gymmeryd y cwpan, ac i lawer ymadael heb dderbyn yr un o'r elfenau cyssegredig, a gwneyd eu ffordd mewn ffrwst a galar i ymgynghori â hen offeiriad Nevern, yr hwn nis gallai wedi hyny adrodd yr amgylchiad ond mewn dagrau.

Ond er bod canlynwyr cyntaf yr offeiriaid Methodistaidd fel corff yn ymwrthod â'r enw "Ymneillduwyr," ac yn hwyrfrydig iawn i ymadael â hen Eglwys hybarch eu tadau, yr oedd amgylchiadau oddi allan ac oddi fewn yn cydwasgu'r frawdoliaeth yn raddol, o dipyn i beth, i ffurfiun sect wahanedig ac annibynol. Oddi allan yr oedd yr awdurdod eglwysig fel hunllef drom ac oerllyd yn gorwedd ar eu hymdrechion crefyddol, yn caethiwo, yn dystewi, neu yn cadw eu harweinwyr offeiriadol oddi wrth bob dyrchafiadau yn yr Eglwys. Ac nid hyny yn unig, ond yr oedd amcan ac ymgais addefedig esgobion Seisonig Cymru i ddiddymu iaith a chenedlyddiaeth neillduol y Cymry, yn arfogi gwladgarwch llawer yn erbyn esgobyddiaeth ei hun. Gyda golwg ar ddyrchafiadau eglwysig, yr oeddynt yn cael eu rhoddi i berthynas a chyfathrach, a llawer o fywoliaethau i'r un dyn, a hwnw yn aml yn analluog i wasanaethu yr un o'r cyfryw blwyfi, am na fedrai ddim Cymraeg. Gadewid gofal ysbrydol y plwyfolion i ryw gurad tlawd Cymreig—dyn heb ddim pellach byth i'w ddysgwyl oddi wrth yr Eglwys ar y ddaiar—dyn, o herwydd ei dlodi, wedi hen fyned yn ddiystyrllyd yn ei olwg ei hun yn gystal ag ereill. Nid oedd yn yr Eglwys dim i ddenu bechgyn talentog digyfoeth, ac felly troisant i wasanaethu Ymneillduaeth, er mwyn enwogrwydd. Ac o ddiffyg Gwasanaeth Hwyrol yn Eglwys y plwyf, aeth yn arfer gan bawb fyned i'r *capel* bob nos Sul, ac o'r capel i'r seiet, hyd yn oed gweision a morwynion, plant a gwragedd rhai offeiriaid plwyfol y gallem eu henwi, er eu bod yn awr yn y bedd.

Cafodd yr esgobion Hanoveraidd, yn 1700, genedl gyfan o Eglwyswyr uniongred a ffyddlawn, parod i farw ar faes rhyfel o blaid yr allor a'r orsedd, a gadawsant, mewn rhan fel ffrwyth naturiol, eu llafur camsyniol, tua dechreu y ganrif bresennol, "genedl o Anghydffurfwyr," chwedl gwrthwynebwyr yr Eglwys hyd heddyw; o blegid nid oedd yn 1700, yn ol cyfrif Syr Thomas Philipps, ddim ond 36 o gapeli ymneillduol yn holl Gymru, o Ogledd i Dde, o Fon i Fynwy; ond yn 1850 yr oeddynt wedi cynnyddu i *fil a dau cant a deg a deugain* yn y ddwy esgobaeth Ogleddol yn unig. Yn y Deheubarth a Mynwy yr oedd mil, pum cant, a thri ar hugain rhagor o leoedd addoliad, heb fod mewn cyssylltiad â'r Eglwys! Dyna nawnddydd Ymneillduaeth.

Ar yr un pryd rhaid i bob dyn gwybodus addef bod y rhan fwyaf, debygaf, o esgobion Seisonig Cymru yn ddynion o ddysg mawr, rhai o ddoniau nid distadl, ac o dduwioldeb ac elusengarwch dilynwiw. Dynion iawn oeddynt pe yn yr Eglwys yn Lloegr, ac nid yng Nghymru. Gwyn fyd na ddeallasent gymmaint o iaith a syniadau cenedlaethol y Cymry, o 1700 hyd 1800, ag a ŵyr ein hesgobion presennol. Serch hyny, rhywbeth gwaeth nag ynfydrwydd diwybodaeth, anghyfiawnder tost â'u coffadwriaeth, yw gwaith y sawl a fynant yn awr gerfio ar feini eu beddrod mai hwynt-hwy a achlysurasant holl Ymneillduaeth Cymru. Dim o'r fath beth. Ond cuddiwyd lefain Anghydffurfiaeth yn fore yng

nghelwrn blawd Methodistiaeth offeiriadol, heb son dim am weithgarwch egnïol a chynnyrchiol y Bedyddwyr, yr Annibynwyr, a'r Wesleyaid, wedi hyny. Fel hyn, pan oedd Periglor Llanddowror yn cadw math o athrofa hyfforddiadol i ysgolfeistriaid Madam Bevan, derbyniodd a danfonodd allan lawer o Ymneillduwyr, dynion a gyfrifai yn wybodus, gweithgar, a duwiol, i ddysgu ieuanc a hen ddarllen Gair Duw. Yr oedd efe, yn symledd ei galon ryddfrydig, yn edrych dros ben a thu draw i'r ffaith mai Anghydffurfwyr oeddynt, at les moesol ac ysbrydol y wlad. Ond er bod eu golwg hwy yn fyrach, yr oedd yn graffach i weled cyfleusdra manteisiol i hau yn ofalus a dyfal eu syniadau crefyddol neillduol eu hunain, y rhai mewn amser a dyfasant i gymmeradwyaeth lliaweroedd, ac a ddygasant eu ffrwyth naturiol yng Nghorff 1811. Gwasgiad arall oddi fewn oedd cais ymchwyddol y rhai hyn, a phregethwyr cynnorthwyol ereill, am ordeiniad fel gweinidogion rheolaidd. Yr oedd yr offeiriaid Methodistaidd wedi dangos esampl pa fodd i wneuthur "cynghorwyr a phregethwyr, blaenoriaid a henuriaid," heb awdurdod, cenad, na chynghor esgob; a pha ham nas gellid gwneyd "gweinidogion" cyflawn yr un modd? Ac y mae y Parch. D. R. Thomas, yn ei lawlyfr addysgiadol ar *Hen Eglwys ein Tadau*, wrth ddangos mai fel llawforwyn i'r Eglwys y cododd Methodistiaeth ar y cyntaf, yn sylwi fod plaid wedi bod o'r dechreu yn ceisio rhoi i'r symmudiad ysgogiad arall; yr oedd rhai, ac yn enwedig rhifedi o'r ysgolfeistriaid, am ymadael yn llwyr â'r hen Fam Eglwys, ac am fabwysiadu trefn a gweinidogaeth newydd, ac fe barodd hyn ddadl frwd a hirbarhâus yn eu plith, a bu yn achos i rai o weinidogion yr Eglwys gilio oddi wrthynt, ac i ereill ddrwg dybied eu hamcanion; ac fel hyn y parhaodd pethau hyd y flwyddyn 1810, pan ddarfu i'r blaid uchod lwyddo i gario allan eu cynllun, &c.

Ac y mae yn beth nodadwy mai nid cymmaint o ymddiried a roes yr offeiriadaeth yn y Gogledd erioed ar y "Diwygiad" hwn; fel pe buasent yn ofni ei ganlyniad diweddol o'r dechreuad.

Nid oedd y symmudiad Methodistaidd ar y cyntaf, gan hyny, yn gwahaniaethu o ran ei amcan na'i natur oddi wrth genadaethau neillduol (*special missions*) a gynnelir yn awr gan Uchel ac Isel Eglwyswyr. Howel Harris oedd Moody ei ddydd, ac y mae llawer o bethau rhyfedd yn ei hanes.

(*I'w barhau.*)

---

## GOLWG AR GWRS Y BYD.

### Y SENEDD DAU CANT A THRIGAIN YN OL.

NID oedd dim son y cyfnod hwnw am y Trysordy, Whigiaid a Thorïaid, ond yr oedd y Ty yn cael ei ranu yr amser hwnw fel yn awr. Yn gynnar yn y sessiwn hysbysodd y Llefarydd fod achwyniadau yn cael eu gwneyd fod rheolau hynafol y Ty yn cael eu tori, trwy i'r aelodau wisgo eu hyspardynau; a deisyfodd arnynt i adael eu hyspardynau o'r tu allan. Yr oedd rhai am iddynt beidio gwisgo botasau.

Peth peryglus oedd Senedd o gleddyfwyr; ond ni chawsant eu defnyddio yn y sessiwn hon. Yr oedd gweision yr aelodau weithiau yn afreolus, a gwnawd achwyniad wrth y Llefarydd, yr hwn a roddodd orchymmyn i Ringyll y Frenines i'w rhwystro i ymgynnull yn agos i'r drysau, ac ar y grisiau.

Yr oedd gweision yr aelodau yn mwynhau yr un rhagorfreintiau a'r aelodau. Nid oeddynt i gael eu carcharu o bedwar diwrnod ar ddeg o flaen y Senedd; y mae y rhagorfreintiau hyn wedi cael eu difodi. Achwynodd un aelod fod ei deiliwr wedi cael ei garcharu. Achwynodd

Mr. Morris, aelod Seneddol dros Beaumaris, sir Fon, i'w was gael ei garcharu yn yr Amwythig. Dywedodd Mr. Francis Bacon fod hyn yn warthus i'r holl Dy; ac yr oedd ef yn barnu y dylai y diraddiad hwn gael ei gospi; gwaeddodd yr holl aelodau, "I'r Tŵr, i'r Tŵr; anfonwch am danynt, anfonwch am danynt!" Gorchymmynwyd i'r Rhingyll fyned i'r Amwythig, ond chwythodd y storom heibio ar ol iddo ymgynghori â Mr. Morris. Dygodd hyn anfri ar Mr. Morris; o blegid nid oedd y gwas wedi ei hurio ond i fyned ag ef ran o'i daith. Yr oedd y Ty yn ymddwyn yn llym os dygwyddai i anfri personol gael ei daflu ar un o'r aelodau. Os dygwyddai i un o'r aelodau gael ei wysio, buasai y sawl oedd â llaw yn y mater yn sicr o edifarhau. Curwyd un o'r aelodau a'i was, a bu agos i'w baeddwyr gael lletty yn y Tŵr; buont am bum niwrnod yng ngofal y Rhingyll, a gorfodwyd hwy i dalu dwbl gostau. Gwthiodd un o'r gweision yn erbyn un o'r aelodau, a thraddododd y Llefarydd ef yn y fan i garchar, a dranoeth dygwyd ef o flaen y Ty, a chafodd ei geryddu yn llym; cynnygiwyd fod ei wallt hir i gael ei dori, cyn iddo gael ei ryddhau; ond safodd y Ty ar ei urddas: gwrthododd ymyraeth mewn peth mor ddibwys. Cododd aelod o'r enw Henry D'oyley, o Lincoln's Inn, i fyny yn sobr un boreu, a galwodd sylw y Ty at gabldraith gwarthus a gyhoeddwyd ar ol i'r Senedd gwrdd, dan y *title*—"Cymmanfa o Ffyliaid." "Yr wyf am i'r Argraffydd a'i hargraffodd gael ei ddwyn o flaen y Ty; y mae efe yn byw uwch law porth y Guild Hall." Synodd y Ty at y cyfryw gynnyg. Gofynodd y Llefarydd, "Ym mha le mae y llyfr? A phwy a'i gwelodd?" Atebodd, "Yn nwylaw Mr Henry Davies, ei Ysgrifenydd yn Lincoln's Inn; ond nid wyf yn gwybod ei enw." Gwysiwyd Mr. Davies a'i Ysgrifenydd, ond nid oedd y llyfr ddim ond llyfr i blant, ddim ond ffolineb a sothach. Nid oedd dim a fynai â'r Senedd. Gwnaeth Mr. D'oyley *sport* o hono ei hun yn y Ty.

Nid oedd nemawr o siaradwyr cyhoeddus yn y Ty yr amser yma. Cododd un Zachariah Locke i anerch y Ty; ond crynodd gan ofn, a thorodd i lawr. Nid oedd dim un llais annogaethol, safodd yn syn, ac eisteddodd i lawr yn ddiflas. Ar amserau pan oedd eu tymmerau yn wynias, codai ambell i aelod digofus, a gofynai am i'w wrthwynebydd gael ei wysio o flaen y Ty, i ateb am yr hyn a ddywedodd, ond ni roddai y Ty un gwrandawiad. Nid yn aml y clywid araeth o deirawr o hyd. Pan oedd un hen Ddoctor y Gyfraith yn eu hanerch, hochbooerai yr aelodau, o blegid ei fod yn siarad yn rhy hir ac isel, nes iddo dewi.

Yr oedd Ty y Cyffredin yn eiddigus dros eu rhagorfreintiau yn eu holl drafodaeth â Thy yr Arglwyddi. Os na fuasai i'r olaf blygu eu papyrau yn iawn, anfonent hwy yn ol; nid oeddynt yn foddlawn i dderbyn dim wedi ei ysgrifenu ar femrwn. Yr oedd Cecil yn ofalus iawn i gydnawseiddio urddas a rhyddid y Tŷ, â ffuantau uchel ei benadures, yr oedd yn cael ei wylied yn ofalus.

### CYFARTALEDD CREFYDDOL.

Cyfartaledd Crefyddol yw arwyddair cenadau hedd Cymdeithas y Dadgysylltiad yn awr; cydraddoldeb yw *war whoop* Mr. Henry Richard, Carvell Williams, Jones Felin Foel, a Heard, yr hwn a fu un amser yn weinidog Eglwysig, yr hwn a ymrwbiodd gymmaint yn y capeli, nes iddo fyned yno yn ei grynswth, a gwared da ar ei ol a phob cynlluniwr o'i fath. Derbyniad oeraidd y mae y cenadau hyn yn gael yn y rhan fwyaf o fanau; nid oes nemawr o'u cyfarfodydd yn terfynnu heb gythrwfl. Cafwyd prawf fod yr hyn sydd yn cael ei ddywedyd yn ammhoblogaidd, os nad yn anwireddus. Gall pleidwyr y gyfundrefn hon weled oddi wrth y

teimlad sydd yn eu herbyn, na fyn y wlad ddim o'u coegresymau. Ychydig ddyddiau yn ol, aeth Mr. Heard, yr *ex-reverend* Eglwysig, i Llaullieni, i ddysgu y bobl; ond prof-wyd fod angen am addysg ar Mr. Heard ei hun. Ni wnaeth ei ddarlith nemawr o les i addysgu y bobl yno. Cymmerodd cyfarfod o'r dirprwywyr Anghydffurfiol le yn ddiweddar, a methodd Mr. Henry Richard, pen-ymladdwr crefydd, adael y cyfleusdra i fyned heibio heb guro ei ordd fawr yn erbyn drws yr Eglwys; dywedodd fod yr Eglwys yn gwrthsefyll yr Ymneillduwyr ym mhob peth. A all Mr. Richard brofi fod yr Ymneillduwyr yn cael unrhyw gam oddi ar ddwylaw yr Eglwyswyr? Y mae yn wir fod yr Eglwyswyr yn penderfynu amddiffyn eu hunain yn erbyn ymosodiadau beiddgar y Gymdeithas i ba un y mae Mr. Richard yn perthyn. Cydraddoldeb gwleidyddol oedd yr Ymneillduwyr yn bloeddio am dano yn barhäus yn ystod y blynyddoedd sydd wedi myned heibio. Cawsant yr hyn oeddynt am dano, ond maent wedi newid eu trefniadau. Yn ddiweddar, cyn i'r Senedd gyfarfod, yr oeddynt yn siarad yn chwyddedig am ennill y Mesur Claddu; dadleuodd Mr. Henry Richard fod hawl gan yr Ymneillduwyr i gladdu eu meirw fel y gwelent yn dda, a bod y gwrthwynebiad yn tarddu yn uniongyrchol oddi wrth y personiaid. Ni fynent gladdedigaethau preifat, na chladdfëydd eu hunain, o herwydd y buasai iddynt trwy wneyd hyn roddi eu hawl i'r mynwentydd. Buont aflwyddiannus i gael meddiant o'r mynwentydd. Nid yw pleidwyr Cyfartaledd Crefyddol yn foddlawn i gyfran o freintiau secularaidd y Prif Ysgolion, ond y maent yn anfoddlawn i Offeiriaid ddal *Fellowships*, a bod yn benaethiaid yn y Colegau. Mor fuan ag y cawsant osod eu traed o fewn y Colegau, dechreuasant wthio eu cynlluniau er ad-drefnu y Colegau yn ol eu dull eu hunain; a buasai iddynt wneyd yr un peth pe buasai iddynt lwyddo i fyned i'r fynwent. Eu prif bwnc yw gwrthwynebu pob peth Eglwysig. Pan ddygwyd y mesur i'r Senedd i gael rhagor o Esgobion, gwrthwynebodd y Radicaliaid hannercrefyddol y mesur, er nad oedd mwy a fynai yr Ymneillduwyr â'r pwnc nag a fynai Archesgob Caergaint â galwad gweinidog i gapel Bethabara. Ni fydd dim cymmaint a dimmai o'u harian hwy i fyned i dalu cyflogau yr Esgobion newyddion. Dywedant mai lles yr Eglwys sydd ganddynt mewn golwg. Os dyma y fath gyfeillion i'r Eglwys yw yr Ymneillduwyr, gwareder ni rhag y fath gyfeillion; cyfeillgarwch Joab at Amasa: cydio yn ei farf i'w gusanu, a'r cledd dan ei bummed ais.

Nid yw y pregethwyr yn foddlawn i gael yr Eglwys a'r fynwent, ond mae yn debyg eu bod am gael meddiant o'r *game* sydd yn cael eu cadw ar dir personiaid. Ychydig ddyddiau yn ol, daliodd un o heddgeidwaid sir Fynwy bregethwr y Bedyddwyr yn herw-hela ar dir offeiriad Trelleck, Trefynwy; am y trosedd hwn cafodd ei ddirwyo yn y swm o ugain swllt gan yr ynadon. Wele gydraddoldeb i'r pen, cydraddoldeb ym mhob man, ac ym mhob peth; amser dedwydd fydd hwn, pan fydd hawl gan bregethwyr i fyned i hela i dir y person. Os yr oedd yr hen offeiriad yn arfer hela llwynogod, y mae pregethwyr yn herw-hela.

---

## FICER MORWENSTOW.

YCHYDIG fisoedd yn ol bu farw y Parch. Stephen Hawker, ficer Morwenstow, Cernyw. Yr oedd ef yn un o'r dynion rhyfeddaf yn ei oes; yr oedd yn gwisgo ei hun yn wahanol i bobl ereill; yr oedd yn arfer gwisgo yn yr un diwyg a Sant Teilo, meddai ef, a marchogai ar ful yn lle ceffyl. Bu fyw yn nhir breuddwydion. Nid oedd ef yn perthyn i'r oes hon, ond i'r Canoloesoedd tywyll ac ofergoelus.



mallet or hammer
His name was Robert Stephen Hawker

Yn fuan ar ol ei farwolaeth, synwyd ei gyfeillion wrth glywed iddo ar ei wely angeu ymuno ag Eglwys Rhufain. Y mae ei fwygraffydd, y Parch. S. Baring Gould, yn gwadu hyn. Twyll oedd y cwbl, bu farw yn y ffydd oedd ef yn broffesu trwy ei fywyd; Pabyddes yw ei *ail* wraig. Yr oedd plwyfolion Wellcombe yn anwybodus ac yn ofergoelus. Cyfranogodd Mr. Hawker o lawer o'u hofergoelion. Yr oedd yn credu chwedlau am reibio a rheibiaeth heb wneyd un ymchwiliad yn eu cylch. Os dygwyddai iddo gyfarfod â dyn â llygad crwn dysglaer, neu lygad â dwbl ganwyll a phŵl, neu un llygad yn fwy na'r llall, yr oedd yn arfer dal ei fawd a'i hirfys allan mewn dull neillduol i gadw effaith y llygad draw. Yr oedd yn siarad ar effeithau llygad drwg wrth gyfaill. Dywedod ei gydymaith, "A ydych chwi, Mr. Hawker, yn credu y fath ysbwriol yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg?" Trodd o amgylch a dywedodd yn sobr, "Nid wyf yn ystyried fy hun yn ddoethach na Gair Duw. Yr wyf yn cael fod golwg ddrwg yn cael ei gyfrif, gyda chabledd, balchder, a ffolineb, fel pethau sydd yn halogi dyn."

Yr oedd yn coleddu syniadau ofergoelus hynod am gylchoedd y Tylwyth Teg. Yr oedd un ar y twyn ger llaw y môr. Amryw flynyddoedd yn ol aeth boneddiges mewn cerbyd o Bude. Fel yr oeddent yn rhodio ar y glasdir, daethant am draws un o'r cylchoedd hyn. Pan oedd hi ar fyned i'r cylch attaliodd hi yn sydyn, "Gofalwch beidio rhoddi eich troed yn y cylch, os gwnewch hyn daw rhyw anffawd i gyfarfod â chwi." "Ffolineb, Mr. Hawker, nid dim ond bwyd y broga. Edrychwch, wele un," a chymmerodd ef yn ei llaw. Cyn pen wythnos yr oedd corff marw yn ei thy. Esgeulusoedd y rhybudd, a thyna fu y canlyniad. Cymmerodd dygwyddiad arall le, yr hyn a gadarnhaodd ei ofergoeledd.

Talodd curad Bridgerule a'i wraig ymweliad â Mr. Hawker, ac wrth rodio aethant am draws cylch y Tylwyth Teg, a rhoddodd y curad gic i un o'r —— er gwaethaf erfyniad Mr. Hawker, a rhoddodd ef yn llaw ei wraig. Ym mhen deg diwrnod derbyniodd Mr. Hawker lythyr torcalonus oddi wrth y wraig, boneddiges Wyddelig, yn dywedyd, "Pa ham na fuasem yn gwrando ar eich prophwydoliaeth? Ar ol i ni ddyfod yn ol i Bridgerule clafychodd ein Mari fach, ac mae hi yn awr yn ei bedd." Yr oedd ef yn aros yn nhy cyfaill: yn ddisymmwyth craciodd y bwrdd, neidiodd i fyny a rhoddodd ei law ar y bwrdd. "Cofiwch fy ngeiriau, y mae marwolaeth wedi dygwydd yn fy nheulu i." Derbyniodd lythyr gyda'r post nesaf fod Miss J'ans wedi marw.

Dygodd Mr. Hawker ddyn ieuanc o'r enw Risiart Andrews i fyny; ym mhen amser gwrthwynebodd Andrews y ficer i gael treth i adgyweirio yr Eglwys. Teimlodd y ficer i'r byw. Cododd ar ei draed, a'i lygaid yn fflachio, estynodd ei law dde allan a dywedodd mewn llais taranllyd, "Richard Andrews, y llaw hon a'th wnaeth, a 'nawr ti yw y cyntaf i godi'th sodlau i'm herbyn. Yr wyf yn appelio at Duw yn dy erbyn." Cerddodd at yr allor a thaflodd ei hun ar ei luniau o flaen yr allor. Aeth Richard Andrews adref o'r festri yn boeth a digofus. Clafychodd ac yr oedd yn gorff cyn pen wythnos. Adeiliadodd ei dad dy iddo ei hun yn y pentref cyfagos. Aeth i'w dy newydd, ac o fewn deng niwrnod bu yntau farw fel llygoden.

Yr oedd marwolaeth neu anffodion yn sicr o ganlyn pwy bynag a wrthwynbau ei gynlluniau daionus. Yr oedd yn arfer dywedyd yn sobr, "Nid myfi maent yn wrthwynebu, ond yr Eglwys. Bydd iddynt syrthio ar y maen hwnw, a bydd iddo eu malu yn lludw." Yr oedd yn credu mai yr Eglwys yw teyrnas nefoedd; na fydd i un offeryn lwyddo yn ei herbyn. Yr oedd yn arfer

dywedyd, "Dyna addewid Duw i'w Eglwys. Yr wyf wedi gweled ei addewidion yn cael eu cyflawnu drosodd a throsodd. Yr wyf yn gwybod nad yw Duw yn gelwyddog. Edrychwch ar ymosodiadau Mr. M—l yn y Senedd, a thrwy'r wlad i gyffroi meddyliau y bobl er dadymchwelyd yr Eglwys: er hyn y mae hi yn llwyddo." "Fy nghyfaill," meddai y ficer, gan roddi ei law ar ei fraich, "nid yw Duw yn talu cyflogau yn wastad nos Sadwrn."

Pan wnawd cynnyg i gymmeryd Ffynnon St. Ioan oddi arno yn 1843, yr oedd yn myned dair gwaith bob dydd yn y Garawys i'r Eglwys hyd y 27fed o Fawrth, tra oedd y treial yn myned ym mlaen, i offrwm gweddi neillduol. Methwyd cymmeryd y ffynnon oddi arno.

Pan yn blentyn yr oedd yn hynod am ei gastiau. Yr oedd ef yn ŵyr i'r Dr. Hawker, awdwr yr hymn adnabyddus, "Arglwydd, gollwng dan dy fendith," &c., ac yr oedd wedi etifeddu ei hynodion, ei haelfrydedd, a'i alluoedd. Anfonodd ei dad eu Robert i Ysgol Ramadegol Liskeard, ac yr oedd yn arfer treulio ei wyliau yn Stratton. Yn Stratton yr oedd ef yn boen i hen siopwr, yr hwn oedd yn gwerthu tipyn o bob peth. Un diwrnod aeth i'r ty yn lledradaidd, a chafodd ddarn o gig dafad yn rhostio o flaen tân. Cymmerodd y cig i lawr, gosododd ef i fyny yn y siop, a gosododd bwys o ganwyllau i rostio yn ei le. Un noswaith aeth i 'stabl y llawfeddyg, torodd gynffon y ceffyl, a phaentiodd ef yr un lliw a'r Zebra: ar ol hyny afonodd genad at y meddyg i ofyn iddo fyned yn ddioedd i dy o gryn bellder. Gorfu i'r meddyg gyfrwyo ei geffyl fel yr oedd, a charlamu tuag yno gan feddwl nad oedd ganddo ddim amser i lanhau y lliwiau allan. Gadawodd Liskeard ac aeth i Ysgol Ramadegol Cheltenham, a symmudodd oddi yno i Goleg Penfro, Rhydychain. Nid oedd ei dad ddim ond curad tlawd ac analluog i'w gynnal yn y Brifysgol. Yr oedd Robert yn penderfynu gorphen ei gwrs yno; ond yr oedd Mrs. Hodgson, ei fodryb, wedi marw; a phan aeth ef adref i Stratton (1824) dywedodd ei dad wrtho fod yn beth ammhosibl iddo ef ei anfon yn ol. Gan ei fod wedi gwneyd ei feddwl i orphen ei amser yno, cymmerodd y llwybr canlynol i gael arian. Yr oedd pedair boneddiges, merched y Mil. J'ans, yn byw yn Whitstone, yn agos i Holdsworthy. Gadawodd eu tad 200p. yr un iddynt heb law ty a thiroedd. Pan hysbysodd Mr. Jacob Hawker i'w fab nad oedd yn alluog i'w anfon yn ol, yr oedd y boneddigesau hyn yn byw mewn fferm oedd yn perthyn i Syr Thomas Ackland, yn Elford, yn agos i Bude. Pan ddeallodd Robert ei bod hi ar ben arno, rhedodd heb un het o Stratton i Bude a chynnygiodd briodi Miss Charlotte J'ans, yr hon oedd yn 41 mlwydd oed, ei fam bedydd, a hi ddysgodd lythyrenau yr egwyddor iddo. Addawodd Miss J'ans ei briodi, a chymmerodd y briodas le ym mis Tachwedd, pan oedd ef yn ugain oed. Treuliodd Robert S. Hawker a'i wraig ei mis mêl yn Coombe Cottage, Morwenstow. O'r amser hwnw daeth ef yn hoff o'r lle, a phan gynnygiodd yr Esgob Philpotts y ficeriaeth iddo, yn 1834, derbyniodd hi yn llawen. Methodd dreulio ei fis mêl heb chwareu ei gampau a'i gastiau. Talodd Syr William Cole a'i frawd George ymweliad ag ef. Nid oedd Syr William yn credu mewn ysbrydion, &c., a chymmerodd dadl rhyngddynt pan oeddent yn myned adref y noswaith hòno. Aeth Hawker trwy'r coed i'w cyfarfod wedi gwisgo ei hun mewn cynfas wen, ar yr hon yr oedd brandi a halen. Llosgodd y brandi, yr hwn o roddodd liw dychrynllyd ar Hawker. Dychrynwyd y ddau yn gymmaint nes iddynt fethu symmud na llefain: wedi rhoddi ebychiad annaiarol, enciliodd Hawker o'r golwg. Ym mhen blwyddyn ar ol hyn cododd Hawker a chyfaill iddo cyn dydd un boreu a

gollyngasant holl foch Boscastle allan o'r cytiau, ac ni fu erioed y fath y 'stŵr yn y lle.

Yr oedd yn arfer adrodd stori arall. Yr oedd hen wraig weddw o'r enw Nansi Heale yn byw mewn bwthyn wedi cael ei doi â phorfa. Yr oedd Nansi yn cael ei galw yn *witch*. Un noswaith, dringodd Hawker i fyny i'r simnai, a gwelodd yr hen wrach yn eistedd wrth dân mawn, a chrochan a phytatws yn hongian wrth y bachau, gollyngodd Hawker raff â bach wrthi i lawr, a chododd y crochan yn grynswth i fyny y simnai heb dynu sylw Nansi, nes oedd bron â myned o'r golwg. Edrychodd i fyny a gwaedd-odd, "Meistr, ar fy enaid pechadurus i, yr wyt ti wedi myned â'r tatws a'r cyfan." Cymmerodd y crochan â'r tatws a gosododd ef wrth y drws, a rhoddodd ergyd i'r olaf. Aeth yr hen fenyw allan. "Ho! ho!" ebai hi, "yr wyt ti wedi d'od yn ol; y mae hi yn oer allan." Pan glywodd yr awdurdodau plwyfol am yr helynt, daethant i'r penderfyniad fod Nansi yn orphwyllog, a rhoddwyd swllt arall o dreth iddi.

(*I'w barhau.*)

———

## Y MILFLWYDDIANT AR WAWRIO.

*Dai.* Pa fodd yr ydwyt ti, Ned, yn teimlo dy hun heddyw.

*Ned.* Yn bur dda a hwylus; diolch yn fawr i ti, Dai, am ofyn fy hynt i; ond a oes genyt ti eto unrhyw reswm i'w ddwyn ym mlaen i ddangos fod yr Ymneillduwyr am brysuro y Milflwyddiant drwy ymuno â'r Eglwys Lân Gatholig, fel na byddo ond un gorlan ac un bugail?

*Dai.* Oes, laweroedd, Ned, a dyma i ti y trydydd, sef y teitl *clergy* neu *clergymen*, yr hwn sydd yn deilliaw neu yn tarddu o'r sylweddair Groeg κληροσ, hyny yw, "rhan neu etifeddiaeth yr Arglwydd," fel ag yr oedd llwyth Lefi yn cael ei ystyried dan yr hen oruchwyliaeth; a dywed Eden yn ei *Churchman's Theological Dictionary* mai "yr offeiriaid a'r esgobion, a hwy yn unig, sydd yn cyfansoddi y *clergy* yn yr Eglwys Seisonig," ac yn yr Eglwys Gymreig hefyd, bid siwr, canys yr un ydynt.

*Ned.* Rho wybod, Dai, a oes y fath eondra, digywilydd-dra, haerllugrwydd, hyny yw, *impertinence*, yn y Jackach bach yna, a galw eu hunain yn *glergy* neu *glergymen?*

*Dai.* Oes yn wir y mae, Ned, a llawer mwy, fel y cei di glywed yn ol llaw; canys yr ydwyf wedi darllen yn y *South Wales Daily News*, a phapyrau ymneillduol Seisonig ereill, eu bod yn cael eu teitlo felly. Er enghraifft, dywedir am danynt mewn cyngherddau a thê *parties*, "*Our clergy addressed the audience in the most humorous, telling, and edifying speeches.*" *Query.*

*Ned.* Wel, Wel! *what next, my dear David* anwyl? Ond y mae yn rhaid i mi beidio afradu fy Seisoneg, rhag ofn y bydd mwy o'i angen yn ol llaw. Ond, Dai, rho wybod i mi, pa reswm neu resymau wyt ti yn roddi dros y fath gyssegr-ysbeiliad a hyn?

*Dai*, Mi a roddaf i ti, Ned, dri neu bedwar o resymau. 1. Y mae y *title Clergy*, ti wyddost ti, Ned, yn ranko yn uchel iawn, ïe, yr uchaf o'r holl ditlau llenol neu leygol yw; canys ti a weli y rhan fynychaf, mewn hysbysiadau yn y Newyddiaduron, fel hyn—"*To the Clergy, Gentry, and Nobility,*" a dyna un rheswm dros hyny, canys y maent, pe gallent, am gymmeryd eu safle ym mhlith y gwŷr mawrion—yr *Aristocrats* yma. Ond, *no go*, Ned, "*Jack shall not be as good as his master.*"

*Ned. Well done*, Dai; *is indeed, and very good, upon my word.*

*Dai.* 2. Ti a wyddost, Ned, taw y gwŷr boneddigion sydd yn eistedd ar y fainc farnol, *Judicial bench*, a hwy yw yr Ynadon heddwch, neu, mewn iaith fwy sathredig a dealladwy i ti,

Ned, ddyn unieithawg, hwy ydynt y "*Justices of the peace;*" a thi a wyddost hefyd, Ned, fod llawer iawn o'r Offeiriaid yn "Ynadon heddwch," a pha ham lai? canys y mae, neu o'r hyn leiaf, fe ddylai fod ynddynt, ar y naill law, gymmaint o foneddigeiddrwydd, tynerwch, a chydymdeimlad â'r troseddwyr, ac, ar y llaw arall, gymmaint o ammhleidgarwch, cydwybodolrwydd a chyfiawnder ag sydd yn ofynol ac angenrheidiol i weinyddu unrhyw gyfraith wladol yn iawn a dyladwy. Ond a glywaist ti erioed, Ned, fod yr un o'r *Jack-a-dandos* yna wedi ei wneyd yn Ynad heddwch—yn *Justice?*

*Ned.* Naddo, ddim erioed, Dai, a gwae y dydd y gwneir yr un o honynt, canys yna, "Y gwana' gwaedded, a'r trecha' treisied," fydd hi, yn ol yr hen ddiareb; ac heb law hyny, ochr, ffafr, a phleidgarwch fyddai yn teyrnasu ac yn llywodraethu, fel bron ym mhob peth arall. Y Methodistiaid yn ochr i'w plaid; yr Independiaid yn ochr i'w plaid; y Wesleyaid yn ochr i'w plaid; a'r Baptists yn ochr i'w plaid. "Μὴ γένοιτο," *that such a thing should ever take place in this sea-girt Island.*

*Dai.* 3. Am y carai y rhan luosocaf o lawer o'r Ymneillduwyr, yn gynnulleidfaoedd a phregethwyr, ddyfod yn ol i Hen Eglwys eu tadau a'u mamau, pe gallent.

*Ned.* A oes genyt ti, Dai, unrhyw sail dros ddywedyd hyn, neu ddywedyd rhywbeth wyt ti?

*Dai.* Oes, y mae genyf ffeithiau dros ddywedyd hyn, ond *facts, as you know,* Ned, *are stubborn things.* Gyda golwg ar y cynnulleidfaol, 1. y maent yn dywedyd wrthyf fod pump o bob deg wedi troi oddi wrthynt at y[illegible] Eglwys, yn ystod yr hanner can mly[illegible] diweddaf, drwy yr holl deyrnas[illegible], a lluosogi mae y nifer o hyd[illegible] Ned anwyl, pa faint o honyn[illegible]han fwyaf yn ddiaconiaid, n[illegible] lordiaid y Capeli,) sydd yn dwyn i fyny eu plant yn offeiriaid yn Eglwys Lloegr, ac y mae Sir Aberteifi yn hynod ac yn ddiarebol am hyn,—"Mochyn ac Offeiriad ym mhob ty," yw yr hen ddiareb, ac nid yw ym mhell o fod yn wir, canys mi a wn am ugeiniau sydd wedi eu codi felly o bryd i bryd, ond nid yw yr Offeiriaid ddim gwaeth o ran hyny, am a wn i; ond y mae hyn yn dangos i mi yn eglur fod yr Ymneillduwyr yn llwyr gredu taw hi yw yr Hen Fam, ac er na ddônt hwy eu hunain fel corff o grefyddwyr ddim yn ol iddi, eto, eu bod yn palmantu y ffordd i'w plant, eu hwyrion, eu gorwyrion, ac yn y diwedd ddyfod yn ol i sugno llaeth iachus bronau yr Hen Eglwys. A chyda golwg ar y pregethwyr, meddylia, Ned, am gymmaint sydd wedi troi o blith pob enwad at yr Eglwys, ac y mae genyf gof bywiog i mi, â'r clustiau hyn, glywed Dr. Thirlwall, Esgob diweddar Ty Ddewi ("*requiescat in pace*"), yn dywedyd fod ganddo yn ei feddiant dros dri chant o lythyrau oddi wrth wahanol bregethwyr, yn ymgeisio am urddau sanctaidd a chyssegredig yn yr Eglwys. Yr wyf yn cofio clywed un Offeiriad geirwir yn tystio iddo glywed Dr. Oliphant, Esgob presennol Llandaf, yn adrodd wrtho ef ac ereill ei fod lawer gwaith yn ei lyfrgell, i fyny i'w grymogau mewn llythyrau a dderbyniasai oddi wrth bregethwyr i'r un perwyl.

*Ned.* Nid wyf yn gwadu y ffeithiau hyn o gwbl; ond, er's llawer dydd, dyweda, ugain mlynedd yn ol, fwy neu lai, y cymmerodd hyna le, ac nid yn awr.

*Dai.* Megys yr oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac y bydd yn wastad, hyd nes y delont oll yn ol i fynwes yr Hen Fam, yr hon a all yn awr gwyno, fel ag y cwynodd Duw gynt am genedl Israel, "Megais a meithrinais feibion, a hwy a wrthryfelasant i'm herbyn."

*Ned.* A glywaist ti, Dai, am ryw un yn ddiweddar wedi troi, canys, os deui di ag un enghraifft ym mlaen, mi

to stifle or brother to choke

 kneading trough

a'th gredaf di yn y fan, o blegid mai dyn geirwir yr ydwyf fi wedi dy brofi di erioed, Dai.

*Dai.* Deuaf, mi a ddeuaf ag un yn ddiweddar iawn; a pherthyn i ba enwad yr wyt ti, Ned, yn feddwl y mae efe?

*Ned.* Na wn i yn wir, Dai bach, ac nid wyf fi yn ystyried fod llawer iawn o wahaniaeth rhyngddynt, megys ag y dywed yr hen ddiareb,—"Brawd mogi yw tagu," neu, "*six of one, and half a dozen of the other.*"

*Dai.* Wel ynte, mi dd'wedaf wrthyt ti, Ned, taw un o wŷr y droch oedd efe.

*Ned.* Paid â chellwair, Dai, y mae yn ammhosibl, canys pe bai yn Wesleyad, neu yn Fethodist, neu yn Independiad, neu yn *Roman Catholic*, buasai yn hawdd iawn genyf dy gredu ar dy air cyntaf; ond, am Faptist, un o'r sect sydd yn credu ac yn haeru nad aiff neb i'r nefoedd byth oni chaiff ei drochi dros ei ben, ei draed, a'i gynffon, fel dwrgi dan y dwr; yr wyf bron â bod yn Domos—yn anghredadyn yng nghylch y ffaith hon.

*Dai.* Yr wyt ti yn llygad dy le gyda dy olwg ar eu dull hwy o fedyddio y deiliaid, canys rhaid trochi yr holl gorff o dan y dwr, neu ynte ni fydd y rhan neu y rhanau hyny a fyddant uwch law iddo ddim yn lân yn y byd hwn, na chwaith yn yr hwn a ddaw, yr hyn sydd yn fy adgofio i o hanesyn bach bychan, am un hen wr o'r enw Shon Shencyn, ym mhlwyf Nefern, yn swydd Benfro, yr hwn yntau oedd yn Drochwr o'r iawn *stamp* o ran ei gredo drochaidd; ond heb erioed wedi ei drochi mewn gweithred a gwirionedd. Heneiddiodd a chlafychodd Shon, druan, ac, yn awr, fel llawer o'i fath, dechreuodd weled a theimlo y priodoldeb a'r angenrheidrwydd o wneuthur proffes gyhoeddus o grefydd, drwy gael ei drochi o dan y dwr; ond gwaetha'r modd, dygwyddodd hyn yn nhrymder y gauaf du, pan oedd y ddaiar wedi ei chlymu i fyny â rhwymyn o rew oer, a'i gwisgo mewn mantell wen o eira mân, fel ag yr oedd yn beryglus iawn i'w fedyddio mewn dwfr oer yn yr afon; ond, wedi i'r pregethwr a'r diaconiaid fwrw eu penau yng nghyd am ysbaid o amser, daethant i'r penderfyniad o fenthyca cafn tylino gan ryw gymmydog ag oedd yn byw ger llaw, a chlauaru y dwr ar y tân, a'i ddodi yn y noe, a dodi Shon, druan ag ef, ar asgwrn ei gefn. yn y dwr clauar yma yn y nos, ond yn anffodus dros ben; dygwyddodd fod y noe yn rhy fer i Shon, chwech troedfedd o hyd, orwedd yn ei *full length* ynddi, a gorfu arno druan, dynu ei draed ato, fel ag yr oedd ei benliniau yn sychion, yn noethion, ac yn y golwg uwch law y dwr, yr hwn anffawd a barodd i ryw hen walch o fardd ag oedd yn trigo ger llaw, gyfansoddi y pennill canlynol, fel coffadwriaeth dragwyddol am hyn,—

"Rhyfeddod gwel'd Shon Shencyn,
Gwr egwan fel fy hun,
'N cael yn y noe ei drochi,
Oll ond ei ddwy benlin;
Rhyfeddach fydd ei weled,
Yn y Gaersalem fry,
Ei gorff yn wyn fel eira,
A'i ddwy benlin yn ddu."

*Ned.* Ni chredaf fi ddim eto yn fy myw, i Drochwr droi i'r Eglwys. "*Credat Judæus.*"

*Dai.* Creda di neu beidio, Ned bach, ni'm dawr i, ond mor wir a'n bod yn ddynion byw bedyddiedig, ac yn ddynion gwynion ein croen, mor wir a hyny ydyw yr hanes, medda nhw; ac i'r dyben o'th argyhoeddi ym mhellach, ac yn llwyr ar y pwnc hwn, mi a ddyfynaf yn "*literatim et verbatim*," o'r *Leomington Spa Courier*, un enghraifft o hyn, a dyma fe, "*The 'Noncorformist' announces that the Rev. T. G. Swindill, who, for the last two years, has been the pastor of Sansomewalk Baptist Ch[illegible] Worcester, has intimated his resi[illegible] of his office as minister, and hi[illegible]tion of of joining the ministry of the Church of England. In a very short statement,*

*he gives as his chief reason for so doing,—'Having come to see that, as infants are within the compass of salvation, baptism, the sign and pledge of this fact, cannot be denied them.' Mr. Swindill was formerly of Windsor and Regent's Park College.*"

*Ned.* *Well done again*, Dai, dyna beth ydyw *a stubborn fact, indeed*, a thro yn ei le oedd hefyd, er ef allai y dywed gwŷr y dwr ac ereill hefyd, fod Mr. Swindill wedi troi yn *swindler*, canys, pan y mae y pregethwyr gyda nhw, y maent yn bob peth,—yn seintiau, yn angylion, ac yn dduwiau bychain; ond, pan unwaith y troant eu cefnau ar y gwersyll Ymneillduol, y maent yn llai na dim—sorod, sothach, a gwehilion y bobl ydynt, ac yna, dechreuant hogi eu cleddyfau, blaenllymu eu saethau, a *chargo* eu magnelau yn erbyn yr Eglwys, am eu derbyn i'w "mynwes gynhes glyd." Ond y mae yn dda dros ben genyf ddywedyd wrthyt, Ned bach anwyl i, taw cleddyfau plwm ydynt; taw saethau brwyn ydynt; a thaw magnelau *popguns* ydynt. Cŵn yn cyfarth ar y lleuad pan y byddo yn llawn, a chadnoaid yn dywedyd am y grawnsypiau, taw surion ynt, am nas gallant eu cyrhaedd. O! y mae'r Eglwys, Ned, trwy y deyrnas a'r byd yn lluosogi, ac yn casglu adgyfnerthion yn feunyddiol, nes y bydd ym mhen ychydig bach o flynyddyddoedd eto yn ddigon nerthol i hyrddio Ymneillduaeth yn bendramwnwgl, din-ben dros-ben, blith draphlith, strim, stram, strellach, i wlad yr ebargofiant tragwyddol. Amen.

SYLWEDYDD SALA' YDYW.

---

## ADGYFODIAD AC ESGYNIAD CRIST.

CRIST sydd fyw!
A mwy nid yw
Angeu heddyw
  Yn ofnadwy;
Eir rhag llaw
I'r bedd heb fraw,
Byw tu draw
  Sydd gyrhaeddadwy.

Er i gledd
Llym selio'r bedd,
Cafwyd allwedd
  Gwaredigaeth;
Satan syrth
O flaen y wyrth,
Agor pyrth
  Anllygredigaeth.

Iesu byw!
Ein Pasc ni yw,
Dylem heddyw
  Orfoleddu,
Dan y Groes,
Yn bur ein moes
Boed ein hoes
  Yn ymddiweddu.

Iesu byw!
Annichon yw
Gwneuthur unrhyw
  Ymysgariad;
Byth yn lân,
Nid dwr na thân
A'n gwahân
  Oddi wrth dy gariad.

Iesu byw!
Ei haeddiant yw
Gorsedd heddyw
  Uwch breninoedd;
Ninnau awn
I'w deyrnas lawn,
Gorphwys gawn
  Uwch law dryghinoedd.

*Cyf.* GLANMOR.

---

## CYFARWYDDIADAU I DDEALL CYNNWYSIAD AC AMCAN LLYFRAU YR HEN DESTAMENT.

(*Parhâd o dudal.* 273, *Medi*, 1875.)

### Y CYFNOD RHWNG YR HEN DESTAMENT A'R NEWYDD.

AR ol marwolaeth Nehemïah, C.C. 415, ni ddanfonodd y Persiaid lywydd arall i lenwi ei le, ond gwnaed Iwdea yn gyfran o dalaeth Cœle-Syria, ac ymddiriedwyd am ei llywodraeth i'r archoffeiriad, dan oruchwylygiad llywyddion y dalaeth. Darfu i un o'r archoffeiriaid hyn, â'i enw Ionathan, ladd ei frawd Iesus, allan o genfigen, am fod ganddo fwy o ddylanwad gyda Bagozes, y llywydd Persiaidd, nag oedd ganddo ef ei hun, a'i fod yn ofni y gosodid ef ganddo yn yr archoffeiriadaeth. Daeth Bagozes

ar hyn mewn llid mawr i Ierwsalem, a cheisiodd ymwthio i mewn i'r cyssegr sancteiddiolaf, ond gwrthwynebwyd ef yn wrol yn hyn gan yr offeiriaid, am ba achos efe a ymddïalodd yn dost arnynt, ac a osododd dreth drom ar yr ŵyn a offrymwyd yn y poeth ebyrth. Yn eu hawydd i ymryddhau o'r cyflwr cas hwn, ymddengys i'r Iuddewon gydfwriadu, mewn cyssylltiad â thaleithiau Phœnicia a'r Aipht, i fwrw ymaith yr iau Bersiaidd; ond methasant, o blegid daeth Ochus, brenin Persia, â llu mawr yn eu herbyn, ac a warchaeodd ar Iericho, a chan gludo ymaith luaws o gaethion, efe a symmudodd rai o honynt i'r Aipht a'r lleill i Hyrcania, ym mharthau y gogledd. Dan ofn y fath driniaeth eilwaith, gwrthododd yr Iuddewon gydweithredu ag Alexander Fawr pan gododd efe yn erbyn Persia, ac yntau, mewn dig o herwydd hyny, a benderfynodd dalu'r pwyth iddynt. Pan ddaeth yn agos i Ierwsalem cyfarfyddodd Iaddua, yr archoffeiriad, a'r holl offeiriaid ereill yn dyfod yn eu gwisgoedd offeiriadol yn un gosgordd fawr ar ei gyfer; ond yn lle ymddïal yn greulawn arnynt, fel y dysgwyliai ei gyfeillion, Alexander, gan ymostwng yn barchus ger bron yr archoffeiriad, a addolodd Enw mawr DUW oedd ysgrifenedig ar ei dalcen, ac er mawr syndod i'w gyfeillion dywedodd wrthynt ei fod er ys talm, pan oedd yn Macedonia, wedi breuddwydio iddo weled gwr wedi ei wisgo yn gymhwys fel hyn, ac iddo ei wahodd i ddyfod i Asia, ac addaw rhoddi teyrnas Persia yn ei feddiant. Wedi hyny efe a aeth i mewn i'r Deml, ac a offrymodd aberth wrth gyfarwyddyd yr archoffeiriad. Yna dangoswyd iddo brophwydoliaeth Daniel, y deuai Groegwr i ddifetha'r Persiaid, ac yntau, gan lawen goelio mai efe oedd y gwr, a ganiataodd i'r Iuddewon y cwbl a ddymunent, sef rhyddid i ddilyn eu cyfreithiau dinesig eu hunain, rhyddhâd oddi wrth bob treth bob seithfed blwyddyn, a chenad i'w brodyr yn Babilon a Media gadw eu hen ddeddfau. Heb law hyny gwahoddodd y neb a fynai o honynt i ddyfod a chyfranogi o'i helyntion a'i lwyddiant ef ei hun.

Ym mhlith y rhai a hawlient y breintiau hyn oedd y Samariaid, ar y tir eu bod yn hanu o lwythau Ephraim a Manasseh, a'u bod yn cadw y flwyddyn Sabbathol. Ond eu gwir hanes oedd fel y canlyn:—Ar ol i Salmaneser gaethgludo y gweddillion o'r Israeliaid allan o'u gwlad eu hunain i Assyria (2 Bren. xvii. 23), Esarhaddon, brenin Assyria, a ddug bobl o Babilon, ac o Cutha, ac o Afa, o Hamath hefyd, ac o Sepharfaim, ac a'u cyfleodd hwynt yn ninasoedd Samaria yn lle meibion Israel, adn. 24. Eilunaddolwyr oedd y trigolion newydd hyn, a chan fod y tir eisoes wedi ei feddiannu i raddau helaeth gan fwystfilod gwylltion, gyrasant at frenin Assyria i hysbysu eu cyflwr truenus; ac yntau a anfonodd yn ol atynt un o'r offeiriaid a gaethgludwyd i ddysgu iddynt "ddefod Duw y wlad." Felly y Cenedloedd hyn oedd yn ofni'r Arglwydd *ac* yn gwasanaethu eu delwau cerfiedig" (2 Bren. xvii. 41), ac ni fynai yr Iuddewon ddim cyfeillach â'u harferion llygredig, yr hyn a barodd genfigen a gelyniaeth cas rhwng y ddwy genedl, fel yr amlygwyd ar ail adeiladaeth y Deml. Wedi eu gwrthod fel hyn, cafodd un Manasseh, gwr o deulu offeiriadol, a yrwyd allan o Ierwsalem gan Nehemïah o herwydd ei briodas anghyfreithlawn, genad gan frenin Persia i adeiladu Teml ar fynydd Gerisim, lle'r offryment eu haberthau, ac y cyflwynent eu gweddïau, ac y darllenent yr unig Ysgrythyrau oedd ganddynt, sef copi o Bum Llyfr Moses.

Ar farwolaeth Alexander, yn y flwyddyn C.C. 223, rhanodd ei gapteniaid ei deyrnas eang rhyngddynt eu hunain. Cafodd Antigonus Asia,

a Seleucus Babilon a'i chyffiniau; dygwyddodd Macedonia i Cassander, a'r Aipht i Ptolemeus, mab Lagos. Yn sefyll yn union ar y ffordd rhwng Syria a'r Aipht, aeth cyflwr Iwdea yn druenus iawn, gan ei bod yn agored i ymgyrchiau parhäus y naill blaid a'r llall; ar y cyntaf syrthiodd i afael Laomedon, llywydd Syria, ond wedi hyny ennillwyd hi trwy ddichell gan Ptolemeus, a gyfenwid Soter, yr hwn, dan esgus o offrymu aberth, a ddaeth i Ierwsalem, ac a ymosododd ar y ddinas ar y dydd Sabbath, pryd nad oedd yr Iuddewon yn dysgwyl dim drwg, yn y fl. C.C. 320. Ymddygodd yn dost iawn tuag at y trigolion, a chludodd ymaith ryw gan mil o honynt i'r Aipht; ond wedi hyny newidiodd ei feddwl, ac adnewyddodd drachefn yr holl freintiau a roddwyd iddynt gan Alexander; ychwanegodd hefyd atynt rai ereill o'i eiddo ei hun, ac yn fwy neillduol annogodd hwy i ymsefydlu yn ei brifddinas newydd Alexandria. Yn y fl. C.C. 312, syrthiodd Iwdea i ddwylaw Antigonus, llywydd Syria, ond ar ei farwolaeth ef yn y fl. 302, daeth eilwaith i feddiant Ptolemeus, yr hwn a ennillodd serch yr Iuddewon o herwydd ei gyfiawnder a'i garedigrwydd tuag atynt.

Yr archoffeiriad y pryd hwn oedd Simon, a gyfenwid Y Cyfiawn, gwr da a gwladgarol, yr hwn a adgyweiriodd y Deml a muriau y ddinas; ac sydd hefyd yn haeddu ei gofio am iddo orphen Canon neu restr awdurdodedig llyfrau yr Hen Destament, trwy chwanegu at y llyfrau ereill eiddynt Esra, Nehemïah, y Croniclau, Esther, a Malachi. Simon oedd yr archoffeiriad diweddaf a lywyddodd y Sanhedrim neu Gyngor Mawr y genedl, a chanlynwyd ef yn y swydd hòno gan Antigonus Sochæus, gwr duwiol-frydig a dysgedig, yr hwn a athrawiaethai y dylid gwasanaethu Duw o wir gariad ac nid er mwyn elw neu ofn cospedigaeth. Ond camddeallwyd ei feddwl gan rai a wyrdroisant ei egwyddorion, yn enwedig gan un Sadoc, yr hwn a aeth yn sylfaenydd sect anghrediniol y Saduceaid

Ar farwolaeth Ptolemeus Lagos yn y fl. C.C. 285, dilynwyd ef ar yr orsedd gan ei fab Ptolemeus Philadelphos, yr hwn a hynododd ei hun fel noddwr dysgeidiaeth a dynion dysgedig, a than ei nawdd ef y cyfieithwyd Ysgrythyrau yr Hen Destament allan o'r Hebraeg i'r iaith Roeg, gan ddeuddeg a thri ugain o Iuddewon dyfndysg. O herwydd eu rhifedi gelwid eu cyfieithad "Y *Septuagint*," yr hwn gyfieithad sydd wedi bod o'r lles mwyaf at ledaenu gwybodaeth am Dduw, ac a fu yn achos, y mae yn debyg, pa ham yr oedd lluaws mor fawr o'r Iuddewon a'r proselytiaid mor barod i gredu yn yr Arglwydd Iesu ar ddydd mawr y Pentecost.

Yn yr ymrafaelion rhwng breninoedd Syria a'r Aipht a grybwyllwyd am danynt gan Daniel (xi. 6—29), rhaid bod Iwdea yn gorfod dyoddef cryn lawer oddi wrth y naill blaid a'r llall. Un tro darfu i Onias, yr archoffeiriad, attal, mewn cybydddod, yr ugain talent o arian a delid fel treth i Ptolemeus Euergetes, brenin yr Aipht, ac yntau a fygythiodd anfon ei fyddin a chymmeryd meddiant o'r wlad; ond tröwyd ymaith ei lid trwy gymmwynasgarwch Ioseph, nai yr archoffeiriad, yr hwn a fenthyciodd yr arian, ac a'u talodd ar ei draul ei hun. Tro arall, un Simon, goruchwyliwr y Deml, wedi ymrafaelio o hono ag Onias, a aeth at Apolonius, rhaglaw Cœlo-Syria, ac a fynegodd iddo fod trysor anfeidrol yn y Deml, ac yntau a hysbysodd y peth i Seleucus y brenin, yr hwn yn ddioed a ddanfonodd Heliodorus, ei drysorydd, i'w dwyn oddi yno. Ond pan aeth i mewn i'r Deml, cafodd Heliodorus ei daro gan angylion a'i ddwyn allan yn hanner marw; ac ar ei adferiad, trwy weddi Onias, efe a gydnabu allu Duw a sancteiddrwydd y Deml.

Dilynwyd Seleucus ar orsedd Syria gan Antiochus Epiphanes, yr hwn, trwy lwgr-wobrwyaeth, a osododd Iason yn archoffeiriad, ond cafodd Iason ei ddisodli gan Menelaus; yr hwn a anfonasid i dalu'r arian i'r brenin, ond trwy addaw rhoddi iddo lawer mwy, a gafodd y swydd iddo ei hun. Esgeulusodd Menelaus gyflawnu ei addewid, a daeth Antiochus yn erbyn Ierwsalem, C.C. 170; anrheithiodd y ddinas, ysbeiliodd y Deml, dinystriodd ddeugain mil o'r trigolion, a gwerthodd gymmaint arall yn gaethion. Ceisiodd hefyd ddiddymu addoliad Duw trwy orchymmyn i bob cenedl dan ei lywodraeth gadw yr un ffordd o addoliad, a phroffesu'r un grefydd a'r Groegiaid, a hyny dan gosp marwolaeth. Ond yn hytrach nag aberthu fel hyn i eilunod, dewisodd llawer o'r Iuddewon ddyoddef y poenau creulonaf, ac yn eu plith Matathias yr offeiriad a'i bum mab, yr enwocaf o ba rai oedd Iwdas Maccabëus, yr hwn a aeth yn arweinydd i'r blaid ragorol hòno a geisiodd waredu y wlad a'i glanhau oddi wrth y ffieidd-dra a wnaethid ynddi. Gorchfygodd yn gyntaf Apolonius (llywodraethwr Samaria) a'i lu, yn nesaf Seron, tywysog Syria, ac wedi hyny llu'r Assyriaid ddwy waith; yna purodd y Deml, ac a'i gosododd mewn trefn ar ol bod am dair blynedd yn anghyfannedd, C.C. 165. Pedair blynedd ar ol hyn danfonodd Demetrius Soter, mab Seleucus, lu mawr dan arweiniad Nicanor yn erbyn Iwdas Maccabëus, a chollodd Nicanor ei fywyd yn y cais; ond pan ddaeth Bacchides wedi hyny â llu o ugain mil, ac i Iwdas heb ond wyth cant o wŷr ganddo, anturio ei wrthsefyll, cafodd Iwdas ei ladd. Ar ei ol ef dewiswyd Ionathan ei frawd i fod yn ben llywydd, ac yntau a wnaeth yr ammod gyntaf a wyddys fod erioed rhwng yr Iuddewon a'r Rhufeiniaid. Wedi hyny gyrodd ymaith Bacchides a'i lu, ac yn y fl. 152 gwnaed ef yn archoffeiriad, y cyntaf un o deulu'r Asmoniaid i gyrhaedd yr anrhydedd hwnw. Bu yn llwyddiannus iawn yn ei swydd; gorchfygodd Apolonius, llywydd Syria, pan ymosododd arno; ennillodd Ioppa ac Azotus, a llosgodd deml Dagon. Cafodd anrhydedd mawr gan Antiochus ieuanc am ei gynnorthwyo yn erbyn Demetrius; adnewyddodd ei gyfeillach â'r Rhufeiniaid a'r Lacedœmoniaid; a chadarnhaodd amddiffynfëydd Ierwsalem; ond yn anffodus cafodd ei rwydo yn fradwrus gan Tryphon, yr hwn, dan addaw rhoi Ptolemais yn ei ddwylaw, a'i hudodd i mewn i'r ddinas, a chan gau y pyrth, â'i daliodd ef yn garcharor, ac a laddodd ei holl wŷr ef; ac wedi hyny, er iddo addaw ei ollwng yn rhydd am gan talent o arian, ar ol derbyn y pris, efe a dorodd ei addewid, ac a'i rhoddodd i farwolaeth, C.C. 141.

Dewiswyd Simon ei frawd i lenwi ei le, a chafodd sicrhau yr offeiriadaeth a'r llywodraeth iddo ef a'i etifeddion. Bu Simon yn ddiwyd ac yn ddefnyddiol iawn yn ei waith. Trwy ei foddion ef fe gafodd yr Iuddewon eu rhyddhau oddi wrth bob math o deyrnged i unrhyw benaeth estronol; ennillwyd Sïon, amddiffynfa Ierwsalem; gyrwyd allan o'r ddinas yr holl eilun-addolwyr, a gosodwyd ynddi addolwyr Duw yn unig. Gan dramwy trwy ddinasoedd Iwdea a gofalu am eu llywodraethu yn drefnus, daeth i waered i Iericho; ac yno wedi ei wahôdd i wledd gan ei fab yng nghyfraith, cafodd ei ladd yn fradwrus ac yn greulawn ganddo, C.C. 135.

Ei fab ef, Ioan Hircanus, a ennillodd Sichem, ac a ddinystriodd y deml ar fynydd Garisim, ddau can mlynedd ar ol ei hadeiladu gan Sanbalat, C.C. 130. A Iwdas, ei fab henaf yntau, a elwir hefyd Aristobulus a Philelèn, oedd y cyntaf ar ol y dychweliad o'r caethglud i osod coron am ei ben, ac i newid y llywodraeth yn unbenaeth.

Yn y fl. 63 ennillwyd Ierwsalem

gan Pompeius, yr hwn ni chymmerodd ymaith ddim o'r trysor oedd yn y Deml; ond dygodd yr Iuddewon dan deyrnged i'r Rhufeiniaid. Hwythau yn y fl. C.C. 40 a gyhoeddasant Herod, mab Antipater, yr Idumead, yn frenin ar Iwdea, yr hwn wedi iddo trwy gynnorthwy llu Rhufeinig ennill Ierwsalem a llenwi pob congl o honi â gwaed, a thrais, a chreulonedd, a gafodd gyflawn feddiant o'r deyrnas yn y fl. 37; a chwe mlynedd diweddarach chwanegwyd ato dalaeth Trachonitis ac ardal Paneas. Prif waith Herod oedd eangu ac harddu y Deml, ar yr hon y treuliodd lawer o ofal, ac amser, ac arian; fel, rhwng y naill a'r llall, y buwyd chwe mlynedd a deugain yn ei hadeiladu. S. Ioan ii. 20. Yn ei amser ef y ganed Iesu yn Bethlehem Iwdea.

---

## BUGEILIAID Y BANAU.

*Dewi.* Wel, Iwan, pa fodd y mae pethau yn d'od ym mlaen y dyddiau cyfnewidiol yma? pa fodd mae y defaid a'r ŵyn sydd yn y waen yn ymdaro? yr wyt yn edrych dipyn yn ofidus heddyw; a ydyw cadnoaid yr Allt Goch wedi bod yn ysglyfio yr ŵyn?

*Iwan.* Er pan gawsom ni ymgom o'r blaen, yr wyf wedi cael fy mlino yn fawr; nid gan gadnoaid yr Allt Goch, ond gan y cenawon Toriaidd yna sydd yn y *Parliament*, y rhai ddarfu daflu mesur Mr. Morgan allan. Yr oedd ein gweinidog ni yn ein sicrhau y buasai i'n gweinidogion ni gael eu hiawnderau, sef myned i'r mynwentydd; wedi hyny ni fuasai llawer o waith i fyned i'r Eglwys; ond diflanodd y cwbl fel cwd y mwg, ac yr ŷm yn awr mewn gwanobaith; ond fe ddaw yr amser pan ddaw yr hen ladi yna, Eglwys Lloegr, i lawr.

*Gruffydd.* Paid digaloni, Iwan, fe ddaw eto haul ar fryn, nid yw hyn ond cwmwl ar yr achos, ni orchfygwn ryw ddiwrnod, ni wnaiff dim y tro ond cydraddoldeb crefyddol. Yr oedd llawer o son pan oeddwn i yn grwtyn am gydraddoldeb gwladol; ond yn awr y mae y wlad yn addfed i gydraddoldeb crefyddol.

*Hywel.* Ni pharhäi y naill na'r llall ond byr amser pe caem gydraddoldeb, sef tynu Eglwys Lloegr i lawr i lefel Sectyddiaeth; mor wired a'r byd, bydd i chwi ormesu naill ar y llall; yr wyf wedi cael gweled digon o brawf o hyn; yr wyf wedi gweled y Corff, lle mae ef yn ben, yn ceisio rhwystro achos gwan gan blaid arall, a'r pleidiau ereill yn erlid—yr ochr arall, a'r gwanaf, yn myned yn erbyn y wal. Llygadu am feddiannau yr Eglwys y mae llawer o honoch, fel yr oedd Ahab am gael gwinllan Naboth gynt.

*Gwilym.* Y mae y wlad yn blino ar yr holl faldorddi yma sydd gan genadau y gymdeithas: gormod o bwdin a daga gi. Y mae y cyhoedd, oddi gerth ychydig, wedi syrffedu ar gyfferi cwacyddol cwacs y gymdeithas hon; y mae barn y cyhoedd yn eu herbyn, yr ŷm yn darllen yn barhäus am gyfarfodydd y Dadgyssylltiad yn cael eu tori i fyny o herwydd y gwrthwynebiadau oedd yn eu herbyn. Y mae yn wir eu bod yn ben ar y glwyd yn y mân gapeli yng Nghymru, pan maent yn cael eu ffordd eu hunain, a neb i'w hammheu; ond maent yn cwrdd, yn Lloegr, â dynion all ddal eu tir, ac yn gwybod mwy am y cyfansoddiad eglwysig na freuddwydiodd areithwyr cyflogedig y gymdeithas.

*Dewi.* Y mae eisieu rhoddi attalfa ar weinidogion y Llywodraeth; dynion diwerth yw llawer o honynt—gwŷr glythion ac yfwyr gwin. Yr wyf wedi gweled rhai yn hela llwynogod, ac yn gwaeddi talihô yn lle pregethu. Camddefnydd o arian y Wladwriaeth yw hyn, buasai yn well i'r arian fyned at rhyw achos arall.

*Gwilym.* Os gwelaist ti ambell offeiriad yn canlyn cŵn hela, nid wyf yn credu fod dim llawer o niwed yn

hyny; y mae yn ymarferiad corfforol. Y mae rhai o bengryniaid yr oes yn ystyried fod chwareu *cricket* yn bechadurus, ac yr wyf yn adnabod rhai ag sydd yn arfer pregethu yn erbyn yr arferiad; ond mae yn dda genyf weled fod awdurdodau athrofëydd yr Anghydffurfwyr yn pleidio hyn. Os oedd yr offeiriad yn arfer hela cadno, y mae rhai o bregethwyr yr Ymneillduwyr yn arfer herw-hela (*poaching*). Yn ystod y mis diweddaf, daliodd un o heddgeidwaid sir Fynwy bregethwr yn herw-hela ar dir offeiriad, yn agos i Drefynwy; am hyn cafodd ei ddirwyo yn y swm o 20s. a'r costau.

*Iwan.* Ni ddylai un offeiriad na neb arall gadw *game* ar ei dir; y mae yn hollol anaddas.

*Hywel.* Y mae yn fwy anaddas i bregethwr i fyned i herw-hela, a thori cyfraith y tir. Y mae y *game laws* yn gyfraith y tir, ac y mae yn ddyledswydd ar bob dinesydd i gadw y gyfraith, ac nid ei thori.

*Gruffydd.* Y mae y *game laws* yn ormesol ar ddeiliaid Prydain Fawr. Pa sawl un a derfynodd ei yrfa ar y crogbren ac mewn carchardai o herwydd y *game?*

*Gwilym.* Pwy yw yr helwyr fynychaf ond segurwyr afradlon, diotwyr, llabystiaid dioglyd, y rhai sydd yn barod i gyflawnu unrhyw ysgelerdra? Y maent yn myned allan o bwrpas i hyn. Pa nos llofruddiwyd ceidwad-helwriaeth Syr Joseph Bailey, A.S., ac mae gweddw a deg o blant ar ei ol yn amddifaid.

*Dewi.* Nid oedd dim achos iddo ymyraeth o gwbl â'r helw-helwyr.

*Gwilym.* Yr oedd yn cael ei dalu am wylio meddiannau ei feistr; ac ni wnaeth y dyn ddim ond ei ddyledswydd, a chollodd ei fywyd.

*Iwan.* Y mae y mawrion yna yn ormeswyr, ac mae cyfraith y tir yn eu hamddiffyn, y maent yn ceisio gwneyd pobl yn Eglwyswyr o'u hanfodd. Beth yw hyn ond gormes?

*Hywel.* Pwy sydd yn gwneyd hyn? Dyro i ni un esampl.

*Iwan.* Y mae dwy foneddiges yn byw yn sir Aberteifi—Toriaid penboeth, ac aelodau o'r Eglwys Wladol. Yn ddiweddar gorfu i un o'r morwynion uno â'r Eglwys o'i hanfodd, a gadawodd y llall ei lle yn hytrach na cholli y capel.

*Gwilym.* Hen arfer rhai pobl yw cyhuddo y boneddion o ormesu ar y bobl. Cyhuddwyd Miss Webley Parry o wneyd hyn yn un o'r papyrau Radicalaidd, ond nid oedd y cwbl ond anwiredd a chabldraith noeth; tarddodd y cwbl oddi ar weithgarwch y foneddiges hòno yn dynoethi busnes y Bwrdd Ysgol yn y plwyf; dygodd Miss Parry gynghaws yn erbyn perchennog y papyr hwn ym mrawdlys diweddaf Aberteifi, a gorfu iddo dalu 25p. a'r costau. *Serve him right.* Y mae yn beth cywilyddus i feddwl fod cymmeriadau dynion diargyhoedd yn cael eu niweidio fel hyn. Yn ol pob hanes y mae Miss Parry a'i chwaer yn foneddigesau rhagorol; ond y maent yn aelodau o'r Eglwys ac yn Geidwadwyr. Felly y mae yn rhaid duo eu cymmeriadau.

*Iwan.* Darllenais yn un o'r papyrau nad oedd y golygydd yn deall fod yr ohebiaeth yn *libel.*

*Gwilym.* Druan ag ef, dylasai aros yn Iericho nes i'w farf dyfu; yr oeddwn i wastad yn meddwl fod pob golygydd yn deall cyfraith *libel* cyn dechreu ar ei waith.

---

## Adolygiad y Wasg.

**BIBLE ENGLISH: CHAPTERS** *on Old and Disused Expressions in the Authorized Version of the Scriptures, &c. By T. Lewis, O. Davies, M.A. London: Bell and Sons.*

MAE'R cyfieithad Seisonig o'r Beibl nid yn unig yn drysorfa o wirioneddau annhraethadwy eu gwerth fel dadguddiadau o bethau a berthynant i sefyllfa dragwyddol dyn, ond hefyd yn drysorfa o iaith hawdd ei deall gan y werin, ac yn haeddu ei choleddu

gan ddysgedigion am ei phurdeb a'i symlder grymus a pherseiniol. Mae lle, ef allai, i'w ddiwygio mewn rhai manau; ond lle nad yw'r darllenwr yn cael ei gamarwain mewn modd peryglus, mae yn annymunol cwrdd â dillni a llyfnder y cyfansoddiad. Gwnaethpwyd y cyfieithad hwn ar amser pan yr oedd nifer lluosog o lenorion coethedig ar y maes; wedi i iaith y goresgynwyr Normanaidd golli ei thir; cyn i ysgrifenwyr Lladinaidd ddwyn i mewn y geiriau estronol sy'n awr yn tryfritho yr iaith ysgrifenedig; a chyn i ohebwyr a golygwyr newyddiaduron ddechreu eu gwaith o'i wneyd yn fath o lasdwr diflas a gwanllyd.

Mae'r cyfieithad Seisonig o'r Llyfr Gweddi Gyffredin yn perthyn i'r un cyfnod, rhan o hono yn ychydig gynnarach; ac y mae'r ddau wedi bod o les mawr i gadw rhag llygriad llwyr a chyfangwbl iaith ein cymmydogion y Seison.

Mae'r Beibl a'r Llyfr Gweddi Cymreig wedi ateb yr unrhyw ddyben. Iddynt yr ydym yn ddyledus nad yw'r Gymraeg wedi syrthio yn is o lawer nag ydyw yn bresennol. Tra y buont yn gymhorth ac yn gysur i filoedd o bererinion yn gwynebu tua Sïon, maent wedi bod yn safon o ledneisrwydd a choethder ymadrodd i ysgrifenwyr o bob oes er eu cyhoeddiad cyntaf, yn eu cadw rhag aneglurder geiriau heneiddiedig yn gystal a rhag rhai newyddion isel a serth.

Gwaith awdwr y llyfr dan sylw yn bresennol yw sylwi ar y cyfnewidiau sydd wedi cymmeryd lle yn ystyr rhai geiriau a arferir yn y llyfrau Sanctaidd Seisonig; ac yn y gwaith hwn y mae wedi gwneyd gwasanaeth gwerthfawr i'r cyhoedd. Mae iaith fyw yn agored i gyfnewidiadau beunyddiol. Mae geiriau newyddion yn cael eu dwyn i mewn iddi; mae hen eiriau yn syrthio allan o arferiad; ac y mae ystyr newydd yn cael ei roddi i ereill, tra mae yr hen ystyr ambell waith yn cydaros ac ambell waith yn llithro i ebargofiant. Fel hyn, y gair Seisonig *corpse*, o'r Lladin *corpus*, oedd yn gyfystyr â *body*, neu *corff* (Cymraeg), er ei fod yn awr yn gyfyngedig i arwyddo corff *dyn marw*. Nid oedd yn ammhriodol, gan hyny, ei gyssylltu â'r gair *dead*, fel yr ymddengys yn awr yn yr ymadrodd, "They were all *dead corpses*" (2 Kings xix. 35).

Mae'r awdwr wedi bod yn hynod o ddedwydd yn ei ymchwiliad i'r pethau hyn; nis gellir agor ei lyfr heb weled nodau o ymchwiliad a chraffder meddwl. Gwna ddefnydd priodol o weithiau awduron o'r cyfnod y mae yn ymwneyd ag ef; a chyfeiria at yr ieithoedd gwreiddiol er dangos yr ystyr yn yr hwn yr oedd y cyfieithwyr yn defnyddio y gwahanol eiriau dan eu sylw. Er enghraifft cymmerwn yr ychydig linellau hyn ar y gair "*will*" yng Nghredo St. Athanasius:—

"Will" is with us now almost always an auxiliary verb, giving a future sense to the word with which it is connected. The opening verse, however, of this formulary, 'Whosoever will be saved, before all things it is necessary that he hold the Catholic faith,' conveys a warning to those who wish, who are anxious to be saved. In this instance, possibly, the term is not often misapprehended; the context partly explains it, and the heading in our Prayer-book, '*Quicunque vult*,' would also help to prevent any mistake. But in several texts some confusion might naturally arise in the mind of the English reader: *e.g.*, 'If any man will do his will he shall know of the doctrine' (St. John vii. 17), in which case a reference to the original shows us that 'will' bears what is now its less usual sense."

Cyfeiria yr awdwr at yr ieithoedd gwreiddiol; ond y mae adnabyddiaeth o unrhyw iaith arall yn aml yn gynnorthwy er iawn ddeall ymadroddion yn y Beibl Seisonig; ac y mae'r cyfieithad Cymreig o'r ddau lyfr yn rhagori y mae yn debygol ar yn agos bob cyfieithad arall. Y mae yn es-

+ Εαν τις θελη ποιειν το θελημ.

bonio yr ymadrodd, "Whosoever will be saved," yn gystal a'r Lladin: "Pwy bynag a *fyno* fod yn gadwedig," nid *a fyddo* neu *a fydd* yw'r geiriau. Yn yr un modd y gair "*incomprehensible*" yn yr un Credo; nid *annealladwy* yw'r ystyr; ond *anghyfyngedwy, nas gellir ei gynnwys;* ac felly, "*anfesuredig*" yw'r gair yn y cyfieithad Cymreig: ac y mae amryw eiriau ereill yn cael eu hesbonio yr un modd trwy gyfeirio at y Gymraeg: "How long *halt* ye between two opinions?" "Pa hyd yr ydych chwi yn *cloffi* rhwng dau feddwl?" nid *aros*, ond *cloffi:* "not *standing still*, but *limping* as it were from one to the other."

Deallir y gair *quick* yn "Then had they swallowed us up *quick*" (Salm cxxiv 3) fel yn arwyddo *cyflymder;* ond daw y gwir feddwl i'r amlwg wrth droi at y Gymraeg. "Yna y'n llyncasent yn *fyw*," lle y dangosir bod y gair i'w ddeall fel yn y geiriau "the *quick* and the dead," "y *byw* a'r meirw."

Gellir gwneyd yr un sylw ar y geiriau "*prevent*," "rhagflaenu;" "*instant* in prayer," "yn dyfal-barhau mewn gweddi." "God hath *concluded* them all in unbelief" (Rhuf. xi. 32); "Duw a'u *cauodd* hwynt oll *mewn* anufudd-dod." Yn wir yr ydym yn lled-dybied mai Cymro yw'r awdwr, gan fod ei enghreifftiau Seisonig yn cael eu hegluro cyn amled gan y cyfieithadau Cymreig. Beth bynag am hyny, y mae ei lyfr wedi rhoddi i ni bleser mawr wrth ei ddarllen, a gallwn yn gydwybodol ei gymmeradwyo yn wresog i sylw ein darllenwyr.

---

TONAU YN NODIANT Y TONIC *Sol-fa. Wedi eu dethol gan y Parch. Daniel Evans. Llundain: Haddon.*

Y MAE casgliad o "Hymnau a Thonau er gwasanaeth yr Eglwys yng Nghymru," o waith Mr. Evans, wedi haeddu ac wedi ennill enwogrwydd mawr gan gantorion Cymreig. Bu ei lyfr dan sylw yr HAUL ychydig flynyddoedd yn ol, ac o herwydd hyny, ac am ei fod yn eithaf adnabyddus i'n darllenwyr, nid oes eisieu helaethu ar ei ragoriaethau. Mae galwad wedi bod am gael y tonau yn argraffedig yn Nodiant y Tonic Sol-fa, yn fwyaf neillduol er mwyn y to sydd yn codi i fyny. Mae'r detholydd wedi cydsynied â'r cais, ac wedi dwyn allan y Tonau yn y Nodiant Newydd mewn cyfrol newydd a chyflëus.

---

## Hanesion.

ESGOB LLANDAF AR LWYDDIANT YR EGLWYS, &C.

Dydd Mawrth y Pasc, agorwyd Eglwys Haiarn newydd yn Bargoed, Gelligaer, ac ar yr un amser gosodwyd sylfaen Eglwys newydd yn yr un lle. Ar yr achlysur traddododd Esgob Llandaf yr anerchiad canlynol:—"Fy adnabyddiaeth cyntaf â phlwyf Gelligaer a ddechreuodd ym mis Mai, 1850. Yr amser hwnw nid oedd rheithor Gelligaer yn trigo yn y plwyf, nid oedd ef i'w feio am hyn, oedd ei iechyd yn anffodus yn wael, a derbyniodd ysgrif-dyst oddi wrth un o feddygon enwocaf Caerdydd. Yr oedd yn absennol trwy drwydded yr esgob. Gwnaeth yr hyn oedd y gyfraith yn ofyn iddo wneyd, gosododd gurad yn ei le, a gosodwyd y plwyf poblogaidd hwn dan ofal un curad, oddi gerth terfynau Capel y Brithdir, rhywle ar y mynydd, lle yr oedd hen offeiriad wedi cael ei osod—mor hen, fel nas gallasai wneyd dim llawer o les yn y plwyf. Tyma oedd sefyllfa plwyf Gelligaer yn 1850. Sefydlodd y rheithor presennol yma yn 1862. Beth a wnaeth o fewn y pedair blynydd ar ddeg sydd wedi myned hebio? Gadëwch i mi yn gyntaf alw eich sylw at adferiad Eglwys eich plwyf. Yn awr, nid wyf am ddywedyd fod sefyllfa Eglwys Gelligaer yn waradwyddus, yr wyf ym mhell o hyn, ond yr oedd henaint wedi gwneyd ei ol arni, ac felly nid oedd yn y fath sefyllfa ag y dymunai gwir Gristionogion a gwir aelodau Eglwys Lloegr weled Eglwys y plwyf. Y mae yn wir y gellir cynnal gwasanaeth i Dduw mewn ysgubor neu garchardy lle nad oes modd i adeiladu Eglwys. Yr ŷm yn gwybod i galon Lydia gael ei hagor wrth glywed Sant Paul yn pregethu i ychydig o Gristionogion ar lan yr afon; ond yr wyf yn dywedyd pa le bynag y mae Duw wedi ein bendithio â da y byd yma, y mae yn weddus i adeiladu Eglwysi da ac ardderchog, os gallwn, i'w ogoniant. Nid

ŷm ni ein hunain i fyw mewn tai gorwych a gadel i dy Dduw ddadfeilio, neu ei ddifodi. Dylem wario yr hyn y mae Duw wedi roddi i ni i'r dyben daionus hwn. Yr wyf yn dywedyd i'ch periglor wneyd gwaith da wrth adferu a harddu Eglwys Gelligaer, ym mha le yr ydych yn cael y fraint o ymgynnull bob Sul. Yr wyf yn ymwybodol o hyn, os bydd i ni yr offeiriaid gyflawnu y gwasanaeth mewn dull musgrell, mae adeladau yr Eglwys i fod yn warth i ni, a'u gadael i syrthio i fudreddu a sefyllfa adfeiliedig. Daw y bobl i benderfyniad buan nad oes genym ddim llawer o barch i'r Duw ŷm ni yn addoli yno, na dim parch i'r athrawiaethau ŷm ni yn bregethu. Meddyliant nad ŷm yn gofalu llawer am danynt, ac o ganlyniad ni fydd i'r bobl ofalu llawer eu hunain. Ar y tir hwn yr wyf yn dywedyd i'ch rheithor chwi wneyd gwaith da wrth adferu Eglwys y plwyf. Ond gadëwch i ni fyned ym mlaen i daflu golwg dros y plwyf. Nid wyf yn gwybod yn sicr pa sawl milltir yw Pontlottyn oddi wrth Eglwys y plwyf; ond yr wyf yn gwybod hyn, ei fod yn le mawr yn awr, gyda channoedd o bobl yn byw yno: y mae mor bell fel y mae yn ammhosibl iddynt fyned i Eglwys eu plwyf ar y Suliau i addoli Duw ein Hiachawdwr. Ac nis gellir dysgwyl i'r offeiriad sydd yn byw yn ymyl yr Eglwys dalu ymweliad wythnosol â Phontlottyn. Bu ei sefyllfa a'i dlodi ysbrydol dan fy ystyriaeth yn 1850 ac yn 1862, ond beth oedd genyf i wneyd? O'r diwedd mi aethym at y dyn rhagorol hwnw, Mr. Johnson, yr hwn oedd yr amser hwnw yn ben-rheolwr gwaith haiarn Rhymni, a gofynais iddo a oedd dim lle i gynnal gwasanaeth ym Mhontlottyn. Ni aethom yng nghyd. Yr unig le a allem gael oedd llofft uwch ben ystabl ac ysgol o'r tu allan. Er hyny meddyliasom na ddylem ddirmygu pethau bychain, rhyngom cawsom fodd i dalu cyflog curad, a dechreuwyd cynnal gwasanaeth. Dywedais wrthych i'ch periglor gael ei benodi yn 1862; ac yn 1863 gosodwyd sylfaen Eglwys newydd Pontlottyn. Ac ym mis Tachwedd, 1873, cefais yr hyfrydwch o'i chyssegru. Nid yn uuig y mae Eglwys ym Mhontlottyn, y mae yn blwyf ar ben ei hun. Yn fy ymweliad diweddaf, os nad wyf yn camsynied, cawsom ficer a dau gurad o Bontlottyn. Cyferbynier ei sefyllfa yn 1862 â'r hyn yw yn awr. Clywais fod yno dydd Sul y Pasc 106 o gymmunwyr ym Mhontlottyn yn unig; fe ddichon nad oedd yno hanner dwsin yr amser y darfu i mi gyfeirio ato. Yn awr yr wyf yn dywedyd mai gwaith Duw yw hyn, ac mae yn rhyfedd yn ein golwg. Yn ystod y cyfnod hwn penodwyd offeiriaid i weinidogaethu mewn gwahanol ysgoldai, y rhai a drwyddedwyd i gynnal gwasanaeth dwyfol. Yn awr yr wyf yn dyfod at y cyfarfod hwn. Adeiliadir capel yn y lle hwn yn lle ysgoldy Pont Aberbargoed. Yr wyf yn deall y bydd i'r capel hwn i gael ei alw Capel Gwladys: y mae yn bur debyg y gwyddoch pwy oedd Gwladys. Yr oedd yn byw gannoedd a channoedd o flynyddau yn ol, ac yn perthyn i deulu yn yr ardaloedd hyn, un o'r teulu adieiladodd Eglwys y plwyf. Tra bydd i chwi glywed yr enw Capel Gwladys bydd yn goffadwriaeth i chwi nad yw Eglwys Lloegr fel *mushroom* wedi codi i fyny mewn un nos; ond ei bod yn Eglwys wedi bodoli yn eich plith, ac wedi cyfranu gwersi ysbrydol am fwy na mil o flynyddoedd yn y plwyf hwn a phlwyfydd ereill. Ef allai y bydd i rai o honoch ddywedyd, 'Nid yw yr holl rai hyn ddim ond ordinhadau allanol.' Gallwch adeiladu Eglwysi o faen a haiarn; gallwch anfon offeiriaid yma ac acw, nid yw hyn yn un prawf o ddaioni ybsrydol. Yr wyf yn gwybod o'r goreu fod gwahaniaeth mawr rhwng addoliad allanol ac addoliad ysbrydol. Gall dyn fyned i'r Eglwys bod Sul, ac ymddangos yn ddefosiynol; gall gyfranogi o'r Swper Sanctaidd; gall wneyd fel y gwelo oreu; ond os na fydd iddo roddi ei galon i Dduw ni wnaiff y gwasanaeth ddim llawer iddo. Ond yr wyf yn gofyn y cwestiwn hwn, pa ham rhaid i nid fod mor wan ein ffydd a meddwl na fydd i Dduw fendithio y moddion? Ym mhob peth arall yn nhrefn Rhagluniaeth a moddion gras, yr ŷm yn gweled fod yn rhaid i Dduw gydweithio, ac mae genym addewid bendant ein Hiachawdwr, ond i ni ofyn bydd i ni dderbyn. Os gwnawn ein goreu, bydd i'r fendith ddisgyn arnom; felly nid yw hyn ddim ond siarad segur, na all y pethau wneyd daioni. Nis gall dyn wybod am y daioni sydd yn deillio, ond mae llawer o fendithion ysbrydol wedi cydfyned â'r moddion am ganrifoedd ac am bedair blynedd ar ddeg. A oes rhyw un yn ammheu, a oes rhyw un mor afresymol, mor anghristnogol a meddwl, pan ddygir ordinhadau Eglwys Lloegr i ganol plwyf mawr, o ddwyn bendith Duw gyda hwy. Os nad yw offeiriaid Eglwys Lloegr yn gosod i lawr yr unig sylfaen a ellir osod, sef Crist croeshoeliedig, eu bai hwy ydyw, ac nid bai yr Eglwys maent hwy yn weinidogion ynddi. Os bydd offeiriad o Eglwys Lloegr yn ddioglyd, yn ddyn drwg, anfoesol, na ato Duw fod neb o'r cyfryw yn ein plith, ond nid ŷm ond natur ddynol wedi'r cwbl; cewch ddefaid du ym mhob deadell, gall fod yma ac acw ambell un sydd yn waradwydd i'w swydd; ei fai ef yw hyn, nid bai y gweddïau y mae ef yn adrodd, a'r athrawiaethau y mae i'w dysgu. Dywed y nawfed erthygl fod yr Ysgrythyr Lân yn cynwys pob peth sydd yn angenrheidiol i iachawdwriaeth. Yr wyf yn gofyn cwestiwn

arall, O ba le daeth yr holl arian i wneyd y pethau hyn? Nis gellir codi Eglwysi ac anfon offeiriaid i'r fan hyn neu i'r fan arall heb arian. O ba le mae yr holl arian hyn yn dyfod? Yr wyf yn gofyn cwestiwn plaen i chwi. Yr ydych oll yn gwybod na roddodd y Llywodraeth ddim un hatling. Adferwyd Eglwys eich plwyf nid gan y Llywodraeth.

"Nid yw yr Eglwys hon — Eglwys Bargoed—i gael ei hadeiladu gydag arian y cyhoedd wedi cael eu codi trwy drethi, nac wedi eu rhoddi o unrhyw drysorfa gan Ganghellydd y Trysorlys. Telir y cwbl gan roddion gwirfoddol. Yr un fath y mae hi wedi bod gyda Eglwysi newyddion a adeiladwyd er pan ddaethym yn Esgob. Heb law y rhai hyn adgyweiriwyd 80 o hen Eglwysi; felly yr oedd hi gydag Eglwys y plwyf. Nid y Llywodraeth adeiladodd yr Eglwysi, ac nid y Llywodraeth ddarfu eu gwaddoli; ond gwnawd y cwbl trwy roddion gwirfoddol. Pa ham yr wyf yn gofyn y cwestiwn hwn i chwi? Yr achos yw hyn. Dywedir wrthych yn y dyddiau presennol gan bersonau mai Eglwys Wladol yw Eglwys Lloegr. Dywedant mai y Llywodraeth a roddodd yr holl waddoliadau, a bod yr holl adeiladau yn perthyn i'r Llywodraeth, a bod hawl gan y Llywodraeth eu cymmeryd yn ol. Y mae y fath resymau a hyn yn tarddu naill ai o anwybodaeth o ffeithiau hanesyddol, o falais, neu er mwyn creu rhagfarn yn erbyn yr Eglwys. Bydded i bob un fyned oddi yma wedi cael ei argyhoeddi nad yw hyn yn wir. Am awdwyr yr haeriadau hyn, pwy bynag ydynt, byddai yn fwy tosturiol i ni ddywedyd eu bod yn dywedyd hyn oddi ar anwybodaeth, yn hytrach na dywedyd eu bod yn cyhoeddi anwireddau; felly cymmerwn yn ganiataol eu bod yn anwybodus am hanes gwirioneddol y mater. Hyn yw y gwirionedd syml. Pan bregethwyd Cristionogaeth gyntaf yn y wlad hon, yr oedd yr esgob a'r offeiriad yn cydfyw, yr oedd yr esgob yn arfer anfon allan ei offeiriaid ar y Suliau ac ar amserau gosodedig ereill, i bregethu goreu gallasent yma a thraw.

"Pan daenwyd Cristionogaeth gyntaf yn gyffredinol, cafwyd allan nad oedd y trefniadau hyn yn ddigonol. O ganlyniad mabwysiadwyd y cynllun o ranu y wlad i blwyfi; bernir i hyn ddechreu tua'r flwyddyn 600; hyny yw, yn agos i 1300 o flynyddoedd yn ol."

## ESGORODD,

LAWRENCE—Maw. 27, yn 5, Addison Gardens, N. Kensington, priod James Sealey Lawrence, Ysw., ar fab.

MORGAN—Maw. 28, priod Mr. George Morgan, llyfr-rwymwr, ar ferch.

## PRIODWYD,

BOYLE—CAMPBELL—Eb. 20, yn Stackpole Elidar, gan yr Anrhydeddus a Pharchedig A. G. Campbell, ewythr y briodferch, yn cael ei gynnorthwyo gan y Parch. C. Lane, brawd yng nghyfraith i'r priodfab, a'r Parch. F. G. Leach, rheithor y plwyf, Courtenay Edmund Boyle, Ysw., ag Arglwyddes Muriel Campbell, ail ferch yr Anrhydeddus Iarll Cawdor.

## BU FARW,

FRANCIS—Maw. 30, yng Ngerddi'r Deml, Hamit, gweddw Mr. Thomas Francis, Bryn, a merch y diweddar Mr. W. Baldwin, haiarnydd.

GEORGE—Maw. 26, yn y Plascrwn Llanddewi Velffre, Ellen Joan, merch y diweddar Evan George, Ysw., 57 oed.

JONES—Maw. 29, yn Uchelrodfa Waterloo, Mr. John L. Jones, cyssodydd, 55 oed.

ROBERTS—Eb. 4, yn Henllan, ger Dinbych, Mr. John Roberts, ewythr y Parch. Aaron Roberts, periglor Llan Newydd, Caerfyrddin.

SQUIRE—Eb. 16, yn y Ficerdy, y Parch. E. B. Squire, A.C., periglor Sant Mair, Abertawy, a chorweinydd Prifeglwys Ty Ddewi, 72 oed.

## Y LLITHIAU PRIODOL, MAI, 1876.

| Mai. | Suliau a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 1 Llun | St. Phylip a St. Iago | Esai lxi.<br>Ioan i. 43 | Sech. iv.<br>Col. iii. hyd 18 |
| 7 Sul | 3 Sul gwedi'r Pasc | Num. xxii.<br>Luc xxiii. 50 hyd xxiv. 13 | Num. xxiii., neu xxiv.<br>1 Thes. iv. |
| 14 Sul | 4 Sul gwedi'r Pasc | Deut. iv. hyd 23<br>Ioan iv. hyd 31 | Deut. iv. 23—41, neu v.<br>1 Tim. iii. |
| 21 Sul | 5 Sul gwedi'r Pasc | Deut. vi.<br>Ioan vii. hyd 25 | Deut. ix. neu x.<br>2 Tim. iv. |
| 25 Iau | Dydd y Dyrchafael* | Dan. vii. 9—15<br>Luc xxiv. 44 | 2 Bren. ii. hyd 16<br>Heb. iv. |
| 28 Sul | Sul gwedi'r Dyrchafael | Deut. xxx.<br>Ioan xi. hyd 17 | Deut. xxxiv., neu Ios. i.<br>Heb. iii. 7 hyd iv. 14 |

* Salmau Priodol—Boreu, 8, 15, 21; Prydnawn, 24, 47, 108. Credo Sant Athanasius i'w arfer. Y Colect, yr Epistol, a'r Efengyl am y dydd hwn i'w harfer hyd y 27fed. Yng Ngwasanaeth y Cymmun, y Rhagymadrodd Priodol hyd Mehefin 1af.

CARMARTHEN:
Printed and Published by WILLIAM SPURRELL, at his Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Saturday, the 29th of April, 1876.

# YR HAUL.

## Cyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIF. 234. MEHEFIN, 1876. CYF. 20.

## CYFRES FER O BREGETHAU ER AMDDIFFYNIAD Y FFYDD.

### GWYRTHIAU.—IV.

"Gosododd ddeddf, ac nis troseddir hi."—SALM. cxlviii. 6.

GYDA gradd o betrusder yng nghylch addasrwydd natur y pregethau hyn i gynnulleidfa gyffredinol, eto gan obeithio fod yr amcan yn gymmeradwy gan y Pen-bugail, ac er gogoniant i'w enw, mi af ym mlaen i ystyried gwyrthiau fel gweithredoedd nerthol hyny yw, fel gweithredoedd yn galw am nerth goruchnaturiol i'w hachosi. Os llwyddaf i ranu y pwnc i ddosbarthiadau eglur, a chyfyngu eich golwg at ddim ond un o honynt ar y tro, gan fyned ym mlaen o fesur ychydig dros y tir, hyderaf y byddwch yn alluog i ddilyn a deall yr hyn a osodir ger eich bron, gyda sylw a manylrwydd cyffredin, ac y bydd yn help i minnau i drefnu fy syniadau.

Y mae *achosiaeth* gwyrthiau neu *awduraeth* gwyrthiau, yr hyn sydd yn awr yn galw am ein hystyriaeth, yn un pwysig ynddo ei hun ac yn enwedig felly o herwydd mai yn eu herbyn, fel ymddangosiadau o *awduraeth dwyfol*, yr ergydir saethau mwyaf cyffredin a llymaf yr oes. Er mwyn deall, gan hyny, natur y gwrthddadleuon, gadëwch i ni weled beth a feddylir pan ddywedwn fod gwyrthiau o achosiaeth dwyfol, neu yn ol iaith yr Ysgrythyr, fod gwyrthiau yn weithredoedd nerthol *(dunameis)* Duw.

A ydynt yn deillio oddi wrth Dduw fel eu Hawdwr yn fwy nag ymddangosiadau *(phenomena) cyffredin* o fewn trefn *natur* a *rhagluniaeth?*

Nid mewn un modd. Mae yr Ysgrythyr yn ein dysgu fod pob peth yn deillio oddi wrth Dduw fel eu Hawdwr, yn gystal gwyrthiau a'r hyn a welir ar faes natur. Cydnabyddir nad yw deddfau naturiol ac effeithiau galluoedd sylweddol *(material forces)*, ond offerynau yn llaw Duw ac arddangosiadau o'i ewyllys anghyfnewidiol; gweithredoedd diflino y Deddfroddwr. "Molant enw'r Arglwydd, o blegid Efe a orchymmynodd, a hwy a grewyd. A gwnaeth iddynt barhau byth, ac yn dragywydd; gosododd ddeddf, ac nis troseddir hi." Hefyd Salm civ. 5—8; Ier xxxi 35, 36, xxxiii 20, 21, 25, 26; Preg. i. 4—9. Yn yr un

modd eto y priodolir i awduraeth Duw. amgylchiadau rhaglunnaethol llawn cymmaint a gwyrthiau Nid yw creadigaeth goleuni yn cael ei alw yn fwy o waith Duw na pharhâd goleuni. "Bydded goleuni, o goleuni a fu." "Mae Efe yn peri i'w haul gyfodi ar y drwg a'r da." Nid yw creadigaeth yr haul yn fwy o waith Duw. er yn wyrth, na pharhâd yr haul i oleuo y drwg a'r da, yn ol iaith yr Ysgrythyr. Mae pob amgylchiad yng nghadwedigaeth Israel, ac yn nadblygiad ewyllys Duw i ddyn, yn achosedig gan Dduw, pa un ai gwyrthiol ai peidio. Yr un yw'r iaith am greadigaeth. am ymddangosiadau beunyddiol. am wyrthiau hynod; gweithredoedd Duw ydynt i gyd, ac nid oes un esgus i ddyweyd fod un yn fwy o waith Duw na'r llall Mae yn angenrheidiol cadw hyn mewn golwg wrth ystyried y cwestiwn o awduraeth gwyrthiau; o herwydd mae wedi myned yn arferiad i edrych arnynt fel pe byddent, yn eu perthynas â Duw, yn wahanol i amgylchiadau ereill. Ond os na ellir dangos ar ryw dir annibynol nad ydynt yn ddichonadwy. rhaid i ni dderbyn golygiad yr Ysgrythyr, fod gwyrthiau yn dal yr un berthynas â Duw, ag y mae ymddangosiadau cyffredin natur a rhagluniaeth

Ond byddwch yn barod yn awr i ofyn yn ddiammheu ym mha beth y gwahaniaetha gwyrthiau oddi wrth amgylchiadau cyffredin. os na wahaniaethant yn eu hawduraeth?

Atebaf eu bod yn gwahaniaethu nid yn eu perthynas â Duw. ond yn eu perthynas â natur ac â dyn Nid gweithredoedd cyffredin ond gweithredoedd *anghyffredin* Duw ydynt. Llefarant yn fwy eglur, yn fwy uniongyrchol wrth ddyn am eu Hawdwr. Galwant sylw yn fwy tarawiadol at yr achosiaeth na gweithredoedd cyffredin. Dygant awduraeth Duw yn fwy amlwg i'n golwg. ond nid ydynt yn fwy o waith Duw o herwydd hyny. Duw yw awdwr natur, a'i drefn Ef yw yr hyn sydd gyffredin ac anghyffredin, yr un fel y llall; ond yr ydym ni yn gweled ei law yn fwy amlwg yn yr hyn sydd anghyffredin. ac yn clywed ei lais yn llefaru wrthym ni yn fwy uniongyrthol Nid yw araith yn fwy o waith yr awdwr na llyfr ysgrifenedig ganddo; ond nis gallwn wrando ar araith yn cael ei thraddodi heb feddwl am yr awdwr. Pan ddarllenwn erthygl arweiniol dienw mewn papyr newydd ar unrhyw bwnc gwladol neu gymdeithasol, yr ŷm yn arferol o bwyso a mesur yr hyn a ddarllenwn; ond ychydig feddyliwn am yr ysgrifenydd. Pe clywn yr un awdwr yn llefaru yr un syniadau o'i eiddo, troai ein meddyliau ato ac am dano yn bersonol yn uniongyrchol. Mewn rhyw ffordd tebyg i hyn, tra mae amgylchiadau cyffredin natur a rhagluniaeth yn myned heibio heb dynu unrhyw sylw at eu hawdwr, mae gwyrthiau ar unwaith, nid yn unig yn taro'r meddwl â syndod, ond hefyd yn peri i'r meddwl droi at yr Awdwr.

Mae'r hyn a ddywedais er eglurhau golygiad yr Ysgrythyr yng nghylch awduraeth gwyrthiau o bwys i ni erbyn myned at yr ystyriaeth yn awr o'r gwrthddadleuon a gyfodir yn erbyn gwyrthiau o herwydd eu bod yn wahanol i drefn gyffredin natur. Mae y gwrthddadleuon hyn o ddau fath. ac yn erbyn yr achosiaeth ddwyfol a briodolwn iddynt. Y cyntaf a haera ei bod hi yn anghysson â'r hyn a wyddom am natur i briodoli gwyrthiau a threfn natur i'r *un* awduraeth; y llall a haera nad oes prawf mewn natur, nac mewn dim arall. fod Awdwr Dwyfol yn bod o gwbl. Tyna y ddau dyb. er oddi wrth seiliau gwahanol, yr un casgliad. sef nad yw yn gredadwy fod gwyrthiau o awduraeth ddwyfol. Dywed y cyntaf nad yw Duw yn *ewyllysio,* neu nas gall weithio mewn ffordd eithriadol, a chroes i'w drefn yn natur. Dywed y gwrthddadl arall

nad oes Duw yn bod, ac am hyny nas gall gwyrthiau fod o awdurdod ddwyfol. Cydnabydda y cyntaf. neu o leiaf ni wadant y bod o Dduw. a'i berthynas â natur fel ei hawdwr. ond gwada gall natur a gwyrthiau ddeillio oddi wrth yr un awdwr. Yr ail a wrthoda ganiatäu fod unrhyw achos adnabyddus i ni tu allan i natur, ac ni chreda mewn gwyrthiau o herwydd eu bod yn galw am gred mewn awdwr na wyddant hwy ddim byd am dano. Y laf yw'r wrthddadl a allwn ei alw yn *wrthddadl ddeistaidd;* yr ail yn *wrthddadl atheistaidd.*

O'r gwrthddadleuon pwysig hyn, gadëwch i ni aros i drin yr *wrthddadl ddeistaidd* yn gyntaf. Mae Duw yn bod, medd y Deistiaid. ac Efe yw awdwr natur. Mae gwyrthiau yn wahanol ac yn groes i drefn natur. a chan fod yr un achos yn gweithredu bob amser yn yr un modd, nis gall Duw fod yn anghysson yn ei waith ag Ef ei hun: am hyny nis gall Duw fod yn awdwr gwyrthiau. Nid ydynt wedi eu hachosi ganddo Ef. Nid oes un achos arall i'w gael tu allan i natur: am hyny nis gall gwyrthiau fod wedi dygwydd, ac nid ydynt yn gredadwy. Mae yr wrthddadl hon yn gosod i lawr, chwi welwch, fod gwyrthiau yn anghredadwy o herwydd eu bod yn troseddu unffurfiaeth natur, yn troseddu deddfau anghyfnewidiol natur. Gwneir yr wrthddadl hon yn gyffredin yn enw gwyddoniaeth anianyddol; canys gwyddoniaeth sydd yn ein dysgu yng nghylch darostyngiad natur i ddeddfau cysson.

Mae y geiriau unffurfiaeth natur, a deddfau natur, yn eiriau pwysig yn y ddadl. ac yn galw am eglurhâd. Beth a ddeallir wrthynt?

Yn nacaol, nid unffurfiaeth ymddangosiadau a feddylir. Mae dydd a nos, haf a gauaf, yn enghreifftiau nodedig o unffurfiaeth ymddangosiadol *(phenomenal uniformity)*, ond credir fod eithriadau wedi cymmeryd lle, ac y cymmerant le eto, ond mewn perffaith gyssondeb â deddf. Gall ymddangosiad. megys seren gynffonog, gymmeryd lle ond unwaith mewn mil o flynyddoedd, ac eto bod yn hollol gysson â deddf.

Yn nacaol eto; nid dilyniad ymddangosiadau y naill ar ol y llall a feddylir. Mae hyn yn gynnwysedig yn y syniad o unffurfiaeth a deddf, ond gan fod ymddangosiadau yn amrywio cymmaint. fel nad oes braidd un yn hollol gyffelyb i un arall, mwy na dau wyneb dynol, mae yn amlwg nad ydyw y dilyniad a geir mewn ymddangosiadau yn ddigon o sylfaen i brofiad dynu casgliad o unffurfiaeth gysson. Mae eisieu rhyw beth yn ychwaneg cyn sefydlu'r egwyddor o unffurfiaeth arno. Mae bron ym mhob ymddangosiad ryw elfen mwy neu lai gwahanol i'r hyn ydoedd yn yr un ymddangosiad o'r blaen. ac nis gellir heb ryw beth ym mhellach, benderfynu pa un a ydyw pâr o ymddangosiadau a ganlynant y naill y llall yn gysson ag unffurfiaeth. Os nad oes mwy na hyn yn gynnwysedig yn unffurfiaeth natur. nid oes dim yn gwneuthur gwyrthiau i wrthdaro yn erbyn yr unffurfiaeth yma. Mae gwyrthiau yn anaml ond nid mwy anaml nag ymddangosiadau ag sydd yn *hollol* gyffelyb yn eu *holl* amgylchiadau.

Yn gadarnhaol, mae rhyw beth mwy yn gynnwysedig yn unffurfiaeth trefn natur. Mae yma *ddeddf* i'w gweled. Nid ymfoddlona gwyddoniaeth i edrych ar ymddangosiadau yn eu hunigolrwydd. nac yn eu cyssylltiad. Ceisia eu dadblygu a'u dosbarthu i'w helfenau cyfansoddiadol, a gweled a deall pa ham maent yr hyn ydynt, a pha beth yw eu perthynas â'u gilydd. "Nid yw'r meddwl athronyddol yn medru gorphwys ar ddilyniad ymddangosiadau," medd un awdwr enwog,[1] "heb wybod beth achosa y dilyniad, beth sydd yn rhwymo ac yn clymu yr olynol wrth

---

[1] Tyndall.

y rhagflaenol, beth yw'r galluoedd *(forces)* trwy ba rai y dilyna'r effeithiau oddi wrthynt." Effaith gweithrediad gallu ar sylwedd yw pob ymddangosiad, ac mae'r gweithrediad bob amser yn gysson ac yn unffurfiol Os bydd yr un galluoedd yn bresennol yn yr un angerddolder, mae eu gweithrediad yn hollol yr un fath; dyna eu deddf Dyma feddylir wrth ddyweyd fod deddfau yn perthyn i alluoedd natur, neu fod galluoedd natur yn gweithredu yn ol deddf Mae gan sylwedd o bob math ei ddylanwad neu ei effaith ar sylwedd. Y dylanwad yma a elwir wrth yr enw priodoledd sylwedd Mae y dylanwad yma yn gysson yn ei effaith, a'r cyssondeb yma yw y priodoledd. Pe byddai ymddangosiadau yn gyffredinol yn deillio oddi wrth ddylanwad cyffelyb mewn rhyw, a maint, a gallu, ar yr un math a rhyw o sylwedd, byddai gwaith athronydd natur yn hawdd. Ond ceir fod gallu a sylwedd *(force and matter)* naturiol yn gyssylltedig â'u gilydd mewn amrywiaeth diderfyn: mae gradd a rhyw y gallu, gradd a natur y sylwedd, sydd yn bresennol ar yr un amser, yn aufynych yr un ac mae amrywiaeth yr ymddangosiadau yn cyfateb i amrywiaeth yr achosion sydd yn gweithredu. Nid oes unffurfiaeth gan hyny yn yr ymddangosiadau, ond maent yn deillio yn unffurfiol fel effeithiau priodoledd sylwedd, a deddfau y galluoedd sydd yn gweithredu yn eu hachosiad Nid ydyw y priodoleddau byth yn cyfnewid, na'r deddfau byth yn gorphwys Mae pob ymddangosiad yn deillio oddi wrthynt, er mor amrywiol bynag fyddant; 'does dim annhrefn yn perthyn iddynt—maent yn ddarostyngedig, ddeddf gysson ac anghyfnewidiol. Mae holl-drefn natur yn ddarostyngedig i ddeddf. Deddf rheol trefn sydd yn teyrnasu. Yn ol geiriau anfarwol y duwinydd Hooker, geiriau dial yn yr iaith a ysgrifenai, mae deddf ar yr orsedd trwy'r holl greadigaeth, a'i chartref yw mynwes Duw.[1]

Rhyw beth tebyg i hyna yw iaith a gosodiadau gwyddoniaeth yng nghylch unffurfiaeth deddfau natur. Mae yn hollol angenrheidiol gael syniad eglur ar y pwnc, er mwyn deall gwir nerth y gwrthddadl yn erbyn credinolrwydd gwyrthiau, ar y tir o'u bod yn groes i unffurfiaeth natur Caniatëir yn rhwydd y ffaith o'r unffurfiaeth, neu o deyrnasiad deddf; ond nid ofer fydd cadw o'n blaen rai gocheliadau, gyda golwg ar faintioli ein gwybodaeth pan yn ddefnyddio unffurfiaeth natur fel safon i fesur credinolrwydd unrhyw ymddangosiad wrtho. Canys tegwch yw rhoi yr un pwys i'r gocheliadau pan yn mesur credinolrwydd ymddangosiad gwyrthiol, a phan yn mesur unrhyw ymddangosiad naturiol wrth yr un safon o unffurfiaeth natur.

Mae y gocheliadau a ellir eu nodi yn dri: yn gyntaf, wrth son am alluoedd, a sylwedd, ac ymddangosiadau, nas gallwn ddyweyd ein bod yn feddiannol o wybodaeth eto yng nghylch nifer a rhywiau y galluoedd a'r sylweddau a weithredant, neu a allant weithredu yn achosiaeth ymddangosiadau naturiol. Gall fod galluoedd eto anhysbys i ni ym maes natur, tra mae pob dydd yn chwanegu o'r newydd at ein gwybodaeth o amrywiaethau sylwedd.

---

[1] "Of Law there can be no less acknowledged than that her seat is the bosom of God, her voices the harmony of the world; all things in heaven and earth do her homage, the very least as feeling her care, and the greatest as not exempted from her power; both angels and men, and creatures of what condition soever, though each in different sort and manner, yet all with uniform consent, admiring her as the mother of their peace and joy."—(Hooker I., c. 18, § 8) Teilwng yw nodi fod Hooker yn rhoi sedd deddf ym mynwes Duw, ac nid yw fel y Deistiaid yn rhoi sedd Duw ym mynwes deddf neu ym mynwes natur. Gwahaniaeth pwysig fel y ceir gweled eto.

**Yn ail, megys na wyddom am nifer** amrywiaethau galluoedd a sylwedd, ni wyddom chwaith eto yr oll o'r deddfau yn ol pa rai y gweithredant. Mae darganfyddiadau newyddion bob dydd yn eangu maes gwybodaeth o honynt. Yn drydydd, megys na wyddom yr oll o amrywiaethau galluoedd a sylwedd na'r oll o'r deddfau yn ol pa rai y gweithredant; ni wyddom chwaith yr oll o'r ymddangosiadau a achosir trwy weithrediad gallu a sylwedd, o herwydd yr amrywiaeth afrifed ym mha un y cyssylltir hwynt yn eu gweithrediadau.

Yn awr y mae y gocheliadau *(cautions)* a enwais yn ein dysgu nad ydyw yn iawn dyweyd fod ymddangosiad yn groes i ddeddfau natur, o herwydd ei fod yn wahanol i ddim a welwyd o'r blaen. Mae miloedd o ymddangosiadau o'r fath. Nid yw chwaith yn groes i ddeddfau natur, o herwydd fod *priodoleddau* a *deddfau* adnabyddus gallu a sylwedd yn annigonol i roi cyfrif am fodolaeth unrhyw ymddangosiad. Mae deddfau a phriodoleddau na wyddom am danynt, yn bod yn ddiamnheu. Nid yw ymddangosiad chwaith yn groes i ddeddfau natur, er nad oes un sylwedd na gallu adnabyddus a allent ei achosi. Mae yn ddichonadwy, er nid yn debygol, fod llawer eto heb ei ddarganfod yn y maes hwn. Nid yw ein hanwybodaeth ni yn y cyfeiriadau hyn gan hyny i gael ei adael o'r golwg pan yn barnu yng nghylch credinolrwydd ymddangosiad anesboniadwy. Yr unig amser pan y gellir dyweyd fod unffurfiaeth natur yn cael ei throseddu, yw pan fyddo priodoleddau a deddfau adnabyddus gallu a sylwedd, yn gweithredu yn groes i'w deddf, neu pan maent yn ddiddylanwad o gwbl.

Derbynir y gocheliadau a enwyd yn rhwydd, ac fel rheol *(as a matter of course)* gan astudwyr natur. Os clywant am ryw ymddangosiad annhebyg i neu annghysson â deddf gydnabyddus, nid ydynt yn anghredu, ond derbyniant dystiolaeth, a chasglant fod rhyw wahaniaeth yn bodoli yn y galluoedd mewn gweithrediad, er fod priodoleddau y sylwedd yr un, neu fod cymmysgedd yr elfenau cyfansoddiadol yn wahanol, ond nid effaith naturiol a chyffredin yr elfenau.

Er cadarnhau ac egluro yr hyn a ddywedwyd gellir cymmeryd engreifftiau lawer, ond dichon bydd y canlynol yn ddigon. Nid oes un ddeddf naturiol yn fwy adnabyddus nag effaith gwres ar sylwedd. Effaith gwres ar sylwedd yw ei wneuthur yn fwy. Gwthia gwres y gronynau ym mhellach oddi wrth eu gilydd, ac felly helaetha faintioli y sylwedd. Mae yn ddeddf wedi ei phrofi fod sylwedd yn cynnyddu gyda chynnydd gwres; ond eto dyma i chwi eithriad hynod. Cymmerwch ddwfr yn y tymmer ym mha un y dechreua rewi, sef 32 o raddau yn ol gwres-fesurydd (*thermometer*) Fahrenheit, a mesurwch ei faintioli. Gwedi hyn dechreuwch ei boethi, ond O ryfeddod, yn lle cynnyddu, mae'r dwfr yn lleihau mewn maintioli am ysbaid. Felly gwna pan gyrhaedda 33 o raddau, felly pan gyrhaedda 36°, ac yn y blaen hyd 39. Gwedi cyrhaedd y gradd hyn o wres, mae dwfr yn awr yn chwyddo fel pob sylwedd gwlyb arall o dan effaith cynnydd yn ei wres, ac yn dilyn y ddeddf. Ni wrthodir y ddeddf fod sylwedd yn ymeangu o dan effaith gwres. Ni wadir yr ymddangosiad. Ni ddywedir chwaith fod deddf yn cael ei throseddu, ond cydnabyddir fod rhyw elfenau—rhyw alluoedd ar waith na wyddir am danynt, neu fod rhyw briodoledd yn perthyn i ddwfr yn y tymmer rhwng 32° a 39° ag sydd yn ei dynu allan o gylch gweithrediad y ddeddf, ac yn ei ddarostwng i weithrediad rhyw ddeddf anadnabyddus i ni. Mewn geiriau ereill cydnabyddir ein bod ni yn *anwybodus o'r achos.* Mae yn fwy rhesymol na

gwadu unffurfiaeth natur, neu wadu bodolaeth y ffaith ag sydd yn wahanol i bob deddf a wyddom am dano perthynol i effaith gwres. Mewn llawer caugen eto o wyddoniaeth naturiol mae'n hanwybodaeth ni yn fawr, a'n gwybodaeth ond bychan. Mae mwy i'w ddysgu nag sydd wedi ei ddysgu yn nheyrnas natur. Ym mhob rhan o'i theyrnas credir fod deddf ar yr orsedd, a lle bynag y gwelir ymddangosiad sydd yn groes i'r hyn a wyddir yng nghylch deddfau a phriodoleddau y sylwedd a'r galluoedd ar waith. cydnabyddir ein hanwybodaeth o ryw achos adnabyddus mewn gweithrediad, ond ni wadir unffurfiaeth natur na chredinolrwydd yr ymddangosiad.

Yr ydym yn hawlio y dylid barnu yng nghylch gwyrthiau yn yr un modd; nid yw hyny ond tegwch. Dylem gydnabod gall gwyrth fod yn gysson â deddfau natur mor hawdd ag y gwneir mewn perthynas i unrhyw ymddangosiad eithriadol mewn natur. Nid iawn, nid teg yw collfarnu gwyrth, os na wnaem yr un peth ar yr un rheswm mewn perthynas i ymddangosiad croes i ddeddfau adnabyddus. Dylid defnyddio yr un pwyll, yr un rheswm, wrth farnu gwyrth a barnu ffaith eithriadol mewn gwyddoniaeth; dim mwy, dim llai, ond yr un tegwch Os cydnabyddir ein hanwybodaeth gyda golwg ar achosiaeth un, felly gyda golwg ar y llall Peidiwn â dyweyd ar unwaith fod yr ymddangosiad yn ammhossibl. a gwrthod yr hyn a ellir ei ddwyn ym mlaen ym mhellach dros y wyrth. Na fydded i ni ystyried y wyrth anesbonadwy yn groes i unffurfiaeth natur yn fwy na'r ffaith wyddorol anesbonadwy. Os ydyw cyfaddefiad o'n hanwybodaeth yng nghylch *y modd* yn esboniad digonol mewn perthynas i ffaith hynod ac anghyffredin mewn gwyddoniaeth, dylai fod hefyd mewn perthynas i wyrth. Tra yr ydym yn barod i feddwl mai rhyw beth anadnabyddus i ni yn yr *achosiaeth* yw'r esboniad o ymddangosiad anghyffredin ac eithriadol naturiol, bydded i ni fod yn barod hefyd i wneyd yr un cyfaddefiad mewn perthynas i wyrth. Yn y modd hyn bydd yr athronydd yn gysson ag ef ei hun, yn deg tuag at grefydd, a bydd y drws yn agored i wrando ar unrhyw oleuni pellach a ellir ei roi tu allan i ddeddfau natur, neu o'r tu fewn iddynt, i unrhyw dystiol elh a ellir ei ddwyn ym mlaen o blaid gwyrthiau.

Anghyssondeb, *i.e.*, afresymoldeb fyddai eu troi dros y drws fel anghredadwy, heb un rheswm ond ein hanwybodaeth.

*Parotöedig i'w thraddodi yn Eglwys St. Ann's, Llandegai, gan y Parch. D W. Thomas, M.A., y Ficer, ond rhwystrwyd yr amcan gan afiechyd hyd yn hyn.* "*Man proposes, God disposes.*"

---

## EMYN.

Ti, Dad pawb oll, o dir a môr,
Cân llwythau'r byd i Ti eu Ior,
O bydded yr aneirif gôr
I gyd yn un.

Duw Fab, dy gariad rhad a mawr
A'th wnaeth yn ddyn fel plant y llawr;
Ac ynot gwna â Duw yn awr
Ni oll yn un.

Un Iawn a'n prynodd ni i gyd,
Iuddewon a Chenedloedd byd;
Un Conglfaen sy'n asio 'nghyd
Dau fur yn un.

O! un Emmanuel, pa faint,
Fel Israel, ynot Ti yw'n braint;
Preswylfa oesol wyt i'th saint
Ddeng myrdd —ond un.

Un Ffynnon wyt i bawb a yf
Er iechyd a dyddanwch cryf;
Un Bara pur angylion—dyf
I'n porthi'n un.

Cyduned mawr a bach yng nghyd,
Yr ieuainc gyda'r hen i gyd;
O dan un Bugail boed y byd
Fel praidd yn un.

Duw, Ysbryd Glân, fel boreu wawr,
Colomen nef, disgyna'n awr,
Gostega'r gynhen, heddwch mawr
A gawn yn un.

O Drindod yn yr Undod Glân!
Tri Person, Un Duw diwahân,
Trig yn ein calon ni fel tân,
A'n tawdd yn un.

O gwsg y bedd ar ddiwedd byd,
Cawn felly ddeffro'n llon i gyd
Ar ddelw Crist a'i ddysglaer bryd
Oll, oll yn un.

*Cyf.* GLANMOR.

---

## HANES TRIGOLION. DEFODAU. AC OFERGOELION EWROP CYN CRED.

*Cyfieithad Glanmor—"Germania" Tacitus.*

### I.—CYFFINIAU A THERFYNAU YR ALMAEN.

YR Almaen i gyd a wahenir oddi wrth y Galiaid, a'r Rhætiaid, a'r Pannoniaid, gan yr afonydd Rhine a'r Danube; oddi wrth y Sarmatiaid a'r Daciaid gan ofn eu gilydd, neu gan fynyddau. Y môr a amgylchyna'r rhanau ereill yn cofleidio ceincian gorlydain ac eangder dirfawr o ynysoedd—amryw genedloedd a breninoedd newydd eu dynabod, y rhai a ddug rhyfel i sylw. Y Rhine yn codi yn anhygyrch, a serth grib yr Alpau Rhætiaidd yn troi gyda doleniad cymmedrol i'r gorllewin, a ymgymmysga â'r Eigion Gogleddol. Y Danube, yn tarddu o lariaidd a gweddol dderchafedig gopa mynydd Anoba, a ymwêl â phobloedd lawer, hyd oni ymarllwys drwy chwe safn i'r Môr Pontaidd, canys y seithfed a leibir gan gorsydd.

### II.—DECHREUAD CENEDL YR ELLMYN A'U TRADDODIADAU A'U BARDDAS, &C

Credaf fod y Germaniaid eu hunain yn gynwynolion,[1] ac wedi cymmysgu ychydig iawn gan ddyfodiadau a gwesteiadau,[2] o blegid nis dygid hwynt dros dir ond gan lyngesau. h y., y rhai a geisient newid eu seddau; a'r môr tu draw yn ddirfawr, ac fel y gallaf siarad yn wrthwynebus, a ymwelir yn anfynych gan long[3] o'n parth ni o'r byd. Pwy hefyd, heb law perygl môr garw ac anadnabyddus, gan adael Asia, neu Affrica, neu yr Eidal. a geisiai fyned i Germania wyllt ei thiroedd, erwin ei nefoedd, drom ei diwyll a'i phryd, oddi eithr mai hi yw ei wlad enedigol.

Clodforant mewn hen ganiadau (yr hyn yw'r unig fath i goffadwriaeth a hanesion yn eu mysg) y duw Tuisco, wedi codi o'r ddaiar, a'i fab Mannus, dechreuad a sylfaenwyr y genedl Cyfrifant i Mannus dri mab, oddi wrth enwau pa rai y *tylwyth* nesaf i'r môr a elwir yr Ingævoniaid, y canol Hermioniaid, a'r rhelyw Istævoniaid. Ond rhai, ar goel hynafiaeth, a haerant i ragor darddu o'r duw, a mwy o enwau cenedloedd—Marsiaid, Gambriviaid, Lueviaid, Vandaliaid, ac mai dyma eu gwir a'u hen enwau. Am y rhelyw, fod yr enw Germania yn un diweddar a newydd ei roi, o blegid y rhai cyntaf o honynt, wedi croesi y Rhine yn flaenaf, a ymlidiasant ymaith y Galiaid—y Tungriaid (yn awr) a elwid y pryd hyny y Germaniaid.

### III.—CHWEDLONIAETH, BARDDAS, A CHERDDORIAETH.

Coffânt hefyd i Hercules (Hu Gadarn ?) fydio yn eu plith, a chanant yn gyntaf iddo ef o'r holl wŷr cedyrn wrth gychwyn i frwydr. Y mae iddynt hefyd y caniadau hyn, drwy ddadganiad pa rai (yr hyn a alwant yn farddoni) y cynneuant ysbrydoedd, a daroganant dynged yr ymleddfa ddyfodol oddi wrth y gân ei hun; canys dychrynant ereill, a chymmerant fraw eu hunain, fel y swnia y gad. Ac ni ddylai hyny ymddangos gymmaint yn gynghanedd llais ag un o wrolder. Yn arbenig crasder sain a murmur anhysain a

---

[1] Trigolion naturiol y tir. Ni wyddent wneuthur o un gwaed pob cenedl o ddynion i breswylio ar wyneb y ddaiar, na'u bod yn blant i'r un tad, Adda.

[2] Croesawiad neu lettyad estroniaid.

[3] Gan ychydig o longau.

seldom

amcenir, drwy ddodi y tarianau wrth y genau, fel y bo i'r llais chwyddo yn llawnach a dwysach drwy adgryniad

Ond rhai a farnant hefyd i Ulysses[1] wedi cael ei chwythu i'r eigion hwn, ar y faith a'r chwedlonaidd grwydraeth hòno, ymweled â thiroedd yr Almaen, ac i Ascriburg, yr hon a saif ar lan y Rhine, ac a breswylir hyd heddyw, gael ei sylfaenu a'i henwi ganddo ef. Heb law hyny, fod allor gyssegredig i Ulysses gydag enw ychwanegol ei dad Lærtes arni, i'w chael gynt yn yr un man; a chofolion a thomau[2] cerfysgrifog mewn Groeg hyd heddyw yn aros ar gyffiniau Germania a Rhætia; yr hyn nid yw yn (fy) mryd, na'i gadarnhau drwy dystiolaethau, na'i wrthbrofi: gall pawb dynu ymaith neu gydio ffydd wrth dueddfryd ei galon.

IV.—CORFFOLAETH, PRYDWEDDIAD, &C.

Yr wyf yn cytuno fy hun â barn y sawl a ystyriant fod pobl yr Almaen, heb ymgymmysgu drwy amrywiol briodasau gyda chenedloedd ereill, wedi hanfodi yn genedl briod a phur, a thebyg yn unig iddi ei hun O ba herwydd y mae dull eu cyrff hefyd, er mewn cynnifer mawr o ddynion, yr un fath ynddynt i gyd; llygaid milain a gleision, gwallt coch, cyrff mawr, a grymus yn unig i ymegnïad sydyn. Nis ceir dim cyffelyb oddefiad amyneddgar o lafur a gwaith, a llai fyth y maent wedi ymgynnefino i ddyoddef syched a gwres, oerni ac eisieu bwyd, o herwydd (natur) awyr na thir.

V.—TIR, HINSAWDD, CYNNYRCHION, MWNAU, &C.

Mae y tir, er gwahaniaethu rywfaint mewn prydweddiad, eto ar y cyfan, naill ai yn ddu o goed, neu yn heintus gan gorsydd, yn o wlyb lle'r edrych tua bro y Galiaid, yn o wyntog lle y gwyneba Noricum a Phannonia, yn ddigon toreithiog ond yn analluog i dyfu coed-ffrwythau, yn gynnyrchiog o braidd ond (y rheiny) gan mwyaf yn fân. Nis ceir yn wir hyd yn oed mewn gwartheg fri neu wrddfawredd golygiad. Ymhyfrydant yn eu rhifedi, a'r rhai'n yw eu hunig a'u hoffaf olud. Am arian ac aur yr wyf yn petruso pa un a ddarfu i'r duwiau eu gommedd o ewyllys da neu ddigofaint. Ac eto nis cadarnhâf nad oes un wythïen (o ddaiar) yn Germania yn dwyn arian neu aur, canys pwy a ymchwiliodd? Nid effeithir arnynt gymmaint gan eu perchenogaeth a'u defnyddiad. Gwelir yn eu mysg lestri arian wedi cael eu rhoddi yn anrheg i'w cenadau a'u tywysogion; (ond) yn rhad dim ond rhai a wneir o bridd; er bod y rhai cyfagos, wrth arfer marchnadaeth, a chanddynt bris ar aur ac arian, ac adwaenant a detholant fathau neillduol o'n haiarn ni. Trigolion canol y wlad a arferant newid da, yn fwy syml ac yn y dull hen. Cymmeradwyant arian hen a hir adnabyddus gyda (llun) y cerbyd deufarch. Ceisiant arian hefyd yn fwy nag aur, nid o un gwyrni meddwl, ond o blegid fod nifer y darnau arian yn rhwyddach at wasanaeth marchnatwyr pethau cyffredin ac isel bris.

VI.—ARFOGAETH, BYDDINOEDD, RHYFELYDDIAETH, &C.

Nid yw haiarn yn wir yn helaeth fel y casglir oddi wrth eu math o arfau Ychydig a ddefnyddiant gleddyf neu waewffon o'r maint mwyaf; cariant bicellau, neu yn eu tafodiaeth, "fframéau," gyda haiarn cul a byr, ond mor llym a hylaw at arferiad, fel yr ymladdant â'r un bicell, fel bo'r achos yn gofyn, un ai law-law, neu o hirbell. A'r gwr march yn wir sydd foddlawn ar darian a phicell. Y gwŷr traed hefyd a wasgarant luchion, bob un amryw, ac ergydiant

[1] Brenin Ynysoedd Ithaca a Dulichium. Efe oedd y doethaf a'r mwyaf hyawdl o'r holl gadarweinwyr a aeth i Ryfel Caerdroia. Ar ol hyny bu mewn peryglon a helbulon ar led am ddeng mlynedd cyn d'od adref.

[2] Tomau, *tumuli*, neu tomenau.

hwynt yn dra phell; yn noethlymmun, neu mewn cochl ysgafn—dim ymffrost gwisgiad. ond gwahaniaethant darianau â'r lliwiau mwyaf detholedig; llurigau gan ychydig; prin gan y naill na'r llall beunig neu helm. Y meirch nid ynt hynod am lun neu gyflymdra; ond ni ddysgir hwynt i wneyd amryw ymsymmudiadau yn ol ein harfer ni. Gyrant yn syth ym mlaen. neu gydag un tro ar y de mewn corff mor gryno na bo neb yn olaf. I feirniad. ar y cyfan y mae eu nerth mwyaf yn y gwŷr traed. ac am hyny ymladdant yn gymmysg (ac y mae) esgudrwydd y gwŷr traed yn gyffelyb a chyfaddas i ymdrech y gwŷr meirch; y rhai, detholedig o'r holl ieuenctyd, a gyfleant ym mlaen y gad. A'r rhif a ddynodir—canwr ydynt o bob cwmmwd. a gelwir hwynt wrth yr unrhyw (rif) yn eu plith eu hunain; a'r hyn oedd ar y cyntaf yn rhif. sydd yn awr yn enw ac yn anrhydedd. Cyssodir y gad yn gynion.[1] Ystyriant adael safle, ond bod i chwi ailymosod, yn gyfrwysdra yn hytrach nag ofn. Dyludant gyrff eu gwŷr hefyd mewn brwydrau ammhëus; gadael tarian sydd warth arbenig. ac nid iawn i neb wedi ei ddiraddio na bod yn wyddfodol yn y gyssegr, na dyfod i mewn i gyngor. A llawer o oroeswyr rhyfel a orphenant eu gwarth â theunyn.

VII.—BRENINOEDD, CADLYWYDDION, &C.

Cymmerant freninoedd o fonedd. cadlywyddion o wrolder; ac nid yw gallu mewn breninoedd yn annherfynol neu annibynol; a chadlywyddion ynt. er esampl. yn hytrach nag arglwyddiaeth. Os ymladdant ym mlaen y gad. arlywyddant drwy gymmeradwyad (eu gwŷr). Modd bynag. ni oddefir na barnu, na rhwymo, na fflangellu, yn wir, ond yr offeiriaid—nid megys er poenydiad, nac wrth archiad blaenor; ond megys wrth orchymmyn y duw yr hwn y credant ei fod gyda rhyfelwyr. Cariant hefyd mewn rhyfel luniau ac arwyddion wedi eu cymmeryd o'r llwyni.[2] A'r hyn sydd brif annogaeth i wrolder—nid damwain na ffodus ymgynnulliad—a wna gatrawd neu golofn. ond teuluoedd a pherthynasau; ac yn gyfagos y cedwir y gwystlon, o ba le y clywir wylofain y gwragedd a chri y plant. Dyma y gwystlon mwyaf cyssegredig i bob un; dyma destynau eu clod penaf. Dygant archollion at famau a gwragedd. ac nid ofnant hwythau gyfrif ac ymgeleddu briwiau. a dyludant ymborth ac annogaethau i'r ymladdwyr.

(*I'w barhau.*)

[1] Ar lun cŷn neu drionglyn.

[2] Y llwyni cyssegredig.

## FICER MORWENSTOW.

(*Parhâd o dudal.* 148.)

CWRDD GWEDDI WIL MARTIN.

Tua deng mlynedd ar hugain yn ol cafodd Wil Martin ei droi. a daeth yn gymmeriad sobr yn Kilkhampton: yr oedd hyn yn gyfnewidiad mawr i Wil. Cyrddau gweddi oedd ei brif hyfrydwch os buasai merched ieuainc yno. Yr oedd yn arfer twymo yn y cyrddau hyn. Yr oedd yn gallu pregethu a thraddodi dau neu dri o eiriau ar y tro; a phan oedd ef yn methu cael geiriau yr oedd yn arfer rhuo. Yr oedd yn bregethwr nerthol a chysurus i'r benywod. Cadwodd lawer i gwrdd gweddi yn fyw; o blegid mae hi yn myned yn ddiflas weithiau. canys y mae gweinidogion yr Efengyl yn myned yn fflat fel diod *ginger* wedi tynu y corcyn o'r botel. Gadëwch i mi ddywedyd am hyna. Daeth ein Harchddiacon yma un diwrnod, a gwelais ef â llinynau wedi eu clymu am ei het fel y mae nhw yn clymu poteli *lemonade,* i gadw yr ysbryd ynddo fe i lawr, o herwydd yr oedd ef am godi yn naturiol. Pan oedd ef yn ffaelu

cael geiriau udai fel colomen sugno. "Hw! Y Cythraul! Gyrwch y Cythraul!" Gallech ei glywed yn hela y Cythraul am gan llath ar nosweithiau o'r ty lle yr oedd ef yn arfer arwain cyrddau. Un diwrnod penderfynodd gael cwrdd yng ngwaelod y pentref aufonodd i'r drws nesaf i ofyn benthyg ffwrwm (*form*)—nid *form* o weddi cofiwch—a gwahoddodd ei gymmydogion i uno ag ef. "Y mae yn well i chwi ddyfod; yr ŷm yn myned i gael cwrdd *smart* heno." Felly ni aethom yno, a thyma nhw yn dechreu gweddïo; galw ar y naill ar ol y llall i fyned i weddi "Chwaer. gweddïwch ch'i" "Y brawd Richer Risiart. ewch ch'i i weddi" Richer Davey yn dehcreu: "Y mae fy hen fenyw i," meddai. "o natur ofnadwy; nid oes dim gras achubol ynddi—dim cymmaint a ellir ei roi mewn cynffon chwanen," meddai. "Yr ŷm yn gobeithio pethau gwell, ac 'rwy i yn gweddïo am welliant, ac os na ddaw gwelliant ati hi. ef allai y daw ataf fi. a'i chymmeryd hi i'r lle mae y drygionus wedi methu poeni dynion. a gadael fi, y lluddedig, yn llonydd" Yna dechreuais chwerthin, ond gwelodd Wil Mawr fi, a rhuodd "Gweddïa fel tân Nanni Gilbert" Felly mi gadwais fy llygad arni hi yn benderfynol canys yr oeddwn yn gwybod beth fyddai y diwedd. Hi ddechreuodd, "Ni bryfed y llwch." ac yna gorphenodd. Wedi i ni ddysgwyl am dipyn gwaeddodd Wil Martin. "Gwasga hi maes. Nanni gwasga hi maes." Ond dim gwell; gwasgodd nes iddi gochi. Gruddfanodd, ond dim un weddi. Yna daeth yr Hen Wil. Wil Hir, allan; ond Wil Martin oedd ei enw. "Gweddïwn. fy nghyfeillion," meddai: "Dim ond credu." meddai, "gyrwch y cythraul [rhuo]: tyna fe. tyna fe pam na ellwch ei weled? A ydych chwi yn ei arolgi?" "Y *cabbage* sydd yn arogli," bloeddiai Nanni Gilbert. 'y mae yna rai. a maip hefyd a thamaid o gig moch yn berwi yn y crochon uwch ben y mawn." Yr oedd Nanni allan o dymmer o herwydd iddi ffaelu gweddïo. Yn ei thy hi yr oedd y cwrdd yn cael ei gadw, wyddoch ch'i. Nid oedd y *cabbage* yn cytuno ag ystumog Wil. Rhuai yn uwch nag o'r blaen. "Ffydd. fy nghyfeillion. mynwch ffydd. yna ch'i ellwch arogli y Cythraul." "Os y *cabbage* wyt ti yn feddwl mi allaf arogli un gyda fy nghynneddfau naturiol." "Tyna'r Cythraul," rhuai Wil Martin yn gyffröus. "Hw! gyrwch yr hen Gythraul. Ffydd, fy nghyfeillion, ffydd i grynu uffern. ffydd orchfygol! ffydd i hela y Cythraul." Rhuai, "Dyna fe, gwelaf ef yn hofran uwch eich penau chwi bechaduriaid, fel mae fy llaw i yn hofran uwch ben y ganwyll" Felly cyffyrddai â hi, a gofynai Nanni, "Pa le mae ef? nid wyf yn ei weled, a ellwch chwi ei weled? Nid oes genych ddim ffydd," meddai hi "Yr wyf fi yn gallu ei deimlo yn ymgrafu yn fy mhen ar y rhaniad," gwaeddodd Wil Martin, "mi wela' i un, rhedodd i'r simnai;" a chyda hyn cwympodd hanner llon'd bwced o huddygl i ganol crochan Nanni, rhwng y *cabbage* a'r maip. Pan welodd Nanni hyn yr oedd mor wallgof a Hawker y Person ar amser llongddrylliad. Neidiodd hi i fyny o'r gadair at y crochan, edrychodd beth oedd wedi cael ei wneyd yno. neidiodd at Wil Martin, a gafaelodd yn ei glust. a llusgodd ef at y crochan. a dywedodd, "Y mae yn ffiglu fel tamaid o *fuse;* gadewaist y Cythraul yn rhydd o'th frest, a'i yru i hedfan i fyny i'm simnai i, y wiber; a pharddnodd fy siop i, yr hen ddyn a'r plant. Ac mi weda' i wrthyt, os na wnai di dynu y Cythraul i lawr wrth ei gynffon. fel y gallwn rwbio ei drwyn ynddo. mi rwbiaf dy drwyn di ynddo, mi wnaf." Credwch fi. yr oedd Wil yn crynu, canys nis gallai benyw wedi colli ei chabbage a'i maip wrando pregeth yn dawel.

Fel yr oedd Mr. Hawker yn beneiddio a chyfarwyddo â hen draddod-

iadau Cernywaidd, daeth ei fywyd yn un myfyriol a dirgel. Yr oedd yn darllen *novels* i'w wraig; yr oedd ei feddwl gyda'r gwennoliaid a'r gwylanod yn dawnsio yn yr awyr; yn chwilio am ddammegion ym mhlith y blodau yn yr ardd. neu fyfyrio ar ryw adnod. Eisteddai am oriau mewn dwys fyfyrdod mewn bwthyn uwch ben y môr, a'i hyfrydwch oedd edrych allan o'i gaban ar yr *Atlantic* yn berwi oddi tano; neu ar ei ddeulin yn y gangbell dywell. a myfyrio ar ranau o'r Beibl. Syrthiai i berlewygon, ac yr oedd yn canfod gweledigaethau. Yr oedd y byd ysbrydol yn sylweddol iddo ef Yr oedd ef mor ddiniwed a phlentyn. ac yn enwog am ei haelioni Ni fuasai iddo newid ei fywoliaeth am y ddeoniaeth gyfoethocaf yn Lloegr.

GIRALDUS.

---

## LLINELLAU.

LAWR at yr afon yr aeth rhian dirion,
Du fel yr afon oedd gofid ei chalon,
Dwfn fel yr afon y trallod a'i blinai,
Gwyllt fel yr afon y meddwl a'i llywiai,
Chwim fel yr afon ei gwaed oedd yn curo,
Tra wrth yr afon yr oedd yn myfyrio;
Gwyn fel yr afon wrth daflu ei hewyn
'Roedd ei gwedd farwol tra'n gadael ei bwthyn;
Ei gwallt claer a bwysai ar eira ei dwyfron
Yn fwy hardd na goleu y lloer ar yr afon.
Aeth ymaith, mae'r afon yn araf ymdeithio,
Aeth ymaith, mae'r awel mewn dwysder yn cwyno,
Aeth ymaith, mae mynwes y dyfroedd yn codi,
Aeth ymaith, mae pobpeth yn cwynfan am dani,
Aeth ymaith, mae'r ser o'r ffurfafen yn cilio,
Aeth ymaith, mae'r lleuad yn clafaidd fachludo.
Fe dalodd y deyrnged â'i dagrau llosgedig.
A huna yn dawel dan gysgod yr helyg;
O'r lle daeth yr afon, a'r lle bydd ei thrigfod
Yr adyn a'i twyllodd ni chaiff ef byth wybod;
Ac ni chaiff ei galon oer galed lawenu
Tra rheda yr afon o hyd yn ei gwely;
Ond rhuthra fel ysbryd gwyllt heibio ei annedd,
Gan furmur prudd gwynion yr eneth heb ddiwedd.

HENRI MYLLIN.

*Llansilin.*

## HANES YR EGLWYS YNG NGHYMRU O DEYRNASIAD ELISABETH HYD ORSEDDIAD VICTORIA.

(*Parhâd o dudalen 14[illegible].*)

1714—1773. Mab i ffermwr[1] yn byw ar ei dir ei hun yn sir Frycheiniog oedd Howel Harris. yr hwn a aned yn 1714. Bwriedid ei ddwyn i fyny yn offeiriad, a chadwyd ef mewn ysgol gyfaddas hyd yn ddeunaw oed. Wedi hyny. anfonwyd ef i Rydychain. ond yn fuan ymadawodd â'r brifysgol. wedi alaru ar ymddygiad anghrefyddol ei gydefrydwyr Yr oedd yn y cyfamser dau argraffiadau dyfnion yng nghylch ei gyflwr ysbrydol ei hun. yr hyn a dderbyniodd yn gyntaf wrth wrando offeiriad Talgarth, ei blwyf genedigol, yn pregethu ar y ddyledswydd fawr o gyfranogi o Swper yr Arglwydd, yn enwedig y sylw nad oedd y rhai anghymhwys i ddyfod i'r Cymmun Sanctaidd yn gymhwys chwaith i ddyfod i'r Eglwys. nad oeddynt yn

---

[1] Yr oedd un mab iddo yn deiliwr a brethynwr yn Llundain, lle y casglodd lawer o gyfoeth. Dechreu ei lwyddiant, meddir, fu yn ddigon ysmala. Rhyw nifer o bendefigion ieuainc gwylltion afreolus wedi bod allan yn yfed ac yn gwestota drwy'r nos, wrth fyned adref ar fore, a ddaethant am draws pentwr o geryg palmantu a adewsid ar ochr yr heol, a dechreuasant ystormio siop y teiliwr, a thori'r ffenestri uwch ben. Adnabu Harris rai o honynt, aeth allan drwy'r drws cefn, ac heibio i ben ystrŷd arall. a daeth i'w canol gan lefain, "Gadëwch i minnau gael rhan o'r *job*," ac ymunodd i luchio at y ffenestri yn gynddeiriogwyllt. Wedi cyflawnu yr orchest hyd fodd calon, dechreuasant holi pwy oedd eu cynnorthwywr dyeithr, gwrhewcrus, a diried; ac wedi deall mai y teiliwr ei hun oedd, gogleisiodd y digrifwch eu hedmygedd dros ben mesur. "Dyma hen fachgen iawn," meddent. Talasant yn hardd am yr anrhaith. a thrwy eu dylanwad hwy, aeth yn ddilledydd i deuluoedd pendefigaidd y ddinas a'r wlad. Y mae boneddiges o'i waedoliaeth, y gallem ei henwi, yn mwynhau, ym Mrycheiniog, ei chyfran o gyfoeth y teiliwr hyd heddyw. Y brawd arall oedd yn y Gyllidfa.

gymhwys i fyw. nac yn gymhwys i farw. Ac o hyny allan ymddengys iddo barhau yn gymmunwr cysson hyd ei farwolaeth. Wedi gadael ei goleg yn anamserol aeth i gynghori pechaduriaid o dy i dy; agorodd ysgol yn Nhrefecca; gwerthodd yr hyn oedd ganddo i'w roddi i'r tlodion; ymwisgodd mewn dull diwychder a syml hynod; ai i wylmabsantau. ffeiriau, a champau, i daranu uwch ben pechaduriaid anystyriol. Bu am ryw ysbaid yn canlyn cerddor eglwysig oedd yn myned oddi amgylch i addysgu y corau plwyfol mewn Salmyddiaeth. Yr oedd llawer o offeiriaid yr amser hwnw yn cymmeryd dyddordeb mawr yn addysgiad eu plwyfolion ieuainc ac ereill i ganu mawl. Mae yn amlwg na ddanfonodd neb o'r offeiriaid Methodistaidd na neb arall, mo Harris i bregethu drwy'r wlad, ond iddo gymmeryd y gorchwyl o hono ei hun, gan gredu ei fod yn cael ei gynhyrfu gan Ysbryd Duw, fel y Prophwydi gynt i alw dynion i edifeirwch. Ac fel hwythau, oddi gerth y sawl a berthynent i'r offeiriadaeth. ni ryfygodd drwy ei holl oes i gymmeryd arno weinyddu sacramentau ac ordinhadau yr Eglwys. Ond yn ol tystiolaeth Whitfield, gwnaeth gais ofer deirgwaith am urddiad gan esgob. Er ei gyfrif yn un o "Dadau Ymneillduaeth Cymru" gan ein boll haneswyr Anghydffurfiol, nid ymneillduodd efe ei hun byth. ac ar ryw olygiad yr oedd yn Uchel Eglwyswr. Dyoddefodd lawer o erlidigaeth; cafodd bob math o ammharch; ei gamddeall gan yr Eglwys, a chan ei gyfeillion Methodistaidd; ei guro a'i faedddu yn aml gan fwystfilod annuwiol ac afreolus; ei hwyo â phastynau, dyrnau, a thraed. a'i labyddio â cheryg. fel y bu o fewn ychydig i farw yn ferthyr ym Mhenmorfa. yn Arfon; Llanuwchllyn. Dinbych, Henffordd. Caerlleon ar Wysg, Pont y Pŵl, a llawer o fanau ereill. Ceisiwyd ei saethu yn Rhydyclafdy, y Bala, a Machynlleth; a'i foddi yn y Traeth Mawr. Pregethid yn ei erbyn mewn llawer o fanau. Dywedai rhai ei fod yn dwyllwr, rhai ei fod yn wallgof. rhai fod cythraul ganddo, rhai ei fod yn gyfeiliornwr ac yn Sabeliad. a hyn a berodd i D. Rowlands, Llangeitho, ymwrthod â phob cydweithrediad a chyssylltiad ag ef. tua'r flwyddyn 1751. a dyranwyd eu canlynwyr yn ddwy blaid ymrysongar; y naill yn myned ar enw Rowlands, a'r llall ar enw Harris. Parodd hyn ddigalondid a diffrwythdra mawr gyda golwg ar y symmudiad Methodistaidd dros agos i bymtheng mlynedd. Y pryd hyn penderfynodd Harris encilio rhag digofaint tanllyd ei elynion. ac oerfelgarwch a gwg ei hen gyfeillion, i fath o grefydd-dy mynachaidd a sylfaenwyd ganddo yn Nhrefecca. lle y cadwai "oriau canonaidd" i weddïo a phregethu ddydd a nos. A phob Sul a gwyl ai yr holl frawdoliaeth yn fyntai reolaidd i Eglwys y Plwyf, yn yr hon yr adeiladwyd llofft ganu fawr at eu gwasanaeth, a derbynient o law y ficer, ac ar wahân oddi wrth ereill, y Cymmun Bendigaid gyda'r cyssondeb mwyaf. Yr oeddynt o gant i chwech ugain o feibion a merched. Yr oedd y rhan fwyaf yn cyfanneddu yn y crefydd-dy. ac ereill yn trin tir yn y gymmydogaeth. Ac i'r dyben hwn y cymmerth Harris lawer o ffermydd a thyddynod o amgylch Trefecca. Ond yma ychwaith nid oedd noddfa dawel o swn athrod a gogan oddi allan. a grwgnachrwydd rhai, meddir. oddi mewn. Cwynent fod y fywoliaeth yn wael, a'r ddysgyblaeth yn gaeth. Gwneid y sefydliad yn destyn gwawd a digrifwch mewn interliwdiau; a chyhuddid ef o ddwyn plant oddi wrth eu rhieni a gwragedd oddi ar eu gwŷr. Sylfaenwyd y crefydd-dy hwn yn 1752, a thröwyd ef yn athrofa i ddwyn gwŷr ieuainc i fyny i'r weinidogaeth gan yr Iarlles Huntingdon yn 1768. Yr oedd Harris erbyn hyn wedi ymgymmodi â'r hen frodyr, ac yr

oedd yr Iarlles ei hun, yr Iarlles Buchan, yr Arglwyddes Ann Erskine, Miss Orson, Wesley, a Whitfield, Shirley, a Fletcher, Rowlands o Langeitho, Williams Pantycelyn, Howel Dafis, Peter Williams, a Harris yn wyddfodol y diwrnod hygof hwnw.

Wyth mlynedd cyn hyn, pan yr oedd ofn mawr drwy'r holl deyrnas rhag i'r Ffrancod wneyd ymgyrch ar dir Lloegr, ymunodd Harris â Milwysion (*Militia*) Breninol Brycheiniog, yn gyntaf fel banerwr, ac wedi hyny dyrchafwyd ef yn gadben. Cymmerodd pedwar ar hugain o frodyr ei grefydd-dy arfau fel gwirfoddolwyr dano ef. Ar eu holl ymdeithau pregethai y Capt. Harris yn ei wisg filwraidd, a'i gleddyf ar ei glun; ac felly arswydai derfysgwyr ac erlidwyr rhag ymosod arno.

Bu'r Capt. Harris farw yn ddedwyd iawn yn haf 1773, a claddwyd ef tu fewn i Eglwys Talgarth, dan y llanerchyn lle yr eisteddai pan lewyrchodd goleuni o'r nef gyntaf ar ei enaid. Dywedir i'r person fethu darllen y Gwasanaeth Angladdol o blegid ei orchfygu gan alar; iddo estyn y llyfr i offeiriad arall, a hwnw idrydydd, ond gorchfygwyd teimladau y tri, fel y methasant fyned ym mlaen, a dodwyd ei gorff i orphwys gyda dagrau ac ocheneidiau y dorf fawr oedd yn ei gynhebrwg. Fel y sylwasom eisoes, parhaodd yn aelod o'r Eglwys hyd angeu, ac ni ddarfu iddo erioed ymneillduo nac anghydffurfio.

1717—1791. Am y Parch. W. Williams, Pantycelyn, per-hymnydd Cy ru, cafodd urdd diacon yn yr Eglwys, a gwasanaethodd dair blynedd fel curad, pan ommeddwyd iddo urdd offeiriad, ac y troes yn bregethwr teithiol o'r Ysgol Fethodistaidd. Dywedir ei fod yn llefarwr galluog, ond fel prydydd y cyssegr yr anfarwolodd ei enw. Er mai ychydig iawn o gywreinder celfydd, neu yn wir o gywirdeb mydryddol ac odliadol bardd sydd yn ei emynau, y mae ynddynt gymmaint o deimlad a bywyd ysbrydol ac o dân nefol, fel y maent wedi bod megys per arogldarth moliant cenedlaethol dros gan mlyned bellach. Yr oedd yn hwyrddydd ei oes mor frawychus ac ofergoelus na feiddio fyned allan heb ei wraig neu rywun i'w hebrwng wedi tywyllu nos, rhag ofn gweled canwyll gorff, tân ellyll, ysbryd un o'r meirwon, tylwyth teg, neu ryw fodau annaiarol lledrithog ereill.

Cyfrifai rhai Howel Davies yn gystal pregethwr a Rowlands o Langeitho. Dysgybl oedd i Griffith Jones o Landdowror, a bu dros ryw ysbaid yn gurad Llysyfrân, sir Benfro, nes i'w weinidogaeth fyned yn rhy hallt i lawer, a throes yntau yn bregethwr teithiol, yn benaf yn y sir hòno; a phan oddefai ei iechyd, teithiai barthau ereill o Dde a Gwynedd.

Tua'r amser hwnw y gwnaeth yr Iarlles Huntingdon a'i dwy ferch, a'r Arglwyddesau Anne a Frances Hastings ymdaith drwy Gymru, gan gymmeryd gyda hwynt Mr. Bateman, (person Bartholomëus Fawr, Llundain, un o ddychweledigion Dafis), Griffith Jones, Llanddowror, Daniel Rowlands, a Howel Harris, y rhai a bregethent ym mhob tref a phentref ar eu ffordd. Yr oedd Howel Davies yn eu dilyn ran o'r daith. Bu farw yn y flwyddyn 1770, a chladdwyd ef o'r tu fewn i Eglwys Pengast,[1] ger llaw Hwlffordd.

1735—1810. Un hefyd o'r offeiriaid enwocaf yn y symmudiad Methodistaidd oedd y Parch. David Jones o Langan; a thros lawer o flynyddoedd gwrthsafodd yn effeithiol yr ymgais i ordeinio gweinidogion, yn lle clerigwyr mewn urddau esgobyddol, ac *ymneillduo* oddi wrth Eglwys Lloegr mewn canlyniad; ac ni chymmerth yr ymraniad le tra bu efe byw, o blegid ei fawr ddylanwad; ond wedi ei farw llwyddodd y blaid

---

[1] Pendergast.

y soniasom am dani eisoes i wneyd y Methodistiaid nid yn frawdoliaeth neu yn blaid yn yr Eglwys, ond yn sect ymneillduol. Yn y flwyddyn 1758 yr urddwyd Mr. Jones, yr hwn oedd frodor o Lanllieni, ar lan yr afon Teifi, yn sir Gaerfyrddin, a thrwyddedwyd ef i guradiaeth Llanafan Fawr, yn sir Frycheiniog. Wedi hyny gwasanaethodd blwyf yn Arfon, ac oddi yno symmudodd i Lanfeddin ym Mynwy, ac i Gaerodor a swydd Wilts wedi hyny. Yno daeth i sylw yr Iarlles haelfrydig o Huntingdon, a thrwy ei dylanwad hi y cafodd o law ei chyfeilles grefyddol, yr Arglwyddes Charlotte Edwin, fywoliaeth Llangan, yn esgobaeth Llandaf, a daliodd y berigloriaeth hòno hyd ei farwolaeth. Dywedir ei fod yn un o'r pregethwyr mwyaf dengar a thoddiadol yn ei oes, a rhaid bod rhyw wahaniaeth mawr yn ei ddull rhagor Howel Harris, o blegid yr oedd hyawdledd Dafydd Jones o Langan yn diffrwytho breichiau ac yn lladd gelyniaeth ei erlidwyr wrth ei wrandaw.[1] Wyr iddo ef yw y Dr Llewelyn, Deon Ty Ddewi, Prifathraw Coleg Sant Dewi, Llanbedr.

1753—1784. Un arall o gyfeillion crefyddol a chydlafurwyr D Jones o Langan oedd y Parch Christopher Bassett, curad yr enwog W. Romaine, person Sant Ann's, Blackfriars, Llundain. Oddi yno symmudodd i guradiaeth Sant Ffagan, Caerdyf; a Phorthceri wedi hyny. Pan oedd gorfoledd wedi tori allan yn Llandyrnóg Dyffryn Clwyd, dan bregethiad Jones o Langan, neu Rowlands o Langeitho, dywedir bod Christopher Bassett, offeiriad o Forganwg, yn neidio ac yn moli Duw. Bu farw ym mlodau ei ddyddiau.

1722—1796. Un o'r clerigwyr mwyaf galluog a dysgedig o'r frawdoliaeth Fethodistaidd oedd Peter Williams. Yr oedd yn ddyn a aned i flinder mwy na chyffredin. Yr oedd ei fryd er yn blentyn ar fod yn offeiriad, ond wedi derbyn urddiad ymlidid ef gan ryw bethau anwybodus ac anfoddog o'r naill guradiaeth i'r llall yn ddiymaros; ac wedi troi yn bregethwr Methodistaidd teithiol, dyoddefodd erlidigaeth chwerw y dyrfa fochaidd o annuwiolion, yn enwedig yn ei grwydriadau yng Ngogledd Cymru; ac yn niwedd ei oes cafodd ei dori ymaith oddi wrth y Methodistiaid ar gyhuddiad o Sabeliaeth, canys felly y deonglent ei sylwadau ar y bennod gyntaf o Efengyl Sant Ioan yn ei Feibl mawr teuluaidd. Gwnaed cais ofer i alw i fyny a dinystrio y rhifyn hwnw o'r gwaith. Fel hyn y cythryblwyd y frawdoliaeth dros agos i ugain mlynedd, ac y bu ar fin ymrwygo yn ddwyblaid ysgaredig. Wedi i Peter Williams wasanaethu y gymdeithas Fethodistaidd gyda ffyddlondeb a medr mawr dros bedair blynedd a deugain, ciciwyd ef allan o holl bulpudau y Corff. Fel hyn y mae yn dygwydd yn rhy aml, mai y dynion a wrthryfelant yn erbyn awdurdod a geir yn fwyaf tra-arglwyddiaethgar eu hunain.

1749—1826. Un arall o'r offeiriaid Methodistaidd oedd William Jones, person Llandudoch dros hanner can mlynedd. Yr oedd yn bregethwr galluog a phoblogaidd iawn, a thorfëydd lawer yn ymgasglu i'w wrando yn Eglwys ei blwyf, ac ar led yr holl wlad. Ond yn 1811, pan ymneillduodd y Methodistiaid, ac yr ymgorfforasant yn enwad Anghydffurfiol, ciliodd Mr. Jones oddi wrthynt o'r dydd hwnw allan.

1756—1834. Nid oedd er hyny neb o bleidwyr boreu Methodistiaeth yn fwy hynod ei hyawdledd a'i

[1] Adroddir hanesyn hynod o'r fath am effaith ei bregeth yn Llanbedr Dyffryn Clwyd, pan ddaeth myntai o laslanciau Ysgol Rhuthin, a llebanod y dref mewn diwyg dyeithrol, a'u gwynebau wedi eu pardduo, dan arweiniad cigydd ymladdgar i ymosod arno. Wedi gwrando dros ychydig fynydau, modd bynag, tyngodd y cigydd yn enw'r Diafol y mynai chwareu teg iddo bregethu.

boblogrwydd na David Griffiths, ficer Nevern neu Nanhyfer am un mlynedd ar ddeg a deugain. Gwr cyfoethog a boneddig iawn oedd Mr. Griffiths. Yr oedd yn berffaith feistr ar ei gynnulleidfa bob amser, ac effeithiau synfawr yn dilyn ei weinidogaeth gartref yn gystal ac oddi cartref.

"Ryw ddiwrnod teg yn yr haf." meddai Mr. Richards o Gaerwys, "yr oedd y gwr parchedig uchod (D. Griffiths o Nevern) i bregethu am un ar ddeg yn Eglwys Penbryn, Ceredigion. Aethant i'r Eglwys a darllenwyd y Gwasanaeth Boreuol, ac ar ddiwedd y Gwasanaeth dywedwyd bod mwy o lawer o bobl allan nag ydoedd yn yr Eglwys, er ei bod wedi ei gorlenwi o ben bwygilydd. Aeth y gwr parchedig allan drwy'r ffenestr, a safodd ar gareg bedd tu allan ar gyfer y pulpud. *a phregethodd hyd fachlud haul!* Ac ugeiniau o'r dyrfa hòno a briodolent eu holl sobrwydd a'u duwioldeb i'r bregeth hòno. fel moddion." Ymadawodd yntau hefyd yn llwyr â'r Methodistiaid o'r flwyddyn 1811 allan.

Yr oedd Mr. Griffiths yn un o'r pedwar gweinidog mewn urddau esgobol yn Eglwys Lloegr a osododd yr Arglwyddes Huntingdon i weinyddu yn eu cylch yn ei chapeli yn Llundain. dros dri mis bob blwyddyn: sef y Parchedigion D. Jones o Langan, Nathaniel Rowlands, mab D. Rowlands o Langeitho. Thomas Charles o'r Bala a D. Griffiths o Nevern.

Am Mr. Charles, ymneillduodd gyda'r Corff, ond gwnaeth ei oreu drwy ei *Hyfforddwr* i gadw'r enwad yn iach ei farn ar athrawiaethau a sacramentau ein Harglwydd Iesu Grist, a thrwy ei *Eiriadur*, yr Ysgol Sul. a Chymdeithas y Beibl, bu yn wasanaeth mawr i'r genedl.

Peth tra rhyfedd fel y sylwyd, yw bod yr offeiriaid Methodistaidd oll yn Ddeheuwyr; oddi gerth un neu ddau. megys Simon Llwyd o'r Bala, yr hwn oedd yn wr dysgedig a chyfoethog; a pharhaodd i weinidogaethu yn y Corff wedi "ymneillduad 1811." Nid oedd yn bregethwr poblogaidd, ond yn ysgrifenwr galluog, fel y prawf ei *Amseryddiaeth Ysgrythyrol*, a'i *Esboniad ar Lyfr y Dadguddiad*. Un o hen Lwydiaid boneddol Plasyndre. Bala, oedd, a phan yn gurad Bryneglwys yn Ial cynnygiodd Syr Watkin W. Wynne iddo fywoliaeth Llanuwchllyn, ond nacäes yr Esgob Horsley o Lanelwy gadarnhau ei benodiad am ei fod wedi clywed bod ynddo duedd Fethodistaidd. Y mae yn amlwg bod yr esgob yn gydwybodol a phenderfynol pan wrthwynebai ewyllys barwnig mor ddylanwadol a galluog a Syr Watkin, ac y gwrthodai wr boneddig o'r Brifysgol ac o hen deulu parchus.

Cyn lleied a wyddai esgobion Seisonig Cymru am deimlad crefyddol y werin a'r wlad, yn y cyfamser. fel y tybient nad oedd eisieu dim ond iddynt wgu ar y "symmudiad Methodistaidd" i beri iddo wywo a chrino fel y ffigysbren diffrwyth.

Fel hyn y traethasom yn lled faith ar y "symmudiad Methodistaidd," sef hyd sylfaeniad yr enwad fel corff annibynol yn 1811, o blegid yn yr Eglwys y dechreuodd ac y parhaodd dros ran fawr o gan mlynedd Y mae ei helynt yn orlawn o addysg i'r Eglwys, ac i bawb a fynant "gadw undeb yr ysbryd yng nghwlwm tangnefedd " Y mae "symmudiadau crefyddol" o'r fath yn anhebgorol ar adegau o farweidd-dra ysbrydol ac o lygredigaeth moesol; ond y mae perygl bob amser eu cario yn rhy bell—i dir pleidgarwch, ymrafael. ac ymraniad, a gwrthryfel yn erbyn awdurdod eglwysig.

Awn rhagom yn nesaf i son am Eglwyswyr enwog cydoesol heb fod mewn cyssylltiad â Methodistiaeth. Ond rhaid i hanesydd ymddiriedadwy fod yn onest. Rhaid iddo fod yn ddigon eofn i edrych gwirionedd yn ei wyneb. er y gall hyny fod yn anarchwaethol i'w blaid ei hun, ac

yn chwerw i'w deimladau a'i ddymuniadau personol. Ac felly, gyda golwg ar y symmudiad Methodistaidd, rhaid i ni edrych ar ei holl gyssylltiadau, a'i ddylanwad ar yr Eglwys a'r enwadau ymneillduol cyfamserol. Y mae yn ddiddadl fod y Methodistiaid Calfinaidd wedi gyru eiddigedd mawr ar yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr oedd yn huno cyn hyny, a denu Wesleyaeth i Gymru;[1] ac wedi deffroi yr Eglwys i weithgarwch Apostolaidd; o blegid o'r flwyddyn 1811 y mae yr Eglwys wedi gwneyd mwy er addysgiad y werin, ac adeiladu ac adgyweirio Eglwysydd, adferu crefydd ysbrydol ac ymarferol, tröedigaeth y byd paganaidd, a gogoneddiad Crefydd Crist dan haul, nag a wnaed erioed o'r blaen. Ymadawodd y Corff, ond arosodd yr ysbryd, y sechinah a'r gogoniant, gan gau allan y seculariaid a fynant fwrw Gair Duw allan o'n hysgolion dyddiol Gweddi'r Arglwydd, a phob addysg crefyddol.

Hyd yn ddiweddar iawn yr oedd addysgiad plant ac ieuenctyd wedi bod yn gwbl yn nwylaw yr Eglwys. Er cyn cof yr oedd ganddi ei hysgolplwyfol gyda rhywfaint o waddoliad mewn aneirif fanau, ond yn nechreu y ganrif bresennol sefydlodd yr Eglwys yr Ysgolion Gwladwriaethol drwy holl Loegr a Chymru, ac o'r pryd hyny hyd heddyw cyfranodd Eglwyswyr saith miliwn ar hugain o bunnau (£27,000,000) yn wirfoddol tuag at adeiladu y cyfryw ysgolion, heb law llawer mwy tuag at eu cynnaliaeth. Ni chydnabyddwyd erioed y ddyled fawr o ddiolchgarwch deilwng i'r offeiriaid plwyfol am hyn, llawer o ba rai a gyfranasant yn helaeth o'u prinder i addysgu miloedd o blant Ymneillduwyr, ac nid ychydig o'r pregethwyr sydd yn awr mor groch eu lleferydd am ddadgyssylltu, dadsefydlu, a dadwaddoli yr Eglwys hòno a ddysgodd iddynt yn gyntaf lythyren ar lyfr! A chyda'r priodoldeb mwyaf gall yr Eglwys ddweyd, "Megais a methrinais feibion, a hwy a wrthryfelasant i'm herbyn." Ac yn awr y mae addysgiad y genedl yn debyg o fyned i ddwylaw dynion na wnaethant ddim erioed o'r blaen gyda golwg ar hyn; ac y mae pwrs y wlad yn eu cyrhaedd. O'r flwyddyn 1840 hyd ddiwedd 1874, casglwyd tuag at adeiladu ac adgyweirio Eglwysydd yn y pedair esgobaeth Gymreig y swm dirfawr o £1,312,618; sef yn esgobaeth Llanelwy, £408,371; Llandaf, £374,453; Ty Ddewi, £368,482; Bangor, £161,312.

(*I'w barhau.*)

6 p 208

## GOLWG AR GWRS Y BYD.

### CYMDEITHAS Y DADGYSSYLLTIAD.

Yr oedd un o'r hen ysweiniaid gwyddelig yn llawer mwy hoff o hela llwynogod na thalu sylw i'w faterion personol. Yr oedd amryw *writs* allan yn ei erbyn, ond nid oedd yn bossibl cael gafael ynddo; nid oedd dim un perygl i'r ceisbyliaid ei ddal ar gefn ei farch. Un boreu cyn iddo fyned allan aeth y beiliaid i lwyn o goed o flaen y plas, a chyn iddo fyned i'r cyfrwy yr oedd y beili yng ngafael â'i goler, a gorfu iddo dalu yn y fan. Rhyw dro ar ol hyn, cyn myned allan, elai â'i wn yn ei law, a gwaeddai allan, "Unwaith, dwywaith, teirgwaith," a saethai i'r llwyn.

Y mae cymdeithas y Libertiniaid yr un fath; yr wythnos ddiweddaf gollyngodd y gymdeithas ei hergydion at y clochdy. Y pen saethwr y tro yma yn Swindon oedd Mr. Henry Russell Evans o Gasnewydd ar Wysg, un o oleuadau y Radicaliaid yn sir Fynwy, yr hwn sydd yn bwriadu sefyll dros Bricklade pan ddaw etholiad o gwmpas eto. Gyda llaw, y

[1] Planwyd Methodistiaeth Wesleyaidd yng Nghymru gan John Bryan ac ereill fel cenadau oddi wrth y corff hwnw yn Lloegr, ac ni wyddom i un offeiriad Cymreig ymgyssylltu â'r symmudiad.

mae cymmaint o siawns gan ysgrifenydd y llinellau hyn droi Syr Daniel Gooch allan ag sydd gan y cyfaill Evans Nid oedd y cyfarfod mawr dadgyssylltiol dan lywyddiaeth Mr. Russel Evans ddim ond hud a lledrith, croen oen ar bared. Y mae pleidwyr y gymdeithas yn cadw llawer o swn; y mae yn hurio plant Balaam fab Peor i regu a chablu Eglwys Lloegr. Yn fuan ar ol etholiad 1874, pan ddadymchwelwyd Radicaliaeth, cyhoeddodd y Meistri Henry Richard a Mr. Miall a'u cwmni ryfelgyrch aruthrol—i gael ei dwyn ym mlaen yn erbyn Eglwys Lloegr: yr oedd cenadon i gael eu hanfon allan wrth y cannoedd, a channoedd o filoedd o bamphledau. Nid oedd un gwahaniaeth beth fyddai y draul, yr oeddynt yn barod i syrthio yn yr adfail fel Samson. Ond nid yw y fyddin ddarlithyddol a phetipanelaidd wedi gwneyd ei hymddangosiad eto. ac mae y pamphledau wedi cael eu defnyddio gan weithwyr *lollypops*.

Er pan ddaeth y Weinyddiaeth i awdurdod, y mae dylanwad y gymdeithas yn myned yn feinach fel y mae yn myned ym mlaen. Anfonodd papyrau Llundain eu *reporters* i Swindon, ac yr oedd gofyn am nifer ychwanegol o ddwylaw i weithio y telegraph. Hysbyswyd y cyhoedd fod y Meistri Watkin Williams, Osborne Morgan, Henry Richard, a Morgan Lloyd, a goleuadau ereill. i fod yno. Yr oedd llygaid yr holl deyrnas ar Swindon, ond ar ol yr holl ferw a'r gwewyr esgorodd y mynydd ar lygoden. Methodd y gwŷr â'r tanffyrch gyuneu y goelcerth. Methodd Mr. Richard â chael amser i fyned yno. ond ar y fynyd olaf anfonodd lythyr cysson iddynt i hysbysu y ffaith, a'i fod yn gwybod fod mwyrif pobl Swindon yn ddadgyssylltwyr, a'i fod ef yn gweled oddi wrth arwyddion yr amserau fod dydd gofwy yr Eglwysi Sefydledig yn ymyl. Os yw yn bossibl y mae yn ofynol codi helfa newydd; nid yn gymmaint o herwydd fod camdrefniadau yn yr Eglwys. ond mae yn rhaid gwneyd ceffyl brethyn o'r Eglwys, ac mae ef yn credu y bydd i'r cri uno y blaid Ryddfrydol yng nghyd. Y mae yn rhaid aberthu pob peth—yr allor, ïe os bydd achos yr orsedd. Buasai llawer o'r Radicaliaid yn falch o'r cyfle i dynu yr orsedd i lawr.

### CYNNYG ARALL I FEDDIANNU MYNWENTYDD YR EGLWYS.

Y mae Iarll Granville wedi ymuno â'r blaid sydd am drawsfeddiannu y mynwentydd. Cynnygiodd gwelliant ar y Bil Claddu, sef rhoddi rhyddid i berthynasau y marw i'w claddu gyda'r ffurfiau Cristionogol a welent hwy fod yn dda. Yr oedd y pendefigion urddasol yn credu fod yr Ymneillduwyr yn cael cam mawr oddi ar law yr Eglwys; nid oedd eu rhesymau ond hen bethau y rhai sydd wedi eu gwisgo gan yr Ymneillduwyr politicaidd. Mae yn ddigon eglur oddi wrth ystadegau sydd wedi cael eu casglu, nad oes dim un achos gan yr Ymneillduwyr i achwyn, ac nid oes un gormes yn bod ond ym mhenau aflonyddwyr sydd yn canlyn Cymdeithas y Dadgyssylltiad fel fwlturiaid yn dysgwyl am ysglyfaeth.

### TYWYSOG CYMRU.

Nid oes un lle fel cartref. ac mae Tywysog Cymru gartref unwaith eto, ar ol treulio saith mis yn India &c.; ac yn y saith mis yma gwelodd fwy o'r byd na welodd yr holl dywysogion o Iorwerth II., a'u rhoddi gyda eu gilydd hyd heddyw. Mae yn syndod iddo deithio cymmaint mewn amser mor fyr. Aeth dros hanner Ewrop cyn myned i'r India. Ymwelodd ag Athen, a rhoddodd Seren yr India i fab y Khedive yn Alexandria Treuliodd ddiwrnod dan y *Pyramids*, ac aeth trwy y Môr Coch, a thros y Weilgi Indiaidd. a thiriodd yn Bombay. O Bombay i Ceylon, Ceylon i

Calcutta, Calcutta i Benares, Benares i Caunpore, Caunpore i Delhi, Lucknow, Cashmere a Thir y Rhosynau, i Urmitzer, i Agra a Gwalior. Ar ol ei holl deithio a'i ludded dywedir ei fod yn edrych yn rhagorol. Er iddo gael derbyniad ardderchog, a gweled golygfëydd a gwledydd na welodd un tywysog o'i flaen, yr oedd yn falch, fel y dywedodd wrth Faer Portsmouth, i ddychwelyd adref i fwynhau cwmni ei wraig a'i blant

Nid oedd gan yr Indiaid un drych feddwl am eu llywodraethwyr cyn i'r Tywysog fyned i ymweled â hwy. Nis gallai y genedl anfon gwell cynnrychiolydd na'r Tywysog. Dywedir ei fod wedi gadael argraffiadau dyfnion ar y penaethiaid brodorol. Y mae yn amlwg fod poblogrwydd y Tywysog yn myned ar gynnydd er pan bu ef yn glaf. Ni dderbyniodd un tywysog erioed dderbyniad mor frwdfrydig ag a dderbyniodd ef Yr oedd yn ddigon i rewi teimladau y Republicaniaid a'r Radicaliaid.

### Y RHYDDFRYDWYR AC YMHERODRES YR INDIA.

Pan oedd heolydd Llundain yn adseinio gan floeddiadau y miloedd i longyfarch Tywysog Cymru, yr oedd Syr Henry James yn gosod Gweinyddiaeth Mr. Disraeli ar ei phrawf, o herwydd nad oedd y proclamasiwn yn unol â'r addewidion a roddodd y Weinyddiaeth; yr oedd yr achwyniad yn un mor ddibwynt fel nad oedd yn bossibl gwneyd dim o hono.

Pan ranwyd y Ty yr oedd gan y Ceidwadwyr fwyrif ardderchog o 108 allan o 560—33 yn fwy nag oedd ar y trydydd darlleniad. Siarad am deimlad y wlad ar y pwnc yn wir; lol botes. Nid oes gan y bobl ddim un teimlad ar y mater yn erbyn y teitl, ond y mae yn amlwg oddi wrth y petisiynau fod y wlad yn ffafriol i'r teitl; nid oedd dim braidd ddwsin yn ei erbyn. Nis gall unrhyw Radical coch, gwyn, na llwyd wadu, ar ol yr hyn a gymmerodd le y nos o'r blaen, nad oes dim un gobaith yn bresennol i ddadymchwelyd y Weinyddiaeth Gyfansoddiadol.

### JOHN WESLEY A'I WRAIG.

Yn ddiweddar ymddangosodd hanes bywyd John Wesley gan y Parch. L Tyerman Ceir yn y bywgraffiad hanes cyflawn o fywyd priodasol John Wesley. Yr oedd ei fywyd yn fwy truenus nag y meddyliodd ei elynion na'i gyfeillion Rhydd hanes cyflawn am garwriaeth Wesley â Grace Murray, yr hon oedd un amser yn forwyn weini. Dysgrifia hi fel hoeden galon galed. Buasai y briodas yn fwy dedwydd na'i briodas â'r weddw ofnadwy Vazeille. Yr oedd y briodas hon yn ergyd trwm i'w frawd Siarls. "Gwrthodais fyned gydag ef i'r capel," ebai Siarls, "ac aethym o'r neilldu i alaru gyda fy Sally ffyddlon. Gruddfanais trwy'r dydd, ac amryw ddyddiau r ol hyn, dros fy meichiau fy hun a beichiau pobl ereill Nis gallwn archwaethu bwyd, na phregethu, na gorphwys ddydd na nos." Yr oedd bywyd priodasol John Wesley yn un truenus, a pharhaodd am ddeng mlynedd ar hugain Ysgrifenodd un Mr. Hampson ar y pryd,—"Jack. bûm bron â chyflawnu llofruddiaeth. Unwaith, pan oeddwn yng Ngogledd yr Iwerddon, aethym i ystafell, a chefais Mrs. Wesley yn malu ewin o natur ddrwg. Yr oedd ei gwr ar y llawr, lle yr oedd hi wedi bod yn ei lusgo wrth ei wallt, ac yr oedd hi yn dal yn ei llaw gudynau hybarch, y rhai oedd hi wedi dynu o'r gwraidd. Yr oeddwn yn teimlo y gallwn daro ei henaid allan o honi. Dywedodd Wesley wrthyf ei fod yn credu fod yr Arglwydd yn goruchlywodraethu y cyfan er ei les; pe buasai Mrs. Wesley yn well gwraig, dichon y buasai iddo ef fod yn anffyddlon i'r gwaith oedd Duw wedi ei alw."

### YMNEILLDUAETH YN YMBURO.

Yr ŷm yn cofio yr amser pan oedd

capeli y Methodistiaid yn ymwrthod yn hollol â gwleidyddiaeth, ond y mae wedi cyfnewid; pregethu Crist ddydd Sul, a phregethu *Members of Parliament* dydd Llun a thrwy'r wythnos yw y rheol heddyw: yn lle adrodd a gwrando profiadau yn y seiet breifat, ymdrafod â lecsiwnyddiaeth ar ol odfaon gwresog a hwyliog. Nid yw rhyddid ddim ond ffug, y mae y sgriw gapelaidd yn ei llawn rym yn sir Aberteifi yn neillduol; y gweinidogion yn gosod y *screw*, a *my lord deacons* â'u *screw*, a *screw* fawr y Cwrdd Misol a'r Sassiynau, lle mae y pregethwyr a'r diaconiaid yn cydweithio i'w osod ar fodiau y cynnulleidfaoedd. Ym mis Mawrth cynnaliwyd cyfarfod misol sir Aberteifi yn Blaenannerch. Penderfynwyd fod i'r Corff i ddewis ei ymgeisydd seneddol ei hun, ac ni ddewisir neb ond y sawl sydd yn barod i gymmeryd ei lw ar allor y cwrdd misol y bydd iddo dynu Eglwys Lloegr i lawr. Pasiwyd y penderfyniad haerllug hwn heb gydsyniad y cynnulleidfaoedd yn gyffredinol. Ni wnelai Pio Nono anffaeledig a'i gardinaliaid ddim mwy na hyn Siarad am *briestcraft* ac haerllugrwydd y Babaeth, nid yw ddim gwaeth nag Ymneillduaeth Gymreig. Nid oes dim un hawl nac awdurdod gan y pregethwyr a *my lords* ar gydwybodau a barn boliticaidd eu cynnulleidfaoedd. Y mae terfynau i haerllugrwydd, ond mae y penderfyniad hwn tu hwnt i bob terfynau; nid oes dim un adnod na phennod i warantu y fath ymddygiad. Yr ym yn gofyn i gynnulleidfaoedd sir Aberteifi, a ydynt hwy yn myned i gymmeryd yr iau ormesol hon ar eu gwarau? a ydynt hwy yn myned i bino eu credo boliticaidd wrth lewys diaconiaid chwyddedig a phregethwyr hunanol busnesgar?

### YSGYMMUNDOD CAPELAIDD.

Ar yr 11fed o'r mis diweddaf cymmerodd ysgymmundod capelaidd le yn sir Gaerfyrddin. Nid ŷm wedi clywed pa un a ddefnyddiwyd *book, bell, and candle* yno ai peidio. Yr ysgymmunedig oedd un o'r diaconiaid, yr hwn a gyhuddwyd am gymmeryd rhan mewn rhyw ddadl mewn newyddiadur, a thrwy hyny dwyn yr achos i warth. Traddodwyd y diacon yn ddigon swta i dd—l yn gyhoeddus; bydd i sism dori allan o sism yno yn fuan, canys y mae rhan o'r gynnulleidfa yn condemnio yr ysgymmuniad. Gellir meddwl fod digon o waith gan y Sectwyr i ofalu am eu tai eu hunain yn lle ymyraeth â'r Eglwys.

### Y WASG EGLWYSIG.

Bu y mater hwn dan sylw yng Nghyfarfod Deoniaeth Wladol Cydweli. Y mae yn dda genyf weled yr offeiriaid yn y ddeoniaeth hon yn cymmeryd y mater mewn llaw, a gobeithiwn y bydd i offeiriaid mewn lleoedd ereill ddihuno, o blegid nid yw yr Eglwys yng Nghmru wedi cefnogi y Wasg Eglwysig fel y dylai, nac wedi rhoddi dim un math o gefnogaeth i'r sawl sydd wedi treulio eu hoes i ymladd dros yr Eglwys; ond gadawodd i benllwyddi ei hamddiffynwyr syrthio i'r bedd mewn tlodi: tyna Cadfan a Brutus fel esampl. Er cywilydd i Eglwyswyr Cymru yr wyf yn ysgrifenu hyn; yr ŷm yn cydweled â sylwadau y Parch. D. Williams, St. Paul. Nis gall offeiriaid plwyfi poblogaidd hebgor amser i ysgrifenu. Pa le mae y rhai sydd yn esmwyth arnynt yn Sïon—boneddigion un Gwasanaeth yr wythnos? Lleygwyr sydd wedi ymladd brwydrau yr Eglwys yng Nghymru, nid yn aml y ceir clerigwyr ar feusydd ein cyfnodolion. Y mae yn wir fod ambell i un i'w gael fel yr *oasis* yn y diffaethwch yma a thraw. Dylai yr Eglwys wneyd ymdrech egnïol i ychwanegu cylchrediad y cyhoeddiadau Eglwysig yng Nghymru. Mae yn arferiad gan rai i achwyn ar gyhoeddiadau yr Eglwys, ond mi gymmerwn ein llw nad oes nemawr

i un o'r rhai hyn wedi ysgrifenu dim cymmaint a llinell i unrhyw gyhoeddiad Eglwysig yn eu bywyd.

BWRDD ADDYSG ESGOBAETH MANCHESTER.

Nid oes dim un ammheuaeth nad yw yr adeg bresennol yn un beryglus i addysg enwadol. Er pan basiwyd y Ddeddf Addysg yn 1870 y mae yr ysgolion wedi ychwanegu yn ddirfawr. ac mae y Byrddau Ysgolion costfawr sydd wedi cael eu sefydlu yn amcanu at ddifodi yr ysgolion gwirfoddol. Cynnygir cyflogau mawrion i'r athrawon er eu denu o'r Ysgolion Eglwysig; nid oes dim prinder arian ar y byrddau: "Hael i'w Sion ar bwrs y wlad."

Cyfartaledd y draul gyferbyn â phob plentyn oedd 25s 7¼c. ond yn y flwyddyn 1875 yr oedd yn 31s. 11¼c.. pan oedd y Byrddau yn talu 36s. 11c Y mae y rhai sydd wedi gwneyd cymmaint o aberth dros addysgiad enwadol yn teilyngu cydymdeimlad a chefnogaeth yn lle anghefnogaeth.

Yng nghyfarfod Bwrdd Esgobaeth Manchester yr oedd yr Esgob yn meddwl fod yr amser wedi dyfod o amgylch i ystyried y priodoldeb o drosglwyddo yr ysgolion i'r Byrddau. ac ar yr un pryd i'r Eglwys gadw ei hawl o'r ysgoldai. Sain anhynod yw hon oddi ar fainc esgobol.

Y mae yn dda genym weled nad oedd y lleygwyr oedd o gwmpas yr esgob yr un farn ag ef. Condemniodd Mr. Birley, A.S., sylwadau yr esgob ar drosglwyddiad yr ysgolion i'r byrddau. Nid oedd ef yn gallu gweled un ffordd i addysg grefyddol lwyddo, yr hon sydd yn cael ei rhoddi gan yr offeiriaid dan reolaeth y Bwrdd Ysgol. Yr oedd yr Uchel Sirydd yn barnu os byddai iddynt wneyd fel yr oedd yr esgob yn gofyn, y buasai iddynt roddi offeryn yn nwylaw gelynion yr Eglwys. Gofynent yn fuan os nad yw yr Eglwys yn alluog i gadw ei hysgolion ym mlaen, pa fodd y gall hi fod yn Eglwys Genedlaethol fel mae Eglwyswyr yn haeru?

Yr ŷm yn gobeithio na wnaiff rheolwyr yr ysgolion enwadol yn yr esgobaeth hòno, nac yn un esgobaeth arall. roddi fyny yr ymdrech o blaid addysg grefyddol; nid oes achos iddynt ddigaloni. Mae y Byrddau Ysgol yn beichio y wlad yn arswydus, ac maent yn achosi llawer o anfoddlonrwydd; ac oni wneir cyfnewidiad, bydd yn rhaid i'r etholwyr ddyrchafu eu lleisiau yn ddifloesgni yn yr etholiad nesaf. Nid oes dim un ddadl nad yw y Weinyddiaeth bresennol yn deall arwyddion yr amserau, a gobeithiwn na fydd iddynt adael y gyfundrefn addysgiadol fel ag y mae yn awr.

Heb law hyn y mae dylanwadau ereill ar waith a fydd yn sicr o adael eu heffeithiau ar ol. Ni fydd i ysgolion ychwanegu mor gyflym ag maent yn awr: bydd y gost yn llai fel y bydd i addysg gynnyddu, bydd i'r bobl ei werthfawrogi yn fwy, a chyfranu yn fwy haelionus yn y lleoedd nad oes dim byrddau.

ENLLIBO TORIAID.

Druan â'r Toriaid, y mae pob cythraul gwyn a glas yn curo arnynt, fel y dywedodd golygydd yr *Herald Cymreig* dro yn ol pan oedd rhyw Libertiniaid fflamgoch yn curo y Toriaid.

Nid yw boneddigesau, os byddant yn Eglwyswragedd ac yn pleidio Ceidwadaeth, yn rhydd oddi wrth ymosodiadau a chabldraeth. Fel y gŵyr ein darllenwyr yr oedd Llechryd, sir Aberteifi, yn enwog am ei physgotwyr cogiaid, ond y mae wedi anfarwoli ei hun yn ddiweddar am ei Radicaliaeth fforchog: bydd i'w henw gael ei drosglwyddo i lawr i'r oes a ddêl, chwedl y *showman* hwnw o sir Fon.

Yn ddiweddar cymmerodd etholiad Bwrdd Ysgol le yno. ac er mwyn cael mwyrif i'r Radicaliaid gosodwyd enwau y trethdalwyr ar lyfr y plwyf;

wedi i'r ynadon ei lawnodi, un o'r prif bersonau a ddarfu ddyuoethi y fusnes oedd Miss Webley Parry, Glanhelyg, o flaen Mr. Bircham, Arolygydd y Llywodraeth. Yn ddiweddar ymddangosodd amryw lythyrau yn un o bapyrau Aberteifi yn cyhuddo y Misses Parry o fod yn Eglwyswragedd gwynias, yn wleidyddion cnafus, ac yn gyfreithwyr plwyfol, au bod yn gorfodi eu morwynion i droi yn Eglwyswyr. Trodd un o'r ddwy chwaer, ond bwriodd y llall ei choelbren yn un o gapeli y pentref: ac i'r boneddigesau roddi rhybudd iddi ymadael â'r ty. er ei roddi i Eglwyswr, am iddi feiddio addoli Duw yn unol â'i chydwybod. Dywedodd yr ysgrifenydd nad oedd ei Feibl ef yn addaw dim un nefoedd i erlidwyr. Cyhuddwyd hwy ym mhellach o wthio y curad i dy eu mam pan oedd hi ar ei gwely angeu; ac wedi hyny ceisio proselytio y ferch, a rhanu glo i wŷr y Llan. Dygodd Miss Parry gynghaws yn erbyn Mr. Roberts, cyhoeddwr y papyr, ym mrawdlys diweddaf Aberteifi, am gabldraeth. Tystiodd Miss Parry mai hi oedd yr erlynes—iddo weled ymddiheuriad yn y *Cardigan Observer*, ond nid oedd dim son am y gabldraeth. Profwyd nad oedd dim gwirionedd o gwbl yn y llythyrau Cymmerodd perchenog y papyr fantais ar Act Arglwydd Campbell, a thalodd bum swllt gwirion i'r llys. ac ymddiheuriad, ond ni wnaeth ef un ymddiheuriad nes i'r *writ* ddyfod allan. Dywedodd y diffynydd nad oedd ef wedi cael llawer o ymarferiad ar olygu newyddiadur. ac nad oedd ef yn credu fod y llythyrau yn *libel*. Meddyliwch am fynyd am olygydd papyr newydd yn analluog i adnabod cabldraeth. Yr oedd ef yn meddwl ei fod yn gwneyd ei ddyledswydd wrth gyhoeddi y llythyrau, ond wedi iddo gydymgynghori â'i gyfeillion gwelodd yn amgen. Gresyn na fuasai yn gofyn eu cynghor yn gynt, buasai iddo gadw ei hun o afael cyfraith y tir a chostau. Dedfrydodd y rheithwyr y perchenog i dalu pum punt ar hugain a'r costau—dechreu hapus i bapyr Radicaliaid cwr isaf sir Aberteifi. Dangosodd Miss Parry ei gwroldeb trwy amddiffyn ei chymmeriad o flaen y cyhoedd.

Y mae gormod o'r gwaith yma o ysglandrio cymmeriadau wedi ac yn bod yng Nghymru.

Ar ol yr etholiad 1868, pan oedd y merthyron Cymreig o flaen y wlad pan yn dyoddef dros eu cydwybodau, a hwythau heb yr un. llanwyd y papyrau â chyhuddiadau fel y rhai a ddygwyd yn erbyn y Misses Parry. Yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn anwireddau dybryd. A fydd i'r brodyr wneyd casgliad wys i'r golygydd, druan, yn yr achos yma?

BRO GWENT.

---

## ALAETH-ODLAU

*Ar farwolaeth fy Noddwr am Perthynas, y Parch. D. Lloyd Isaac, Llangammarch.*

LLWYD bach sydd yn llaid y bedd—yn huno
Wr hynaws mewn culfedd;
Môr bychan ydyw Mawredd
I nofio, hwylio mewn hedd.

Ar ol gwyl rhaid noswylio—yn gudeg,
A gadael pob eiddo;
Yn y glyn o dan oer glo
Rhaid i hen weryd yno.

Dysgeidiaeth helaeth fwyn hylon,—gwegi
A gwagedd yw'r awron;
A geisio rad yn gysson
Erfawr hedd ga 'Nghaerfa'r Ion.

Dawn Llwyd a adwaenai llu,—a'i enw
Sydd enwog trwy Gymru;
Yn ddifeth hir bregethu
Gair ei Bor yn gywir bu.

Fe gaid rhes o hanesion—ac achau
Gwychaf dywysogion;
O'i gufad hoewdeg gofion,
Hir y saif am dano'r son.

Athen a'i chweg areithiau—a chwiliodd,
A mynodd ei mwnau;
Gogoniant ei gwiw ganau
Yn lwys iawn wnai ei lesäu.

Ond hyd ei fedd coleddai—Frythoniaith,
Gywiriaith a garai;
Mawr yw'r clod a hynodai
Ei enw prid—bid lle bai.

Ei hynodwych ysgrifeniadau—geir
Fel gem trwy yr oesau;
Dirif ydyw'r ysgrifau
A rodd i'w frwys burlwys bau.

Yr ydoedd ei lais caredig—yn fêl,
Yn falm ac yn fiwsig;
Ei einioes der heb naws dig,
Wr addwyn fu'n fawryddig.

Ein brawd a'i weith fydd mewn bri—er iddo,
Wr hyddoeth, ddystewi;
Pob goror wna'i glodfori
Tra el lloer, tra haul a lli.

ETO

*Ar ol y Parch, E. Lloyd Jones, B.A. (Ieuan Lwyd), Curad Llandeilo Fawr.*

IEUAN LWYD a'i Awen lon—osodwyd
Yn sydyn at feirwon!
Aethus yw'm teimlad weithion,
Ys oerodd ffrwd ei frwd fron!

Braidd oddefwn i briddo—o'r golwg,
Wr gwiwlan mewn amdo;
Gwnai'i eiriau mwyn ein swyno,
A'i donau mêl angel o.

Ei gân 'nawr sy'n amgenach,—a'i enaid
Yn un â'r côr holliach;
Coelio, gwell ydyw bellach
Yn y bedd fod Ieuan bach!

Yn swrthwedd minnau syrthiaf—yn fuan,
O fywyd y ciliaf;
Ar fyr mewn bedd gorweddaf,
Gwael yw gwel'd y gwely gaf.

GLASWALCH
*Mawrth* 14, 1876. (pan yn glaf).

---

## Y GWIR ANRHYDEDDUS BENJAMIN DISRAELI.

DAETH tadcu Mr. Disraeli i Loegr o Venice yn y flwyddyn 1748. Dysgrifia ei ŵyr ef fel dyn o gymmeriad bywiog, gobeithiol, a gwrol, gyda thymmer nas gallai siomedigaeth ei haflonyddu, ac ymenydd yng nghanol gwrthwynebiadau, yn llawn o alluoedd; yr oedd ei gymmeriad yn un ag oedd yn debyg o lwyddo, ac efe a lwyddodd: daeth yn ddyn cyfoethog. Treuliodd nawnddydd ei oes yn ei erddi Italaidd yn Enfield. Gadawodd un mab tawel, llonydd, a myfyrgar, yr hwn oedd yn hollol ddifater am y byd a'i bethau. Yr oedd politiciaeth iddo ef yn beth hollol ddyeithr; ni ddarfu iddo ymyraeth â na deall gwladlywyddiaeth Brydeinig. Ei lyfrau oedd ei hyfrydwch ef, a dywed ei fab iddo gael ei eni mewn llyfrgell. Y mae yn syndod i'w fab droi at lywod-ddysg dan y cyfryw amgylchiadau. Nid oedd gan ei dad nemawr o gyfeillion na chydymaith. Ganwyd y Prifweinidog ym mis Rhagfyr, 1805, yn nhy ei dad yn Llundain, a chafodd ei fagu mewn unigedd, ac addysgwyd ef gartref. Cafodd ei hyfforddi gan athrawon dysgedig, y rhai oeddynt yn hollol rydd yn eu golygiadau. Nid oeddynt yn cymmeryd un rhan mewn pynciau gwladol na chymdeithasol.

Cyfranogodd Mr. Disraeli yn fore o ysbryd ei dadcu, ac nis gallai ei fywyd unigol ei amddifadu o'i feddwl ymchwilgar. Yr hyn a dynodd ei sylw yn gyntaf oedd elfenau y gwahanol bleidiau politicaidd pan yn bleutyn. Daeth i sylw yn gyntaf trwy gyfrwng llenyddiaeth. Gorfu iddo o herwydd amgylchiadau adael ty ei dad a myned i swyddfa cyfreithiwr. Dechreuodd ysgrifenu pan oedd ef yn un ar hugain oed, a'i ysgrifeniadau cyntaf oedd yn cydfyned â thueddiadau ei feddwl Ceidwadol. Ymddangosodd ei gynnrychion mewn papyr, yr hwn a enwogodd ei hun trwy ysgrifeniadau Mr. Disraeli.

Ym mhen dwy flynedd dygodd allan ei *Vivian Gray;* gosododd y gwaith hwn ef ar ben y ffordd i enwogrwydd.

Ar ol hyn aeth ar daith i'r Dwyrain am ddwy flynedd. Yr amser yma daeth i adnabyddiaeth â hanes ei bobl ei hun.

Pan ddychwelodd yr oedd brwydr fawr y *Reform Bill* yn cael ei hymladd. Ni chymmerodd ef ddim un rhan ynddi. Ar ol i'r cwbl fyned drosodd, safodd fel ymgeisydd seneddol. Safodd yn 1847 dros Wycombe, ond cafodd ei wrthod. Safodd yn nesaf dros Marylebone. Yr oedd yr amser yma yn ffafr seneddau teirblwydd a'r balot. Collodd y dydd yno; cynnygiodd ei hun i

Taunton fel Tori, ond bu yn aflwyddiannus yma eto. Nid dyn i gymmeryd ei ddychrynu yw Mr. Disraeli. Yn 1837 etholwyd ef yn aelod dros Maidstone.

Dywedir fod llawer awdwr wedi andwyo ei hun fel areithydd trwy ymddibynu gormod ar ei ysgrifell; o herwydd hyn nid oedd y Prifweinidog yn areithydd mawr yn nechreu ei yrfa. Y mae ei araith gyntaf yn y Senedd ar gof yn awr.

Y mae yn anhawdd iawn i gael areithiwr i daro archwaeth y Senedd. Yr oedd araith Mr. Disraeli wedi cael ei chyfansoddi a'i gwisgo mewn iaith goeth a chuddiedig, ond ni wrandawai y Ty arno; chwerthiniwyd ef i lawr. Yr oedd ei araith gyntaf yn fethiant. Dywedodd iddo ddechreu llawer o bethau, ac iddo lwyddo yn aml yn y pen draw. Fflachiodd beiddgarwch yn y frawddeg nesaf. "Yr wyf yn eistedd i lawr, ond fe ddaw yr amser pan y bydd i chwi fy ngwrando." Nid oes dim hanes iddo wneyd dim gyda chyfraith newydd y tlodion. Daeth ei brophwydoliaeth yn wir pan ddaeth ef allan i flino Gweinyddiaeth Melbourne; daeth yn un o'r areithwyr mwyaf goganus yn y Senedd. Daeth yn arweinydd y blaid wrthwynebol, a daeth yn un o flaenoriaid y Ceidwadwyr dan Weinyddiaeth y Rupert Seneddol, Iarll Derby. Daliodd y swydd o Ganghellydd y Trysorlys am ychydig amser. Daliodd yr un swydd pan oedd Iarll Derby yn Brifweinidog yr ail waith; ond yr oedd y llif yn erbyn eu llywodraetheg *(policy)*. Daeth yr "Hen Pam" (Palmerstone) i mewn, a daliodd yr awenau nes i Angeu eu cymmeryd oddi arno. Rhoddodd enciliad y Rhyddfrydwyr i Ogof Adulam ammod rwym newydd i Mr. Disraeli. Pasiodd Mesur y Diwygiad, ac ar ol hyny Etholiad Cyffredinol, a gorchfygiad y Toriaid. Daeth Mr. Gladstone yn Brif-weinidog gyda mwyafrif mawr. Er mor nerthol oedd plaid "William y Bobl," ymladdodd Mr. Disraeli ei ffordd yn wrol yn erbyn Dadgyssylltiad Eglwys yr Iwerddon, yng nghyd â mesurau ereill. Yn 1873 cafodd ei ddewis yn Arglwydd Reithior Prifysgol Glasgow. Yn 1874 esgynodd i binacl enwogrwydd ar ol pob math o rwystrau ac anhawsderau, ac mae ganddo o'r tu cefn iddo fwyrif gorchfygol.

---

## LLOFFION HANESYDDOL.

### EDWARD LLWYD YR HYNAFIAETHYDD.

PAN oedd Edward Llwyd yn llanw y swydd o is-geidwad yn Amgueddfa Mr. Ashonole, cododd awydd arno i ymweled â gwledydd tramor, er cyrhaedd ychwaneg o wybodaeth, ac er budd y cyhoedd. Nid oedd ganddo ddigon o arian i gario ei gynlluniau allan. Derbyniodd y cyhoedd ei gynnygion, a thanysgrifwyd digon o arian dros bum mlynedd er ei alluogi i daflu mwy o oleuni ar ieithoedd, hynafiaethau, a hanesyddiaeth anianyddol. Dechreuodd yn y flwyddyn 1696; aeth o Rydychain i Gymru; ni esgeulusodd ddim un cywreinbeth. Dychwelodd yn ol i Rydychain yn 1697, a dygodd gydag ef ei holl lawysgrifau a mwnau, y rhai oedd yn yr Amgueddfa, ond ni fu ef byw i'w trefnu.

Yn 1699 yr ŷm yn ei gael yng Nghymru a'r siroedd cymmydogaethol. Yn y flwyddyn hon gorphenodd ei *Lythophylacium Britannicum.* Yr oedd ef yn meddwl y buasai i'r Brifysgol ei argraffu ar ei draul ei hun; ond cafodd ei dwyllo, ac ni fuasai iddynt weled goleuni oni buasai haelioni ei noddwyr. Argraffwyd 120 o gopïau ar draul Arglwydd Ganghellydd Somers, Iarll Dorset, Arglwydd Halifax, Syr Isaac Newton, Syr Hans Sloan, Dr. Aston, a Dr. Geoffrey. Yr oedd yr argraffiad hwn yn wallus, am nad oedd y golygydd, Dr. Robinson, yn alluog i ymgynghori â'r awdwr, a gorfu iddynt gael ail argraffiad.

Yn 1699 talodd ymweliad â Mr. Henry Rowlands, awdwr *Mona Antiqua*. Aeth yn fuan ar ol hyn i'r Alban, a dechreu y flwyddyn ganlynol i'r Iwerddon. Cydnabu y cymhorth a gafodd yn ei *Archæologia*. Tua diwedd 1700 daeth yn ol o'r Iwerddon i Gernyw, ac astudiodd yr Iaith Gernywaidd, a chasglu llysiau a mwnau. Arweiniodd ei ddiwydrwydd a'i yni ef yn nesaf yn groes i'r *Channel* er chwilio am hynafiaethau Llydawaidd ar afordir Ffrainc Yn fuan ar ol iddo fyned drosodd cymmerwyd ef yn garcharor dan y y ddrwgdybiaeth mai yspïwr oedd; ac anfonwyd ef i Gastell Brest. Gorfu iddo ymadael heb weled dim ond ychydig o'i olion hynafiaethol Dychwelodd i Rydychain yng ngwanwyn 1701.

Cynghorodd ei gyfaill, Mr. Humffrey Foulkes ef i gyhoeddu hanes ei deithiau mewn pamphled chwecheiniog. Yr haf canlynol creodd y Confocasiwn ef yn Feistr y Celfyddydau.

Oddi wrth ei lythyr at Mr. Henry Rowlands aeth i Gaergrawnt i chwilio am *map* Giraldus Cambrensis, ond yn aflwyddiannus. Ysgrifenodd gopi o epistolau Giraldus. Ar ol dyfod yn ol i Rydychain dechreuodd barotoi ei waith i'r Wasg ar ol pum mlynedd o lafur, sef yr *Archæologia Britannica:* o herwydd difaterwch yr argraffydd ni wnaeth ei ymddangosiad hyd y flwyddyn 1707. Derbyniodd y gwaith gymmeradwyaeth dynion call a dysgedig ond ni roddodd foddlonrwydd i'r tanysgrifwyr, o blegid nid oeddynt yn ei ddeall.

Yn 1708 cynnygiodd ei hun yng nghyfarfod y Gymdeithas Freninol yng Ngholeg Gresham fel ymgeisydd am gyfranogaeth, a chafodd ei dderbyn; ond gwrthwynebodd Dr. Woodward ei etholiad.

Y Gwanwyn nesaf, 1708, daeth y swydd o *Superior Beadle* mewn duwinyddiaeth yn wag, trwy ddyrchafiad Mr. Caswell i fod yn Broffeswr Seryddiaeth yn lle Dr. Gregory. Daeth pedwar ymgeisydd i'r maes, Mr. Hatchett o Goleg Merton, Mr. Hearne Edmund Hall, Mr. Llwyd, a Mr. Collinge o'r Coleg Newydd. Bu farw y cyntaf, a thynodd y llall yn ol yn ffafr Mr. Llwyd. Dygwyd yr ymdrechfa hon ym mlaen yn boeth, a chasglodd y ddau ymgeisydd eu cyfeillion o bob cwr o'r deyrnas. Cymmerodd yr etholiad le Mawrth yr 11fed, 1708. Yr oedd ganddo fwyrif o 20. Ni ddarfu iddo fwynhau yr anrhydedd hwn yn hir; bu farw ar ol ychydig ddyddiau o saldra tua diwedd Mehefin, 1709 Claddwyd ef yn Eglwys Sant Michael, Rhydychain, yn y rhodfa Gymreig, lle yr oedd aelodau Coleg yr Iesu. Ni chodwyd na maen na gwyddfaen i ddangos ei orweddle, o leiaf nid oedd yno un flynyddoedd yn ol. Gadawodd wyddfaen er cof am dano ei hun a wnaiff barhau.

Cyhoeddodd y papyrau canlynol yn y *Philosophical Transactions:*— "Dysgrifiad o bapyr wedi cael ei wneyd o *Linum Ashestinum* a gafwyd yn Ynys Mon." "Llythyr at Christopher Hemmer mewn perthynas i geryg yn agos i Rydychain." "Darn o lythyr at Dr. Martin Lister yng nghylch locustiaid yng Nghymru." "Dyfyniad o lythyr arall i'r un pwrpas, Chwefror 20, 1693." "Hanes llosgi amryw dasau o wair trwy fygdarthiad yn agos i Ddolgelly, a natur heintus y borfa mewn amryw fanau Dyddiedig, Dolgelly, Ion. 169¼." "Darn o lythyr at Dr. Lister yn rhoddi hanes helaethach am y mygdarth tanllyd yn sir Feirionydd Dyddiedig, yn Rhydychain, Awst 23, 1694." "Dyfyniad o lythyr at Dr. Tanesed Robinson yng nghylch y cesair yn sir Fynwy, Brynbuga, Mehefin 15fed, 1697."

Cyhoeddodd nifer fawr o lyfrau dysgedig Yr oedd yn bwriadu dwyn allan ail gyfrol ar hynafiaethau Cymru. Yr oedd ei gasgliadau wedi cael eu dewis yn dda. O herwydd

yr ymrafael rhyngddo a Dr. Wynne, Cymmrawd o'r Coleg, wedi hyny esgob Llanelwy, gwrthododd eu prynu: wedi hyny prynodd Syr Thomas Seabright o Breachwood, Henffordd, hwy; nid oeddynt yn barod i'w hargraffu; yr oedd ganddo ddull neillduol i dalfyru geiriau, ac yr oedd yn anhawdd i neb arall eu deall. Addefir fod ei wybodaeth o wahanol gangenau o lenyddiaeth yn anferth o eang. Pan gyhoeddodd ef ei *Lythophylacium Britannicum*, yr oedd dadl fawr yn myned ym mlaen rhwng dysgedigion o barth i'r cyrff marwol sydd yn y ddaiar. Cadwodd ef ganol y ffordd. Amlygodd ei farn ar y pwnc yn un o'i lythyrau, yr hon oedd yn groes i farn y Dr Woodward, yr hwn oedd yn dal mai y Diluw a'u dygodd i'r lle y maent. Ar ol hyn ymddygodd y Dr. Woodward yn sarhäus tuag at Llwyd a phawb oedd yn ymgyfeillachu ag ef. Gallesid meddwl y buasai i'w holl waith diflin gael ei gefnogi yn wresog gan y cyhoedd, ond yr oedd ymddygiad y cyhoedd tuag ato yn esampl arall o anniölchgarwch y byd. Nid oedd ganddo ddim cynnysgaeth, ac mae yn syndod pa fodd oedd ef yn cael ei gynnal gyda'r symiau bychain oedd ef yn dderbyn. Yr oedd ceidwadaeth yr Amgueddfa yn cael ei hystyried yn werth hanner cant punt, yr oedd ei sylfaenydd wedi bwriadu y swm uchod; ond nid oedd yn werth hyn. Yr oedd cyflogau y ceidwad yn cael eu gwneyd i fyny o roddion yr ymwelwyr; yr oedd Mr. Llwyd yn gorfod talu yr is-geidwad; ac nid oedd ei gyflog ef ddim uwch law ugain punt. Dywedir mai gwr eglwysig rwystrodd Llwyd i gael yr hanner cant o herwydd fod ei weithiau yn sawru o Sociniaeth. Ymosodwyd arnynt amryw weithiau gan aelodau o'r Brifysgol. Pan gyhoeddodd Llwyd ei gynlluniau i deithio cafodd lawer o gefnogaeth; ond oerodd eu haelfrydedd, a chafodd allan, fel llawer un ar ei ol, fod gwahaniaeth mawr rhwng addaw a chyflawnu. Yn 1696, tanysgrifiwyd 110p. 10s.; 1697, 81p; 1698, 60.; 1699, 57p.; 1700, 11p. 15s.; cyfanswm 365p. 5s. Yr oedd ymddygiad ei gyfeillion pan yn gwrthod cyflawnu eu haddewidion yn warthus. Yr oedd Dr. Martin Lister yn gyfaill ffyddlawn iddo.

Dywed awdwr yr *Athenæ Oxon.* ei fod yn fab i Edward Llwyd o Gydweli, sir Gaerfyrddin. Yr oedd tri enw i Edward Llwyd yr un pryd ar lyfr y Coleg; hyn achosodd y camsyniad. Copi ar lyfr Coleg yr Iesu: "Jesus Coll. Edwardus Lloyd de comit. Salop, admissus Battelarius, Hydref 31, 1682." Yng nghofres y Brifysgol, "Tach. 17, 1682, Edward Lloyd. 18, Edwardi Lloyd, fil. Oseraldstree, Salop, Gen." "Jesus Coll. de comit. Denbigh, admiss. Battell. Feb. 24, 1684. "March 16, 1684, Ed. Lloyd, 16, Mich. Lloyd, fil. Llanynys, Denb. Pleb." "March 28, 1688. Ed. Lloyd. fil. Kidwelly, Carmar. Pleb.

Y mae Anthony Wood yn priodoli yr holl weithiau i'r olaf.

Yr oedd tad Edward Llwyd yn ddyn afradlawn a gwastraffus; er fod gweithred priodas wedi cael ei gwneyd rhwng ei dad a'i fam, ni chafodd ei chyflawnu. Gwariodd ei dad ei ystâd mewn afradlondeb; a gorfu iddo ei gwerthu i deulu Syr Watcyn Williams Wynn. Yn ei lythyr at John Antis, Ysw., o Rydychain, addawodd athraw Mr. Williams yn ffurfiol "y bydd iddo eich cyfarfod ar ol y rhybudd lleiaf—i'ch cyfarfod yn Llanforda."

(*I'w barhau.*)

---

## GALARGAN

*I'r diweddar Barch. James Evans, Llanddeiniol.*

BETH yw'r adsain bruddaidd glywir
 Trwy bob cwr o'r wlad i gyd?
Pam y mae gwroniaid cedyrn
 Yn ymddangos fel yn fud?
A yw newyn, greulawn elyn,
 Ar roi tro i'r fangre hon?
A oes perygl yn ymddangos,
 Pan mae pawb mor brudd eu bron?

A yw Angeu wedi lluddias
  Rhyw un enwog yn ein gwlad,
Rhyw bendefig mawr urddasol,
  Neu rhyw filwr yn y gad?
Ië'n ddiau dyna'r rheswm
  Pam mae pawb â'u gwedd yn brudd,
Milwr enwog dros yr Iesu
  Roed i orwedd yn y pridd.

Mr. Evans wedi marw,
  Ië, dyna'r testyn sydd
Yn peri imi syn fyfyrio,
  A'm hofnau fyn'd yn fwy bob dydd;
Wedi marw, dyna'r newydd
  Esgorodd ar deimladau dwys,
Y gwr enwog, gwas yr Iesu,
  Roed i orwedd dan y gwys.

Ym mhell y byddo'r byd a'i ddwndwr,
  Mewn unigrwydd hoffaf fyw,
Bywyd meudwy garaf arwain,
  Ym mhell o swn y byd a'i glyw;
Draw i'r goedwig ymneillduaf,
  Ac eisteddaf dan rhyw lwyn,
Lle y gallaf gydalaru
  Gyda si yr awel fwyn.

Chwi gerddorion mân y goedwig,
  Os nad yw yn groes i reddf,
Unwch â mi yn y gydgan
  Canwch yn y cywair lleddf;
Diwrnod galar ydyw heddyw,
  Dydd i wylo—pwy wel fai,
Pan mae wybren Cymru'n duo,
  A'r tywyllwch yn amgau?

Seren ddysglaer wedi cilio
  O ffurfafen Eglwys Crist,
A dychymmygaf i'r ser ereill
  Wneyd rhyw ymddangosiad trist;
Pan mae planed fawr, wrth symmud
  O'i chynhenid gylch, yn ffoi,
Pair i'r holl blanedau ereill
  Yn eu cylchdro fethu troi.

Ti, Llanddeiniol, mawr yw'th golled,
  Nid rhyfedd fod dy feib yn brudd,
Nid rhyfedd gwel'd y dagrau heilltion
  Yn treiglo lawr dros lawer grudd;
Pan mae'r blaenor wedi cefnu,
  Un fu'n ffyddlawn gyda'r gwaith,
Wedi rhoi ffarwel dragwyddol,
  Wedi myn'd i'r olaf daith.

Trist yw meddwl na cheir clywed
  Dim o'i felus ddoniau mwy,
Mae ef fry yn Salem newydd
  Uwch law gofid, poen, a chlwy';
Gweinidogion Eglwys Lloegr
  Nid ynt bellach oll yn oll,
Fel perdoneg wedi d'rysu,
  Un o'r seiniau sydd ar goll.

Myn darfelydd i mi grwydro
  Draw yn ol i'r oesau fu,
Yntau Cariad sydd yn peri
  I mi wylo'r dagrau'n llu;

Myn Llawenydd i mi ganu,
  Gorfoleddu ag uchel lef,
Gan fod testyn yr alargan
  Heddyw'n canu yn y nef.

Y mae'r cof yn chwennych edrych
  Arno'n yr areithfa fawr
'N siarad gras i g'lonau'r dyrfa,
  Achub gwaelaidd lwch y llawr;
Edrych arno yn ei bulpud,
  Gwel'd ei ddull boneddig ef;
Ond O! nid ynt oll ond breuddwyd,
  Mae ef heddyw yn y nef.

Y mae'r llyfrau gyfansoddodd
  Pan oedd yma ar y llawr
Yn dweyd yn uchel am ei dalent
  A'i lafur caled ar bob awr;
Meddwl am ei 'sgrifeniadau,
  Astudio ei resymau chweg,
Bair i bawb o Gymru ddwedyd,
  Un enwog iawn oedd "Chwareu Teg."

Ond mae wedi gado'r ddaiar,
  Am y baradwysaidd wlad,
Lle mae seintiau ac angylion
  Fry yn llu yn nhy eu Tad.
Dyffryn tywyll cysgod angeu
  Ni cha'i droedio ganddo mwy,
Bu'n ei rodio 'nghwmni'i Briod,
  Ac mae wedi myned trwy.

'R hen Iorddonen wedi'i chroesi,
  Wedi glanio'r ochr draw,
Canaan nefol yn ei aros
  Ef a'i Briod law yn llaw;
Mae ef wedi gwisgo'r goron,
  Y delyn aur sydd yn ei law,
Ac i'w fynwes yn dragywydd
  Unrhyw ofid byth ni ddaw.

CYFAILL.

---

## BUGEILIAID EPPYNT.

*Ifor*. Beth yw'r papyr yna sydd yn dy law di, Idwal?

*Idwal*. Papyr newydd gefais gyda Dai Luke gynneu fach ydyw.

*Ifor*. Beth wyt ti yn ddarllen?

*Idwal*. Darllen am y gwrthryfel mawr yna sydd yn Ymherodraeth Twrci, yn Herzegovina a Bosnia.

*Llywelyn*. Mae'r hen lywodraeth bwdr yna bron â myned yn ddeilchion, a baut â hi.

*Ifor*. Yr wyf fi yr un farn a thi yn hollol am lywodraeth y Twrc, nid yw ond rhwystr ar ffordd gwareiddiad y byd, a goreu i gyd po cyntaf y syrthio os gellir sicrhau heddwch Ewrop yr un pryd. Ond a wyddost

ti, Idwal, am ryw lywodraeth sydd yn debyg iddi?

*Idwal* Na wn i. nid oes yn sicr un llywrodraeth drwy y byd gwareidd-iedig yn debyg iddi.

*Ifor*. Ymneillduaeth yw y llywodraeth hòno; mae Ymneillduaeth yn llawn gormes o'r natur waethaf; ac y mae yn bwdr drwyddi. Fel y mae llywodraeth y Twrc yn Ewrop, felly y mae yr elfen ddissenteraidd a radicalaidd ym Mhrydain Fawr; y mae beunydd yn achosi terfysg a gofid i'r wlad.

*Idwal*. Yr wyt yn dywedyd celwydd. Ymneillduaeth yw'r peth goreu a fedd ein gwlad.

*Ifor*. Na; mae yn llawn gormes, caethiwed, annhegwch, a phob drygioni.

*Idwal*. Mae arnaf fi ofn fod rhywun wedi bradychu yr achos drwy ddywedyd celwydd, neu o'r hyn leiaf, dywedyd pethau na ddylasent am yr achos.

*Sierlyn*. Beth sydd gyda thi, Ifor, moes glywed.

*Ifor*. Fel mae y parth hwnw o Dwrci, Herzegovina a Bosnia, felly mae un rhan o lywodraeth Prydain Fawr yn llawn o derfysg crefyddol, *religious war*. Cawsoch er ys tro yn ol wybod am gapel lle yr oedd Phylip Ddu yr heddgeidwad yn dwyn ym mlaen ei wasanaeth ynddo; ac y mae y gwrthryfel capelaidd wedi ymdaenu dros yr holl wlad; ac y mae yr arglwyddi a'r werin ymneillduol wedi cario ym mlaen eu terfysgoedd gyda llaw uchel.

*Idwal*. O, ïe; dim ond cadw trefn grefyddol—nid gormes yw hyny.

*Ifor*. Trefn grefyddol yn wir; cau dy geg da thi. Penderfynodd gweinidog ymneillduol fyned i'r ystâd briodasol, ac aeth ar a wyddys yn eithaf moesol; ond gan na ofynodd efe genad i *lordach* y capel, am hyny, cafodd rybudd y dydd hwnw i ymadael â'r lle.

*Idwal*. Ië, ef allai mai rhywbeth arall oedd yr achos.

*Ifor*. Nid oedd un achos arall. Dywedodd y *lordach* na chawsai byth bregethu yno yn ychwaneg. Pan ddaeth y nos daeth tua thri chant o bobl o gylch ei dy, gan losgi llawer o goed nes gwneyd coelcerh ofnadwy, a llosgodd rhyw gymmaint o'r ffenestr. Yr oedd yr ymadroddion mwyaf aflan yn cael eu harfer o flaen y ty—pethau rhy warthus i'w harfer gan ddynion gwareiddiedig; ni fuasai gwaeth iaith ac arferion gan neb o'r Tyrciaid mwyaf tywyll a dallbleidiol mewn unrhyw ran o Dwrci yn Asia.

*Sierlyn*. Creaduriaid ofnadwy yw y *Pashas* ymneillduol, y maent yn ormesol dychrynllyd—ni chaiff neb fyw ond hwy, a gwael yw tynged ambell ddyn o weinidog tawel a diniwaid, ni chaiff wneyd dim heb genad y teulu trahäus hyn.

*Ifor*. Diolch i ti, Sierlyn, am yr enw newydd *Pashas ymneillduol*.

*Sierlyn*. Mae'r Pashas hyn yn llawer gwaeth na Phashas Twrci Nid ydyw y Pashas hyny yn gommedd gwraig i'r Sultan; ond yn ol defod y dwyrain, caiff faint a fyno; ond mae y Pashas ymneillduol yn gommedd un wraig i'r gweinidog, os na fydd efe yn dyfod â'i het yn ei law a gofyn yn ostyngedig a gaiff efe briodi. Ond mi ddywedais i er ys tro yn ol fod Ymneillduaeth yn myned yn nes at Babyddiaeth o hyd; ac felly rhyw gymmysgedd o Babyddiaeth a Mahometaniaith yw Ymneillduaeth y dyddiau hyn. Mewn gommedd priodas i'w gweinidog y maent yn Babyddiaeth rhonc; ac fel llawer o bethau ereill y maent fel y Mahometaniaid.

*Ifor*. Ië; ond y mae achos i bob effaith. Y mae gan y Pachas hyn lawer o ferched, ac y mae eisieu gwŷr arnynt; a byddai gosod un o'r merched yn wraig i'r gweinidog yn bwnc dymunol iawn gan y Pashas.

*Sierlyn*. Dyma lythyr wedi dyfod i mi yn awr yn dywedyd fod dau gapel gan y gweinidog tawel a didramgwydd hwn, a bod yr helynt yn llawer gwaeth

nag y dywedaist ti Ifor. Yr oedd rhos o eithin mân a grug ger llaw, a chafodd hòno ei gosod yn wenfflam yn y nos, ac yr oedd pob llwyn eithin rhwng y ddau gapel yn un goddaith fawr fel Moscow gynt pan yn cael ei meddiannu gan y Ffrancod.

*Llywelyn*. Tebyg mai ardal wan o Ymneillduaeth oedd hon, a bod moesoldeb y lle yn isel o'r blaen.

*Ifor*. Na; y mae yn un o'r ardaloedd cyntaf mewn Ymneillduaeth drwy yr holl wlad. Mynodd Radicaliaeth *School Board* yno er ys tro yn ol; ac y mae chwech neu saith o Ymneillduwyr yn aelodau y bwrdd. Dyma brawf digonol o nerth Ymneillduaeth y lle. Mae yr ardal yn frith o gapeli. Y mae ynad heddwch o Ryddfrydwr yn byw o fewn ergyd careg i'r fan y cymmerodd y tân le. Pan oedd "Bwrlwm Bowstead" yn cynhyrfu y wlad er ys blynyddau yn ol, meddyliodd dau enwad am anfon cenadwyr i Lundain i'w cynnrychioli, a methasant gael neb mwy cymhwys na dau Basha o'r ardal hon. Mae llysoedd y ddau bendefig hyn o fewn ychydig gannoedd o latheni i'r fan y cymmerodd y tân a'r rhialtwch annuwiol le! Mae aelod Seneddol, un o'r Radicaliaid gwylltaf yn y wlad—yn wastadol yn areithio dros ddadgyssylltiad a phob penboethni Radicalaidd—yn arfer treulio mis o'i wyliau bob haf er ys deugain mlynedd, yn yr ardal hon, o fewn llai na chwarter milltir i'r lle y bu y coelcerth annuwiol hwn, ar briodas gweinidog tawel a heddychol. Dyma faint o effeithiau mae Radicaliaeth yn wneyd ar y wlad Pa le bynag y byddo Radicaliaeth yn rhonc—wedi cael y llaw drechaf mewn ardal—mae yno bob anfoesoldeb yn ffynu.

*Idwal*. Dylasai y gweinidog ddyweyd wrth yr eglwys ei fod yn myned i briodi.

*Sierlyn*. Tydi, y gormeswr hunanol! Mae yn chwithig clywed dy *lol* am ryddid—rhyddid yn ddiddiwedd. Gwraig iddo ei hun oedd eisieu ar y gweididog, ac nid gwraig iddynt hwy. Os priododd y gweinidog heb droseddu moesoldeb, fel y mynegir y gwnaeth, pa reswm oedd gan y gormeswyr hyn i ymdrin dim â'i helynt?

*Ifor*. A yw'r awen ddim yn cyffro genyt ti ar y fath destyn?

*Sierlyn*.

Gormes, gormes, fel y ddraig,
Ni chaiff gweinidog ddewis gwraig,
Heb fyn'd yn isel hyd y llawr
I wneuthur *bow* i'r Pashas mawr.

Gan grynu'n fawr wrth dreio d'weyd
Y peth y mae yn feddwl wneyd,
Gan ofni pall y Pashas erch,
Neu golli gwrthddrych hoff ei serch.

*Ifor*. Mae Dai Luke y gof wedi myned heibio gynneu i rywle.

*Sierlyn*. Ydyw, y mae wedi myned i agor drws capel tua phedair milltir oddi wrth y capel lle bu y tanchwa briodasol.

*Ifor*. Sut yr aeth efe heb y bar haiarn?

*Sierlyn*. Y mae gan Dai ormod o waith yn awr i agor capeli, fel nas gall gario y bar i bobman. Y mae yn awr yn ymdrechu cael benthyg bar yn y gwahanol ardaloedd. Cafodd gryn ffwdau i gael bar yn yr ardal ddiweddaf, ond llwyddodd yn y diwedd, a bwriodd y drws yn glampyn i ganol y llawr, nes peri crechwen ofnadwy o orfoledd i blaid y gweinidog.

*Idwal*. Ië; hawdd dywedyd hyn, ond pa le y bu?

*Sierlyn*. Cymmerodd hyn le dydd Sul, Ebrill 23ain, mewn capel yr wyt ti yn gwybod am dano, ac mewn capel dwy filltir a hanner oddi wrth hwnw y bu Dai Luke y gof yn agor drws capel i angladd gael myned i mewn ryw chwe mis yn ol!

*Ifor*. Maé gan Dai Luke bellach ormod o waith i allu ei wneyd ei hun.

*Sierlyn*. Oes gormod o lawer. Bydd raid i Dai gael cynnorthwywyr lawer. Felly adnabyddir hwynt o hyn allan, *Dai Luke & Co*. A byddai o'r goreu iddynt gael *locomotive* i gario y barau heiyrn, &c.

*Ifor*. Rhyfedd fel y mae galwed-

igaethau newyddion yn dyfod i'r golwg. Mae Mr. Edward Miall wedi cael tysteb dda o ddeng mil o bunnau am areithio ac ysgrifenu ar ddadgyssylltiad. Dyna ffordd newydd i ennill bara a chaws; ac yr wyf yn deall fod ymdrech i gasglu can mil at y cyfryw achos, ac felly ennilla llawer fara a chaws da wrth hyn eto. Dyma ffordd newydd eto i ennill bara a chaws: ac y mae Dai Luke bellach wedi cael galwedigaeth o agor drysau capeli. Dyma ffordd newydd arall o ennill bywoliaeth. Dilys y daw Radicaliaeth â rhyw swyddi newyddion eto i'r golwg.

*Sierlyn.* Look sharp, boys, for a new calling. I will recommend thee, Idwal, to the Liberation Society. Dylet gael tysteb o ddeng mil a bathodyn mawr fel sy gyda Philip Ddu y *policeman.*

*Ifor.* Wrth son am alwedigaethau newyddion, a glywaist, Sierlyn, son am ffordd newydd i gael ceffylau?

*Sierlyn.* Do mi glywais fod rhyw Basha mewn amgylchiadau isel. wedi myned heb geffyl, yn debyg fel mae rhai o Bashas tlodion Twrci: yr hen geffyl wedi ei anfon i'r cŵn hela. a chan fod ganddo frawd yng nghyfraith yn weinidog. anfonodd y gweinidog i ardal Eppynt i ymofyn darlithiwr, yr hwn sy barod bob amser i wneyd unrhyw beth felly am arian. Cyhoeddwyd fod darlith i fod yn y capel ar un o hen dduwiolion Cymru. Nid oedd son beth oedd dyben y ddarlith. Gwerthwyd cannoedd o docynau a chafwyd y darlithiwr enwog, ac aeth trwy ei waith yn feistrolgar; ond ar ol gorphen y ddarlith dywedodd y gweinidog beth oedd y dyben: fod deugain punt wedi eu casglu at gael ceffyl i'r brawd—mai digon bach oedd hyny i gael ceffyl da yn y dyddiau hyn—fod gwell gorphen y cyfarfod drwy weddi, &c. Tarawodd hyn yn syn ofnadwy ar glustiau y darlithiwr; ei fod wedi d'od gymmaint o ffordd i ddarlithio ar hen batriarch bucheddol, yr hwn oedd wedi treulio ei oes mewn gwneuthur daioni, a'i fod yn awr yn destyn darlith i ryw fath o Basha dioglyd i gael ceffyl! Gwaeddodd y darlithiwr allan, "Na, nid oes eisieu gweddi mewn cyssylltiad â hen geffyl: canwch os ydych yn leicio, a dyna lawn digon mewn ffair hen geffyl."

*Ifor.* Wel dyma beth newydd eto; yr oedd yn warth i'r Efengyl fod darlith ar hen wr a dreuliodd agos i gan mlynedd mewn gwneuthur daioni, yn cael ei ddefnyddio mewn helynt hen geffyl.

*Sierlyn.* Ydyw, mae darlithio hefyd yn alwedigaeth newydd ac isel—rhyw beth er mwyn arian—arian am ddarlith—arian at gael ceffyl i'r Pasha—arian, arian, at ddadgyssylltiad—arian o hyd—arian byth a hefyd—unrhyw beth am arian—pulpud i areithio er mwyn cael ceffyl—pob peth am arian—arian, arian, arian, arian!

---

## Hanesion.

### MARWOLAETH DEON BANGOR.

Bu farw yr Hybarch James Vincent, Deon Bangor, Ebrill 22, yn Deanery Bangor, ar ol afiechyd hirfaith. Yr oedd yr ymadawedig yn 84 mlwydd oed. Cafodd ei wneyd yn Ddeon yn 1862, yn lle y diweddar Deon Cotton. Yr oedd ef yn un o'r *Proctors* yn y Confocasiwn, ac yn Gymmrawd o Goleg yr Iesu. Y mae y ddeoniaeth yn werth 700p. y flwyddyn.

### BEDYDDIO.

Ar ddydd Sul, y 14ydd o Fai, bedyddiodd y Parch. John Griffiths, Ficer Mynyddislwyn, ddau ddyn mewn oedran addfedach, trwy eu trochi, yn unol â chyfarwyddiadau y Llyfr Gweddi Gyffredin. Darllenwyd y gwasanaeth, am dri o'r gloch, gan y Parch. W. James, y curad; a phregethodd y ficer yn bwrpasol iawn oddi ar Actau xxii. 16, gan esbonio athrawiaeth ac arfer Eglwys Lloegr mewn perthynas i'r sacrament o Fedydd. Yn hyn y mae'r Eglwys mor eang a diragfarn fel nad oes eisieu i unrhyw sect ymwahanu oddi wrthi o achos gwahaniaeth barn am ddull gweinyddu Bedydd neu oedran derbynwyr yr ordinhâd. Yr oedd yr Eglwys yn orlawn o wrandawyr astud a defosiynol, ac yr oedd gwasanaeth y diwrnod yn effeithiol iawn. Ar ol gorphen y bregeth aethpwyd i'r man dewisedig lle yr oedd parotoadau priodol wedi eu gwneyd

idle
quite
through

gan y wardeniaid, y meistri E. Edmunds a W. Davies. Darllenwyd gwasanaeth y Bedydd gan y Parch. Asa Richards, ac aeth y ficer i lawr i'r dwfr, a chan gymmeryd y naill ar ol y llall wrth ei law, efe a'u bedyddiodd yn y dull y dewisasant trwy eu trochi dan y dwfr. Yr oedd tua dwy fil o bobl yn bresennol, y rhai a ymddygasant yn y modd parchusaf.

EGLWYS LLOEGR A BYRDDAU Y GWARCHEIDWAID.

Penododd Gwarcheidwaid Oldham Ymneilldüwr i fod yn gaplan i weithdy yr undeb, ond derbyniasant lythyr oddi wrth y Bwrdd yn Llundain, i'w hysbysu nad oedd yn cydnabod neb yn gaplan ond un o offeiriaid Eglwys Lloegr. Atebodd y Gwarcheidwaid i holl offeiriaid Oldham wrthod y swydd.

MR. GLADSTONE A DADGYSSYLLTIAD YR EGLWYS.

Y felltith fwyaf ddaeth i'n gwlad ni yw y cynhyrfwyr sydd yn gyru llafur a meddiannau yn benben â'u gilydd. Mae gan y llafurwyr amaethyddol oruchwyliwr o'r enw Mitchell; y mae y gwr hwn yn pleidio dadgyssylltiad. Yn ddiweddar ysgrifenodd lythyr at Mr. Gladstone i ofyn iddo am gyflwyno petisiynau oddi wrth y gweithwyr yn erbyn yr Eglwys. Mae ef yn gobeithio y bydd i Mr. Gladstone fod yn offeryn yn llaw Duw i ysgubo yr anghenfil creulawn, yr Eglwys, ymaith. Dadganodd yr aradwr ei ddymuniadau mewn iaith sarhäus, difrïodd y personiaid i'r pen. Mae y dynion tlodion yn gwybod pwy yw eu gelynion—gormeswyr o'r fath waethaf yw offeiriaid Eglwys Lloegr—creulawn, gormesol, hunanol, a phenweigion. Os yw y gweithwyr o'r farn yma am yr offeiriaid, i Mitchell a'i gwmni y maent yn ddyledus am hyn, y rhai sydd yn treulio eu hamser er ys blynyddoedd i wenwyno eu meddyliau. Ond gwnaeth Mitchell gamsynied ei ddyn y tro yma. Atebodd Mr. Gladstone ef fel y gweddai i foneddwr o'i safon ef. Nid yw Mr. Gladstone yn myned i wneyd pawen cath o hono ei hun i epaod yr Undeb. Gwrthododd gyflwyno petisiynau yn erbyn yr Eglwys: y mae ganddo fwy o barch i gorff yr offeiriaid na gwrando ar gableddau yn eu herbyn, a chyhoeddi anwireddau am gorff parchus o bobl. Camsyniodd Mitchell ei ddyn y tro yma.

Y PREGETHWR A'I FORWYN.

Yn Sessiwn Gwarterol yr Amwythig yr wythnos ddiweddaf, appeliodd John Starey, amaethwr a phregethwr lleol, yn erbyn dyfarniad pen-swyddogion Hen Cleobury Mortimer. Ymddangosodd Mr. Warren dros yr appelydd, a Mr. Redman dros y ferch, yr hon a aeth i wasanaeth yr appelydd, dyn priod, ym Mehefin, 1874, pan oedd hi yn 16 oed; ac ym mhen tri mis cymmerodd ei meistr fantais arni ar ol dyfod adref o'r capel ar nos Sul, a hududd hi oddi ar lwybr rhinwedd; a phan ddeallodd fod rhywbeth allan o le, dywedodd wrtho am ei sefyllfa, a dywedodd yntau y buasai yn well ganddo golli canpunt nag i'r anffawd ddygwydd. Gofynodd iddi dyngu y plentyn i Joe ei fab. Dadleuwyd nad oedd y cwbl ond cydfradwriaeth; gwadodd yr appelydd dystiolaeth y ferch. Cadarnhaodd y Fainc ddyfarniad yr ynadon.

LECSIWNYDDAU MEWN CAPELI.

Gwadodd Mr. Henry Richard dro yn ol nad oedd capeli Cymreig yn cael eu defnyddio at achosion politicaidd. Y dydd o'r blaen ymddangosodd llythyr oddi wrth Ymneilldüwr yn y papyrau ddarfod i etholiad Bwrdd Ysgol Mynydd-islwyn gael ei wneyd yn bwnc y seiet ar ol pregeth dda nos Sul. Yr oedd un o'r ymgeiswyr (Mr. Pond, Manager Gwaith Abercarn) yn Eglwyswr; *ergo* yr oedd yn rhaid ei rwystro i fyned i mewn, er fod y cwmni y mae ef yn perthyn iddo yn talu mwy o bunnau o drethi nag mae ei wrthwynebwyr yn dalu o hatlingau. Gofyna yn enw'r nefoedd beth sydd a fyno Byrddau Ysgol â chrefydd pan maent wedi ymwadu â hi yn hollol.

Ychydig ddyddiau yn ol galwyd geneth o flaen yr ynadon mewn tref yn Lloegr i roddi ei llw, ond nid oedd yn gwybod dim am Dduw! Dywedodd yr ynadon mai tyna y ffrwythau y mae addysg di-Dduw yn ddwyn.

MESUR Y TEITLAU BRENINOL.

Y mae y mesur hwn wedi bod yn destyn i ugeiniau o lythyrau, areithiau, ac awgrymiadau yn ystod y mis diweddaf. Gwrthdystiodd y *Times* yn erbyn y teitl Ymherodres yn nannedd pleidlais y Senedd. Y mae ef am i'w Mawrhydi alw ei hun yn Arglwyddes India fel yr oedd Breninoedd Plantagenet yn galw eu hunain yn Arglwyddi yr Iwerddon; ac os yw y teitl i gael ei gyfnewid, dylai ei fod yn Ymherodres y Trefedigaethau: tyna'r cwbl oedd gan y blaid Ryddfrydol i ddywedyd yn erbyn y mesur; nid oedd Ardalydd Hartington yn ystyried fod yr Indiaid yn gofyn am dano, a'u bod oll yn fudaniaid politicaidd, ac na fyddai i dywysogion Indiaidd ei ddeall trwy gyfieithad. Ysgubodd Canghellydd y Trysorlys y gwrthddadleuon hyn fel gwe y pryf copyn gyda dirmyg. Dywedodd ei bod yn anhawdd ymresymu yn erbyn dychryn a rhagfarn; buasai yr un peth iddynt wrthwynebu Tywysog Cymru am ei fod yn dwyn y teitl o Dug Cernyw. Y mae y Dwyrein-

wyr yn hoff o deitlau uchel; canys yr oedd ganddynt un amser eu Ymherawdwyr o Delhi. Y mae y gwrthwynebiad ar ben.

### HELYNTION Y MIS.

*Rhyddid Crefyddol yn Yspaen.*—Nid oes dim ond ychydig o flynyddoedd er pan y cafwyd y peth nesaf i ddim o ryddid crefyddol yn y wlad hon. Er fod gallu y Babaeth yn gollwng ei gafael ar wledydd ereill, y mae yn dal y wlad uchod hyd yn hyn mewn cyffion. Y mae y trigolion yn ofergoelus, ac yn gaethion i Eglwys Rhufain. Pa bryd bynag y cynnygir dwyn i fewn ffurf grefyddol newydd, bydd yn sicr o gyfarfod â gwrthwynebiadau penderfynol; nid oes neb yn deall y ffordd i gynhyrfu dynion anwybodus ac ofergoelus yn well na'r offeiriad pabaidd. Y gwrthryfel a yrodd y frenines oddi ar ei gorsedd, oedd yr ergyd cyntaf a gafodd gormes grefyddol yn y wlad hon. Nid oedd hi ddim ond offeryn yn nwylaw y Pab a'i genadau. Pan ymddiswyddodd hi, dechreuodd y wawr dori. Pan welodd ei Sancteiddrwydd hyn dangosodd ei gydymdeimlad ag achos Don Carlos, trwy yr olaf yr oedd ef yn credu y buasai iddo gadw y werin yng ngadwynau y Babaeth; ac i'r Pab a'r offeiriaid y mae Spaen yn ddyledus am y gwrthryfel; buasai i'r rhyfel gael ei therfynu amser yn ol, oni buasai i'r Pabyddion cyfoethog yn Lloegr a Ffrainc gyfranu arian i ddinystrio y wlad anneddwydd hon. Blinodd gwladwyr Yspaen ar Don Carlos o'r diwedd, nid oedd ganddynt ddim un arweinydd na phen. Pan welodd y Pab ffordd oedd y gwynt yn chwythu, ceisiodd efe ennill ffafr y brenin a'i fam, yr hon fel arferol oedd yn barod i wneyd pob peth i foddio ei Sancteiddrwydd; ond yr oedd y mab yn fwy gochelgar na'r fam. Yn y Cortes y diwrnod o'r blaen, penderfynwyd mai Eglwys Rhufain sydd i fod yn Eglwys Sefydledig; ond bydd i Brotestaniaeth gael ei goddef; wele friwsionyn o gysur. Ni ddaw y wlad byth i safon gwledydd ereill nes y bydd iddi daflu iau y Pab yn gyfangwbl.

*Bil Addysg Arglwydd Sandon.*—Nid oes un ammheuaeth nad oedd dygiad i fewn Fil Addysg Arglwydd Sandon yn ergyd caled i Seculariaid Birmingham. Y mae y mesur sydd yn awr o flaen y Senedd wedi derbyn cymmeradwyaeth y wasg eisoes. Y mae hyd yn oed y *Times*, yr hwn sydd yn arfer adolygu gweithrediadau y weinyddiaeth, yn addef fod y mesur yn un da, a bod clod yn ddyledus i'r Llywodraeth am ei ddwyn o flaen y Ty. Y mae y mesur hwn yn cyffwrdd yn neillduol â phlant y gweithwyr; dan y mesur, nid oes un plentyn dan ddeg oed i fyned i weithio, ac ni oddefir i blant uwch law deg i weithio heb iddynt yn gyntaf basio *standard* neillduol, sef darllen, ysgrifenu, a rhifyddu. Wrth wynebu y pwnc hwn, yr oedd ganddynt lawer o anhawsderau. Ar un llaw yr oedd cyngrhair Birmingham, yr hwn sydd yn ystyried y dylai addysg fod yn orfodol ar y rhai sydd yn anfoddlawn i'r trefniadau presennol mewn perthynas i blant sydd yn gweithio. Yn anffodus, y mae teimlad y wlad yn anffafriol i'r cyngrhair Secularaidd. Nid yw y Wladwriaeth yn ffafriol i Fyrddau Ysgolion yn gyffredinol. Y mae y trethdalwyr wedi cael prawf nad ammeuthyn yw Bwrdd Ysgol y mae yn faich trwm ar gefnau y trethdalwyr, y rhai yn eu dallineb pleidiol a'i gosodasant arnynt eu hunain. Nid yw Ysgolion y Byrddau eto wedi profi eu bod i fyny i safon yr ysgolion enwadol; nid yw yr addysg grefyddol a roddir ynddynt ddim ond *sham*. Y mae yn dda genym nad yw y mesur yn myned i orfodi pobl i anfon eu plant, fel y dywedodd Arglwydd Sandon, fod hyn yn groes i deimlad cenedlaethol y bobl. Trwy'r holl flynyddoedd y mae y Sectwyr wedi bod yn bloeddio yn erbyn gorfodaeth; ac yn awr maent am osod gorfodaeth mewn grym: wele un arall o anghyssonderau yr Ymneullduwyr secularaidd. Y mae yn hawddach arwain pobl na'u gyru. Y mae mesur Arglwydd Sandon yn rhoddi gallu i'r awdurdodau lleol i ddirgymhell rhieni i anfon eu plant i'w haddysgu. Yn y lleoedd nad oes un Bwrdd Ysgol, bydd i'r cynllun hwn lanw yr ysgolion gwirfoddol. Ni fydd i un trethdalwr achwyn am hyn. Dywedodd Arglwydd Sandon fod 18,000, 000p. wedi eu tanysgrifio at addysg, y rhan fwyaf gan aelodau Eglwys Lloegr. Pa le mae ymffrost chwyddedig yr Ymneillduwyr am eu gwirfoddoliaeth yng ngwyneb y ffeithiau hyn, y rhai sydd yn addysgu y werin? Nis gall y Seculariaid wrthddywedyd dim yn erbyn araith Arglwydd Sandon. Nid oedd gan y cyhoedd ddim un drychfeddwl am natur y mesur cyn iddo gael ei ddwyn o flaen y Ty. Nid oes gan wrthwynebwyr y Weinyddiaeth ddim un goes i sefyll arni, nac un sail i'w wrthwynebu.

*Cartref Cymreig i Dywysog Cymru.*—Dywedir fod Tywysog Cymru yn myned i gael anneddle yng Nghymru, a'i fod wedi dewis Bryn y Neuadd, Llanfair Fechan, Bangor, yr hwn sydd yn perthyn i Mr. Platt, A.S.

*Ficeriaeth Abertawy.*—Ychydig amser yn ol bu farw y Parch. E. B. Squire, ficer Abertawy, ac mae y Parch. Mr. Crossthwaite o Sir Gaerefrog, wedi cael ei benodi i fod yn olynydd iddo.

*St. Mary Radcliffe, Caerodor.*—Yr Eglwys uchod yw un o'r Eglwysi harddaf ym Mhrydain Fawr. Uwch law cwarter canrif yn ol dechreuwyd ei hadferu, ac mae y gwaith yn cael ei ddwyn ym mlaen hyd

heddyw. Ger llaw i'r Eglwys hon yr oedd masnachwr cyfrifol yn cario ei fasnach ym mlaen o'r enw Mr. Proctor. Cynnygiodd Mr. Proctor dros ryw berson anadnabyddus dan y ffugenw "*Nil Desperandum,*" i ail adeiladu y porth gogleddol o'r Eglwys, yr hwn sydd yn un ardderchog ar ei draul ei hun, ar yr ammod nad oedd un math o gwestiynau i gael eu gofyn mewn perthynas iddo. Yr oedd y gost yn 2,200p. Nid oedd gan *Nil Desperandum* ddigon o arian i dalu lawr, ond addawodd dalu yn wythnosol. Dechreuwyd ar y gwaith, ac am gwarter canrif dygwyd yr adferiad ym mlaen, a thalwyd y gweithwyr bob dydd Sadwrn trwy Mr. Proctor; ond nid oedd neb yn gwybod pwy oedd yn talu. Cadwyd y gyfrinach hyd yn awr. Ar y 13ydd o'r mis diweddaf bu farw Mr. Proctor, ac ar ol ei farwolaeth dadguddiwyd y gyfrinach. Mr. Proctor ei hun oedd *Nil Desperandum.* Nid yn aml y clywsom am y fath haelioni ac hunanymwadiad. Nid oedd Mr. Proctor yn gyfoethog pan ddechreuwyd yr adferiad; nid oedd ef fel llawer am gael clod ac enw da gan ddynion am ei haelioni. Tyma beth oedd Cristion gwirioneddol yn gwneyd gorchymmyn Pen Mawr yr Eglwys ei hun. Yr oedd Mr. Proctor yn Eglwyswr ac yn Geidwadwr ffyddlawn. Bu farw yn 64 mlwydd oed. Bydd adferiad Eglwys St. Mary yn gofadail iddo, ac yn esampl i ereill i'w hefelychu.

## ESGORODD,

JONES—Mai 7, yn y Porth Tywyll, priod Mr. W. E. Jones, cyfferiwr, ar fab.

WOODMAN—Priod Mr. C. E. Woodman, ar ferch.

## BU FARW,

EVANS—Ebrill 25, yn Johnstown, James Evans, mab ieuangaf y diweddar John Evans, perchenog y "*Carmarthen Journal,*" 63 oed.

EVANS—Mai 17, Mr. John Evans, o Hen Ariandy Brycheiniog, ynad yr heddwch ac Is-raglaw dros y sir hono, 81 oed.

HUMPHREYS—Mai 4, Margaret, priod Mr. John Humphreys, Llanelli. 66 oed.

LEWIS—Mai 21, yn ei breswylfa, 5, Rhodfa, Caerfyrddin, Mr. David Lewis, masnachydd, yn ei 46fed flwyddyn o'i oed.

LLOYD—Mai 25, ym Mhorthcawl, Mr. Geo. Lloyd, gynt o Heol y Frenines, yn y dref hon.

LLOYD—Mai 4, yn 82 Heol y Prior, Mary Lloyd, 68 oed.

WILSON—Mai 4, yn Battersea, Llundain, Mary, priod Mr. J. C. M. Wilson, a thrydedd ferch y diweddar Mr. David Thomas, llongoruchwyliwr, o'r dref hon, 52 oed.

## Y LLITHIAU PRIODOL, MEHEFIN, 1876.

| Meh. | Suliau a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 4 Sul | Y Sulgwyn* | Deut. xvi. hyd 18<br>Rhuf. viii. hyd 18 | Esai xi; neu Esec. xxxvi. 25<br>Gal. v. 16; neu Actau xviii. 24 hyd xix. 21 |
| 5 Llun | Llun yn wythnos y Suglwyn | Gen. xi. hyd 10<br>1 Cor. xii. hyd 14 | Num. xi. 16—31<br>1 Cor. xii. 27 a xiii. |
| 6 Maw. | Maw. yn wythnos y Sulgwyn | Ioel ii. 21<br>1 Thes. v. 12—24 | Micah iv. hyd 8<br>1 Ioan iv. hyd 14 |
| 11 Sul | Sul y Drindod, Sant Barnabas, Apostol a Merthyr | Esai vi. hyd 11<br>Dad. i. hyd 9 | Gen. xviii., neu i. a ii. hyd 4<br>Eph. 4. hyd 17; neu Mat. iii. |
| 18 Sul | 1 Sul wedi'r Drindod | Ios. iii. 7 hyd iv. 15<br>Actau ii. 22 | Ios. v. 13 hyd vi. 21; neu xxiv<br>1 Pedr iii. 8 hyd iv. 7 |
| 24 Sad. | Genedigaeth Ioan Fedyddiwr | Mal. iii. hyd 7<br>Mat. iii. | Mal. iv.<br>Mat. xiv. hyd 13 |
| 25 Sul | 2 Sul wedi'r Drindod | Barn. iv.<br>Actau vii. hyd 35 | Iwd. v., neu vi. 11<br>1 Ioan i. |
| 29 Iau | Sant Pedr, Apostol a Merthyr | Esec. iii. 4—15<br>Ioan xxi. 15—23 | Sech. iii.<br>Actau iv. 8—23 |

* Y Salmau Priodol: Boreu—48, 68; Prydnawn, 104, 145. Credo Sant Athanasius i'w arfer. Y Rhagymadrodd Priodol yng Ngwasanaeth y Cymmun i'w arfer hyd y 10fed.

CARMARTHEN:

Printed and Published by WILLIAM SPURRELL, at his Printing Office, situate and being at No 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Wednesday, the 31st of May, 1876.

John [illegible] misely and ready to turn a penny — [illegible] a [illegible] glass letter or any [illegible] he died a very rich man


# YR HAUL.

Cyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIF. 235. GORPHENAF, 1876. CYF. 20.


## CYFRES FER O BREGETHAU ER AMDDIFFYNIAD Y FFYDD.

### GWYRTHIAU.—V.

"Pryd hau, a chynauaf, ac oerni, a gwres, a haf, a gauaf, a dydd, a nos, ni phaid mwy holl ddyddiau'r ddaiar."—GEN. viii. 22.

GWELSOM o'r blaen beth sydd i'w ddeall wrth y geiriau unffurfiaeth natur, a dangoswyd nad oedd yn deg gwrthddadlu yn erbyn credinolrwydd gwyrthiau ar unrhyw dir na fyddai yn gymmeradwy hefyd yn erbyn credinolrwydd unrhyw ymddangosiad naturiol. Os derbynir ein hanwybodaeth o holl elfenau yr achosiaeth fel esboniad o ffaith wyddorol eithriadol, dylid hefyd dderbyn yr un esboniad pan yn mesur a phwyso gwyrth wrth y safon o unffurfiaeth natur. Ni ddylid cymmeryd fel troseddiad deddf mewn gwyrth, yr hyn ni chymmerid fel troseddiad deddf neu fel gwrthwynebiad i unffurfiaeth natur mewn unrhyw ymddangosiad diwyrthiol.

Ar ol dangos nas gall y gwrthddadleuwr Deistaidd amddiffyn ei wrthwynebiad i gredinolrwydd gwyrthiau ar y tir blaenorol, os ydyw yn ddichonadwy fod rhywbeth anadnabyddus i ni ar waith yn dwyn yr ymddangosiadau *(phenomena)* oddi amgylch, mae yn rhaid iddo roi fyny yr amddiffynfa hon, a chilio i un nes i'r castell. Yr wrthddadl yn awr yw, nad ydyw y tyb-osodiad fod rhywbeth anadnabyddus ac anesbonadwy yn bresennol ac yn gweithredu (megys mewn ymddangosiadau naturiol anesbonadwy), yn ddigon i gyssoni dygwyddiad gwyrth ag unffurfiaeth natur; o herwydd mae ymddangosiad gwyrthiol yn groes anobeithiol i ddeddfau naturiol.

Gadëwch i ni yn awr edrych yr ymresymiad yma yn ei wyneb. Gellir gwneyd hyny yn ddibetrus, ond bydd angen am amynedd ac amser i wneyd hyny yn weddol gyflawn ac eglur. Digon o waith fydd o leiaf i'r bregeth bresennol. Cynnorthwyed yr Arglwydd ni yn ein hymgais.

Un modd trwy ba un y gallwn wybod a ydyw gwyrthiau yr Ysgrythyr yn groes anobeithiol i ddeddfau natur, yw trwy ofyn a oedd *y sylwedd a'r galluoedd naturiol adnabyddus* mewn cyssylltiad â'r wyrth yn cael eu dylanwad naturiol yn y wyrth hono. *Os meddent eu dylanwad naturiol*, beth bynag yn ychwaneg raid ei dybied fod yn bresennol o

alluoedd neu ddeddfau i achosi'r wyrth, nis gellir dyweyd fod yno *droseddiad* o ddeddf naturiol. *Os na feddent ei dylanwad* naturiol yr oedd deddf naturiol yn cael ei chroesi, ac mae'r wyrth yn agored i'r gwrth wynebiad hwn a godir yn ei herbyn.

Ni a gymmerwn ryw fras olwg ar y gwyrthiau Ysgrythyrol er mwyn ystyried pa un a oedd y sylwedd a'r galluoedd naturiol *(the matter and forces of nature)* ag oedd yn bresennol yn cael eu dylanwad ai peidio Cymmerir yr engreifftiau allan o'r gwyrthiau a ellir eu rhestri fel rhai mewn cyssylltiad â natur allanol, neu fel rhai mewn cyssylltiad â'r natur ddynol; y gwyrthiau ar *anian*, a'r gwyrthiau ar *ddyn*.

O'r gwyrthiau ar anian mae llawer o honynt yn rhy debyg i ddygwyddiadau naturiol adnabyddus i neb feddwl eu dwyn ym mlaen fel troseddiadau eglur a dios o ddeddfau naturiol. Y cyfryw yw y Diluw, gwlawio tân ar Sodom, llynciad Dathan ac Abiram gan y ddaiar, syrthiad caerau Iericho, y tân o'r nefoedd yn ysu offrwm Elïas, taweliad sydyn y storom ar Fôr Galilea, y daiargrynfäu a ryddhasant yr Apostolion fwy nag unwaith o'r carchar, ac ereill cyffelyb. Awn ym mlaen ynte at rai mwy anghyffredin.

Y cyfryw yn ddiammheu yw y rhai y dywedir am danynt eu bod yn groes i ddeddf dysgyrchiad *(the law of gravitation)*. Yn eu plith mae y mynediad trwy y Môr Coch a'r Iorddonen, nofiad y fwyall haiarn, Crist yn rhodio ar y môr, esgyniad Crist i'r nefoedd.

Ond a oeddynt yn groes i ddeddf dysgyrchiad? Os oeddynt, pa beth fuasai y canlyniadau? Ystyriwch hyny mewn cyssylltiad ag un o'r gwyrthiau hyn a enwyd, sef y mynediad trwy y Môr Coch. Pe buasai deddf dysgyrchiad wedi ei diddymu, nid arosiad y dyfroedd yn eu gyrfa, neu eu pentyriad yn gronfa uchel, fuasai wedi cymmeryd lle, nes i Israel fyned trosodd yn droedsych; ond lluchiad peudramwnwgl y môr a'r Israeliaid hefyd gydag ef i wagle anuherfynol annwn trwy effaith dylanwad cauolocheliadol, cylchdroad y ddaiar *(centrifugal of the earth's rotation)*. Rhaid i ni, gan hyny, nid yn unig beidio credu yn niddymiad neu arosiad deddf dysgyrchiad, ond i'r gwrthwyneb, hollol gredu yn ei gweithrediad parhäus a chysson, onid e ni fuasai yr Israeliaid byth yn alluog i fyned trosodd. Mae yn wir fod eisieu cydweithrediad rhyw allu arall heb law dysgyrchiad, ond nid ydyw presennoldeb gallu ychwanegol yn profi fod gallu dysgyrchiadol yn cael ei droseddu neu ei ddiddymu; profa yn unig fod yr effaith y fath nas gallai deddf dysgyrchiad ar ben ei hun byth ei hachosi. Nid yw deddf naturiol, hyd ag y deallwn hi, yn ddigon i roi cyfrif am y wyrth, ond nid oes dim rheswm dros feddwl fod troseddiad o ddeddf naturiol wedi cymmeryd lle. Yn yr un modd nis gellir eglurhau yn gyflawn yr achos pa ham yr esgyn y sudd *(sap)* i fyny mewn coeden, yr hyn sydd groes i ddeddf dysgyrchiad ar yr olwg gyntaf, eto ni ddywedir fod deddf dysgyrchiad yn cael ei throseddu.

Gall ymresymiad o'r un natur a'r hyn a ddefnyddiwyd yn awr mewn perthynas i'r Iorddonen symmud ymaith hefyd bob gwrthwynebiad o'r un natur a ellir ei gyfodi yn erbyn y gwyrthiau ereill a enwyd, y mynediad trwy y Môr Coch, nofiad y fwyall, cerddediad Crist ar wyneb y môr, a'i esgyniad. Ym mhob un bron o honynt rhaid golygu fod rhyw allu arall heb law dysgyrchiad yn gweithredu cyn achosi yr effaith, ond nid fod deddf dysgyrchiad yn cael ei throseddu.

Mae dosbarth arall o wyrthiau hefyd yn galw am sylw, sef y rhai sydd yn dal cyssylltiad â'r byd heulog a'r deddfau sydd yn ei reoli. Y mwyaf nodedig o'r rhai hyn yw yr

hyn ddysgrifir yn Iosua, lle darllenwn i'r haul a'r lleuad aros yn eu gyrfa, a'r hyn a ddysgrifir yn 2 Bren. xx., lle darllenwn i'r cysgod ddychwelyd ddeg o raddau yn ei ol yn neial Ahas. Codir gwrthddadleuon yn fynych yn erbyn y gwyrthiau hyn, yn enwedig y gyntaf o'r ddwy a enwais, a dywedir y byddai rhyw ganlyniadau anamgyffredadwy wedi cymmeryd lle yn y gyfundrefn heulog pe byddai yr hanes yn wirioneddol.[1] Pe dygwyddasai trwy droseddiad deddfau sylfaenol natur, byddai yn wir. Ond pe byddai yr annhrefn a ddychymmygir yn y byd heulog wedi cymmeryd lle, byddai y ddaiar wedi teimlo yn ddiammheu oddi wrth hyny yn fwy nag un man arall. Nid yw'r hanes yn dysgrifio dim ond dygwyddiad lleol mewn un man bychan yng ngwlad Canaan; am hyny nid oedd y wyrth yn cynnwys yr annhrefn a ddychymmygir, ond yn cael ei hachosi mewn rhyw ffordd arall.

Y mae yr hanes Ysgrythyrol wedi ei ysgrifenu, yn ol mesur gwybodaeth astronomyddol yr oes, mewn dull naturiol, ac yn arwyddo fod y byd yn myned ym mlaen fel arferol, ac am hyny fod deddfau a galluoedd natur mewn gweithrediad arferol. Yr unig beth sydd yn cael ei ddyweyd yn eglur yw fod yr ymddangosiad yn gyfyngedig i fan neillduol yng ngwlad Canaan, ac wedi ei achosi trwy eiriau ffyddiog Iosua yn galw ar yr haul a'r lleuad i aros. Mewn perthynas i'r *modd* ym mha un yr achoswyd y wyrth heb annhrefn trwy y greadigaeth, byddai yn ddigon dweyd fod Duw (bodolaeth yr Hwn a gymmeraf yn ganiataol yn ein hymresymiad presennol) yn alluog i gyflawnu y wyrth mewn miloedd o ffyrdd nas gallwn ni hyd yn oed eu dychymmygu; ond anturia rhai i roi esboniad o'r modd ym mha un y *gallai* y wyrth fod wedi cymmeryd lle heb un dyb-osodiad o annhrefn yn y byd heulog. Meddyliant mai *tywyllwch* oedd eisieu ar Iosua ac nid *goleuni* er mwyn dinystrio y gelyn. Os cymmerwn y golygiad yna, nid oedd yn fwy o droseddiad ar ddeddfau natur i Dduw roi rhyw orchudd rhwng pelydrau yr haul a'r lleuad mewn rhyw fan neillduol ar y ddaiar, nag yw i ddyn roi ei law rhwng goleuni canwyll a rhyw fan mewn ystafell. Yr wyf yn cynnyg cymhariaeth, ond nid gyda'r meddwl fy mod yn esbonio'r modd union ym mha un yr achoswyd y wyrth.

Eto ym mhellach, gallaf ychwanegu fod amryw ystyriaethau yn bleidiol i'r golygiad mai parhâd tywyllwch ac nid goleuni oedd y wyrth a ganlynodd ffydd Iosua. Ni fuasai enwi y *lleuad* mor ddealladwy ar y golygiad mai goleuni oedd eisieu ar Iosua, canys nid yw goleuni y lleuad yn weledig yn y dydd. Yn nysgrifiad y frwydr sonir am 'storom o geryg cenllysg a laddodd fwy na'r cleddyf. Arwydda'r fath 'storom gwmwl dudew tywyll digon i rwystro goleuni yr haul a'r lleuad. Ymddengys fod y 'storom wedi dechreu cyn gorchymmyn Iosua, ac oddi

[1] Yn ol cyfrifiad Proffeswr Tyndall yr oedd y grym cynnwysedig yn y wyrth yn gyfartal â'r eiddo chwe triliwn o geffylau, ac yn ddigon i roddi i bob un o filwyr byddin gymmaint fil o weithiau a byddin Iosua allu ymladdol gymmaint filwaith â'r eiddo pob un o filwyr Iosua, a hyny nid am ychydig oriau i ddifa'r Amoriaid ond am filiynau o flynyddoedd. Rhydd y Deon Mansell yn ei draethawd cyhoeddedig yn *Aids to Faith*, enghraifft arall yng nghyd ag atebiad. Pe byddai careg fechan ar lan y môr yn gorwedd ychydig latheni yn uwch i fyny nag y gwelir hi, dylid dychymmygu fod y 'storom a'i cododd yn gyfartal i'r effaith, ac yn fwy na dim welwyd erioed. Byddai yn angenrheidiol fod y gwyntoedd, a'r mor, ac achosion y 'storom yn wahanol, a'r holl nerth cynnwysedig yng ngosodiad y gareg yn anferthol; ond beth pe byddai bachgen bach wedi bod yn chwareu ar lan y môr, ac wedi ei symmud yn ddamweiniol? Pa le mae y dychymmyg o rym naturiol anferthol, ac eto nid oedd dim troseddiad o ddeddf—yr oedd yno *ewyllys*.

wrth y cyssylltiad rhyngddynt, wedi achosi y gorchymmyn. Ar ol ysbaid o dywyllwch ffafriol i'r Israeliaid a dinystriol i'r Canaaneaid, onid yw yn fwy tebyg mai tywyllwch ac nid goleuni a ddymunai Iosua ei barhâd? Meddylir hefyd fod y geiriau Hebraeg a ddefnyddir yn yr hanes am yr effaith ar yr haul a'r lleuad *(damam, hamad, lo an lavo)* yn fwy cydweddol â'r syniad o dywyllwch na goleuni. O leiaf arwyddant lonyddwch yn hytrach na gweithrediad, ac mae un o'r geiriau yn cael ei ddefnyddio yn Hab. iii. 11 i ddysgrifio tywyllwch yr haul a'r lleuad gan 'storom o fellt a tharanau, lle yn ol barn llawer, y cyfeirir at y wyrth hon. Os yw'r golygiad yma yn iawn, mai tywyllwch a ddymunai Iosua, ac nid goleuni, i gwblhau ei fuddugoliaeth, mae'n amlwg na fuasai yn achosi yr annrhefn anfeidrol a debygir yn y byd heulog, nac un troseddiad o ddeddfau natur; o herwydd byddai y cymylau yn esboniad digonol a rhesymol o'r tywyllwch heb un troseddiad o unffurfiaeth natur Nodwch hefyd mai yr hanes a roddir i ni yn yr Ysgrythyr yw yr unig wybodaeth sydd genym o'r wyrth, ac os dylem wrando ar yr hanes, nid oedd y wyrth yn esgor ar y canlyniadau a debygir gan ddychymmyg gwrthwynebwyr, h.y., nid oedd yn troseddu deddfau natur, ond yn achosedig mewn rhyw ffordd arall, canys mae yr hanes yn arwyddo fod galluoedd a deddfau natur yn gweithredu fel arferol. Ar yr olwg hefyd mai tywyllwch a ddymunai Iosua trwy barhâd y cymylau, mae yr anhawsdra sut i esbonio y geiriau "diwrnod cyfan" yn yr hanes yn diflanu. Ar yr olwg mai *goleuni* a ddymunai, mae yn ammhosibl dyweyd a feddylir fod y diwrnod gymmaint ddwywaith ag arferol, neu fod deuddeg awr o oleuni o'r amser y rhoes Iosua y gorchymmyn, neu pa beth?

Yn nesaf mewn perthynas i'r cysgod ar ddeial Ahaz. Dywedir iddo ddychwelyd "ddeg o raddau." Y mae yn debyg fod y deial wedi ei wneyd o risiau, a'u bod wedi eu gosod yn y fath fodd ag i ddangos yr amser o'r dydd wrth rif y grisiau ar ba rai y syrthiai cysgod yr haul. Yr oedd y cysgod wedi gadael y grisiau isaf, ond fe ddychwelodd ar hyd-ddynt mewn ffordd anarferol. Nid yw yn angenrheidiol i ni feddwl fod y ddaiar wedi troi yn ei hol yn ei chylchdroad beunyddiol; canys buasai yr un tywyniad ar y deial pe byddai un pen iddo wedi ei gyfodi, neu y pen arall ostwng. Mae daiargrynfâu yn gyffredin yn Syria,[1] ac mae yn amlwg y gallasai daiargryn fod wedi creu y fath ymddangosiad heb un troseddiad o ddeddfau natur. Nid yw chwaith yn *ammhosibl* i'r ymddangosiad gymmeryd lle trwy ddiffyg ar yr haul. Yn wir mae yn eithaf *tebygol*, canys mae seryddwyr wedi cyfrif bod diffyg o'r natur a greai y fath ymddangosiad ar y deial tuag amser selni Heseciah. Heb ystyried yr un o'r ddau olygiad hyn yn *sicrwydd*, maent yn ein galluogi i ddweyd bod *modd* esbonio'r wyrth heb unrhyw *droseddiad* o ddeddfau natur, pa beth bynag heb law neu uwch law natur oedd yn gweithredu allan o'r golwg.

Gadëwch i ni yn y lle nesaf gymmeryd enghreifftiau o blith y gwyrthiau a debygir eu bod yn troseddu deddfau gwres, sef y berth yn llosgi heb ei difa, y gwlith ar y cnu gwlan yn y llawr dyrnu, a chadwedigaeth y tri llanc o Israel yn y ffwrn danllyd. Mae gwyddoniaeth yn dangos y gellir rhoi oerfel mawr yng nghanol gwres mawr, a'r defnyddiau fod bron yn cyffwrdd â'u gilydd, eto heb droseddu un ddeddf, ïe, yn hytrach mewn ufudd-dod i ddeddf. Heb gasglu mai mewn ffordd hollol gyffelyb y

[1] Gwelir oddi wrth 2 Cron. xxxii. 31 fod y wyrth yn gyfyngedig i Syria, canys daeth cenadon o Babilon "i ymofyn am y rhyfeddod a wnaethid yn y wlad" at Heseciah.

cymmerodd y wyrth o'r berth yn llosgi heb ei difa le, neu y wyrth o achubiaeth y llanciau yn y ffwrn, mae yn eglur gallwn gasglu fod tân dilosg yn bossibl o dan rai amgylchiadau heb un troseddiad o ddeddf naturiol, ac mae hyn yn ddigon at ein pwrpas. Nid yw yr anhawsder mewn perthynas i gnu gwlan Gideon chwaith yn fwy. Pe byddai dim ond priodoleddau gwlan a'r ddaiar a deddfau gwlith yn bresennol, byddai yma anhawsder yn wir; ond mor hawdd y creai presennoldeb rhyw elfen arall wahaniaeth yn yr ymddangosiad. Os oedd naws y gwlan un noson yn gynhesach na'r ddaiar pan ddisgynai gwlith, ac ar y noson nesaf naws y ddaiar yn gynhesach, mor hawdd y cymmerai yr ymddangosiad le; ni fyddai yn groes i ddeddf. Gall gwyddoniaeth greu yr un ymddangosiad.

Cymmerwn yn nesaf ddosbarth arall o wyrthiau, ym mha rai mae defnyddiau naturiol yn cael eu creu neu eu newid yn sydyn. Y cyfryw yw y wyrth o droi gwialen Moses yn sarff, dwfr yr afon yn waed, y llwch yn llau; rhoddiad dwfr o'r graig, a manna yn yr anialwch; pereiddiad y dyfroedd chwerw gan Moses, ac o'r cawl gwenwynllyd gan Eliseüs; chwanegiad y blawd a'r olew gan Eliseüs, ac o'r bara a'r pysgod gan Grist; tröedigaeth y dwfr yn win yn Cana. Mae y gwyrthiau hyn i gyd yn achosi anhawsder cyffelyb. Ni fydd yn angenrheidiol, gan hyny, i fanylu ond ar un yn unig. Cymmerwn fel esampl o'r lleill y wyrth o borthi pum mil â phum torth a dau bysgodyn.

Mae yr hanes yn dangos fod y bara a'r pysgod â pha un y digonwyd y lluaws yn debyg i fara a physgod cyffredin. Yr oedd y defnyddiau, y galluoedd, a'r deddfau a'u cadwent yng nghyd, eu maethlonrwydd, a'u hymddangosiad yr un ag eiddo bwyd naturiol. Nid oes dim troseddiad o ddeddf i'w weled mor belled a hyn. Os oedd troseddiad yn bod, rhaid mai yn y modd ym mha un y dygwyd y bwyd i fodolaeth mae y troseddfad i'w ganfod. Ond nid yw gwyddoniaeth eto yn medru dangos i ni beth yw y galluoedd yn y planigyn neu yn y creadur, na mesur natur gweithrediad pob un, na'r deddfau a'u llywodraethant, trwy ba rai y dygir planigyn neu greadur i fod. Ni wyddom hyd yn oed a yw gallu bywydol (*vital force*) yn angenrheidiol ai peidio i'w hachosi. Profwyd yn ddiweddar, fe ddywedir, fod amryw sylweddau yn medru dyfod i fodolaeth heb gyfrwng gallu bywydol, er yn groes i'r hyn a gredid yn flaenorol. Mae yn eithaf tebyg y deuir i hyd eto i'r ffordd o ddwyn sylweddau ereill i fod heb allu bywydol. Os na wyddom ni, gan hyny, y modd ym mha un yr achosir bodolaeth amryw sylweddau, y modd ym mha un yr adeiladir y planigyn a rydd i ni luniaeth, neu y creadur a fwytäwn, nis gallwn haeru fod deddfau na ddeallwn wedi eu troseddu. Os oedd gallu creadigol a chynnaliol a bar i'r planigyn ddyfod o'r ddaiar, a derbyn cynnydd oddi wrth yr haul a'r gwlybaniaeth, ac a'i haddfeda i fod yn fwyd i ddyn yn gweithredu, yna, fel y dywed yr Archesgob Trench, gallasai Awdwr a Chynnalıwr natur beri i'r cannyniad gymmeryd lle nid yn raddol, ond ar unwaith trwy gyflymiad gweithrediad y deddfau a'r sylweddau cyffredin. Nis gwyddom fwy am y modd dirgelaidd ym mha un y mae natur yn gweithio. Nid oes lle i ni ddyweyd fod deddf naturiol wedi ei throseddu. Mae yn wir nad yw deddfau naturiol sydd hysbys i ni yn esbonio y wyrth, ond nid oes dim anghysson â hwynt.

Yn y gwyrthiau ereill o'r dosbarth hwn nid yw yr anhawsder gymmaint; mewn rhai mae lawer llai; mewn ereill o honynt mae achosion adnabyddus naturiol yn ddigon i'w hesbonio i ryw fesur. Nid yw cyfnewidiad y llwch i lau, neu ddwfr y

**Nilus yn waed (h.y., yn goch a dryg-sawr),** tarddiad dyfroedd o'r graig, mor annhebyg i ffeithiau naturiol ag i beri i neb feddwl fod troseddiad o ddeddf wedi cymmeryd lle ynddynt.

Cymmaint a hyna am y gwyrthiau ar anian. Ychydig sylwadau yn awr ar y gangen arall—y *gwyrthiau ar ddyn* Maent o ddau fath, un mewn cyssylltiad â'r *corff*, y llall â'r *meddwl*. Ni fydd yn angenrheidiol aros i drin yr olaf o'r ddau hyn (megys dad-guddiadau, prophwydoliaethau, bwriad ysbrydion allan, a'r cyffelyb), canys nid yw deddfau y meddwl o fewn cylch gwyddoniaeth anianyddol, i'r hon y perthyn gwrthddadleuon presennol. Mae y gwyrthiau ar y corff dynol ym mhlith y mwyaf lluosog a phwysig yn yr Ysgrythyr, ac yn cynnwys gwyrthiau o iachâd, o glefyd disymmwth, o fywyd adnewyddedig, o farwolaeth gospawl, heb law ereill o enedigaeth gwyrthiol, ac o gadwraeth bywyd dan amgylchiadau anghyffredin.

Mewn perthynas i'r rhan fwyaf o honynt bydd un sylwad yn ddigon Mae clefyd a iachâd, bywyd a marwolaeth, yn bethau â pha rai yr ŷm yn bur gynnefin, ond am y deddfau sydd yn eu llywodraethu, naill ai yn unigol, neu yn eu cyssylltiad â'u gilydd, yr ŷm yn anwybodus iawn. Nis gallwn ddyweyd pa un a ydyw unrhyw wyrth o'r dosbarth hwn yn gysson â deddf naturiol ai nad yw, ond credwn ei bod, nid o herwydd fod genym wybodaeth digonol dros y dybiaeth, ond o herwydd ein cred gyffredinol fod pob ymddangosiad yn gysson â deddf. Y mae mor ganiataol i ni feddwl fod deddfau natur yn gweithredu ag oedd o'r blaen mewn cyssylltiad â'r gwyrthiau ereill, canys er fod un dosbarth o ymddangosiadau yn fwy cyffredin na'r llall, mae ein hanwybodaeth yng nghylch y deddfau mewn gweithrediad llawn cymmaint. Hyd yn oed mewn adgyfodiad nid yw mor amlwg a dios fod deddf naturiol yn cael ei throseddu. Nid oes llawer o amser er pan gyhoeddwyd papyr gan y *Royal Society* yn cynnwys hanes am restr o brofiadau er mwyn gweled a oedd yn bossibl adfywio corff marw; yn aflwyddiannus yn wir, ond profa nad oedd y fath adfywiad yn beth ammhossibl yn ol deddfau natur ym marn gwyddonwyr.

Diohon fod un wyrth ar yr olwg gyntaf yn eglur droseddu deddf naturiol—cadwraeth Ionah ym mol y pysgodyn, canys mae anadliad yn angenrheidiol i barhâd bywyd, a pha fodd gallai Ionah anadlu yn y fath le? ond os edrychwn ar yr hanes yn fanwl nid yw yr Ysgrythyr yn dweyd ei *fod yn anadlu* ym mol y pysgodyn. Dywedir (1) iddo gael ei lyncu yn fyw; (2) iddo gael ei fwrw allan yn fyw; (3) a'i fod yn gwybod beth oedd yn myned ym mlaen yn y cyfamser. Mae y tri ffaith yna yn berffaith gysson â marwolaeth ei gorff, tra yr oedd ei enaid yn fyw ac yn feddiannol o allu meddyliol. Cadarnhëir y golygiad hwn yng ngeiriau gweddi Ionah, ac yn enwedig ym mhrif ddyben moesol a phrophwydol y wyrth, sef fel cysgod o farwolaeth Crist, a'i adgyfodiad y trydydd dydd. Mae golygiadau ereill ac amrywiol i'w cael, ond yn ol y golygiad naturiol yma mae y wyrth yn perthyn i adgyfodiadau, a'r anhawsder neillduol o anadliad mewn bol pysgodyn, pa bysgodyn bynag allasai fod, yn darfod, a'r troseddiad o ddeddf adnabyddus yn diflanu.

Gadëwch i ni yn awr grynoi yng nghyd yr hyn a brofwyd. Gwelsom nas gellid dyweyd fod gwyrth yn troseddu deddfau natur, os nad oedd rhyw allu neu ddeddf naturiol yn gweithredu yn groes i'w harferiad, ond nid oedd modd dangos fod hyny yn cymmeryd lle yn un o'r gwyrthiau Ysgrythyrol. Yr oedd enghreifftiau digon lle nad oedd deddf naturiol yn medru rhoi cyfrif am yr ymddangosiad, ac yn wir ni *fedrai* yn y

gwyrthiau yn gyffredinol. Yr unig beth angenrheidiol i gyssoni y gwyrthiau â deddfau natur oedd caniatâu bod rhyw elfen ar waith heb law y rhai a adnabyddwn, hyny yw, mewn geiriau ereill, cydnabod ein hanwybodaeth o'r *holl* achosion. Mewn gwyddoniaeth yn ddigon mynych cydnabyddir ein hanwybodaeth o'r achosion ar waith mewn ymddangosiadau eithriadol, ond ni wedir o herwydd hyny unffurfiaeth natur. Yn yr un modd hawliwn mai teg yw i'n hanwybodaeth gael ei dderbyn mewn perthynas i wyrthiau heb ein harwain i'r casgliad eu bod yn groes i unffurfiaeth natur. Nid yw bod rhyw allu arall yn angenrheidiol heb law achosion naturiol *adnabyddus i ni* cyn dwyn gwyrth i ben yn un prawf fod deddfau adnabyddus yn cael eu troseddu, ond mae ystyriaeth o'r gallu arall yma yn galw am sylw ar ben ei hun.

Eto, mor belled ag yr ydym wedi myned, gallwn hyd yn hyn lawenhau na raid i wyrthiau yr Ysgrythyr ofni cael eu profi yng ngoleuni rheswm a gwyddoniaeth deg, ac os cymmerwn i mewn y dystiolaeth drostynt mae yn hawddach credu iddynt gymmeryd lle nag iddynt beidio, ïe, byddai eu hangredu yn achosi anhawsderau mawr. Gall y Cristion fod yn hyderus fod ei ffydd "a'i sail ar y mynyddoedd sanctaidd," a derbyn nerth adnewyddol trwy ystyriaeth manwl o'r gwrthddadleuon cadarnaf yn erbyn gwyrthiau, "i gadw cyffes ei ffydd yn ddisigl hyd y diwedd."

D. W. Thomas.

---

## DA YW DUW.

(*Efelychiad.*)

Fy Ior, fy Nhad, tra'n crwydro'r byd
Hyd eirwon ffyrdd o'm cartref clyd,
O'm calon dysg im' ddweyd o hyd
Mai da yw Duw.

Er bod fy ffawd a'm ffordd yn groes,
Na foed im' rwgnach trwy fy oes,
Ond dysg im' ddweyd, gan godi'r groes,
Mai da yw Duw.

A phan ddêl Angeu llym a'i gledd
I'm tori lawr i waelod bedd,
O boed im' ddweyd mewn siriol wedd
Mai da yw Duw.

Bendithia di fy enaid gwan,
Dy Sanctaidd Ysbryd fyddo'm rhan;
A dysg im' lefain ym mhob man
Mai da yw Duw.

O adnewydda ddydd i ddydd
Fy nghalon—tyn fy mhechod cudd,
Er mwyn im' allu dweyd yn rhydd
Mai da yw Duw.

Pan nid anadlaf yma'n ber
Mewn dagrau dwys fy ngweddi fer,
Pryd hyny canaf uwch y ser
Mai da yw Duw.

Henri Myllin.

*Llansilin.*

---

## HANES TRIGOLION, DEFODAU, AC OFERGOELION EWROP CYN CRED.

*Cyfieithad Glanmor—"Germania" Tacitus.*

(*Parhâd o dudalen* 169.)

### VIII.—DYLANWAD Y RHYW FENYWAIDD, &c.

Traddodir coffadwriaeth i rai byddinoedd, wedi eisoes droi yn ol a gwangaloni, gael eu hailwroli gan y merched, drwy ddyfalwch gweddi ac arddangosiad bronau, a'r caethiwed a ddarlunid wrth law, yr hyn a ofnant yn fwy anoddefgar o lawer yn enw eu gwragedd, yn gymmaint ag y rhwymir yn fwy effeithiol feddwl y gwladwriaethau hyny oddi wrth ba rai y gofynir hefyd enethod pendefigaidd ym mysg gwystlon. Heb law hyny, tybiant fod rhywbeth cyssegredig a rhagarwyddol yn hanfodi ynddynt hwy. Nid ydynt chwaith yn dirmygu eu cynghorion neu yn esgeuluso eu hatebiadau. Gwelsom dan y dwyfol Vespasian,[1] Veleda yn cael ei hir ddal yn safle dwyfoldeb ym mhlith llaweroedd. Ond mawr barchent gynt Aurinia a llawer ereill, nid mewn coeg weniaith, nac fel pe gwnaent (hwynt yn) dduwiesau.

---

[1] Un o enwau cabledd bwystfilod ymherodrol Rhufain.

IX.—CREFYDD A DUWIAU, &c.

O'r duwiau, addolant Merchur[1] yn benaf, i'r hwn y daliant ei fod yn iawn ar ddyddiau arbenig offrwm hefyd ebyrth dynol. Boddlonant Hercules a Mawrth[2] ag anifeiliaid goddefol.[3] Y mae rhan o'r Sueviaid yn aberthu i Isis[4] Am achos a dechreuad yr aberthiad estronaidd,[5] nis cesglais ond ychydig, oddi gerth bod yr arwyddlun ei hun wedi ei ffurfio ar ddull rhwyflong Liburnaidd[6] yn dysgu i'r grefydd gael ei dwyn o wlad dramor. Heb law hyn, barnant oddi wrth fawredd y nefolion na ddylid cyfyngu'r duwiau o fewn parwydydd,[7] na'u gwneyd yn debyg i un dull o wynebpryd dynol. Cyssegrant lwyni a choedydd, a galwant wrth enwau y duwiau, y Dirgeledig[8] hwnw a ganfyddant yn unig drwy barchedig ofn.

X.—COELION A DAROGANAU.

Rhoddant goel ar ddaroganau a choelbrenau gymmaint a neb. Dull y coelbren sydd syml; holltant yn asglodion gangen gymmynedig o bren ffrwythau, a'r rheiny wedi eu gwahaniaethu â nodau pendant a luchiant ar antur a damwain ar wisg wen. Yna, os ymgynghoriad cenedlaethol fydd, offeiriad y Wladwriaeth; os peth anghoedd,[9] y penteulu ei hun, wedi gweddïo ar y duwiau, ac edrych tua'r nef, a'u cymmer i fyny o un i un deirgwaith, gan eu deongli yn ol y nodau a wnaed arnynt o'r blaen. Os gwaharddant[10] (ni bydd) dim ymgynghoriad y diwrnod hwnw. Os caniatëir, y mae coel y daroganau eto yn ofynol. Hyn hefyd a ddeallir fel yma, drwy ymgynghori â lleisiau ac ehediadau adar. Peth priod i'r genedl yw ymofyn hefyd â rhagargoel a rhybudd meirch. Porthir hwynt ar draul y wlad yn yr un llwyni a choedydd. (Y maent) yn wynion, ac heb eu halogi ag un gwaith marwol.[11] Y rhain wedi eu bachu wrth y cerbyd cyssegredig a ganlynir gan yr offeiriad a'r brenin, neu y tywysog. A daliant sylw ar eu gweryriad a'u ffroenychiad; ac nid oes cred fwy i un goel, nid yn unig ym mysg y bobl cyffredin, ond ym mhlith y pendefigion, ym mhlith yr offeiriaid; canys ystyriant eu hunain yn weinidogion y duwiau, y rhai'n (y meirch) yn gydgyfriniaid.[12] Y mae hefyd sylw i goel arall, drwy yr hon y ceisiant wybod canlyniad y rhyfeloedd mwyaf difrifol; carcharor o'r genedl gyda'r hon y bo'r rhyfel, pa fodd bynag y dalied ef, a osodant i ymladd gyda gwr detholedig o'u pobl eu hunain, pob un o'r ddau yn ei ymarfogiad cenedlaethol. Buddugoliaeth y naill neu'r llall a dderbynir megys rhagbenderfyniad.[13]

XI.—CYNGHORAU, &c.

Tywysogion a ymgynghorant yng nghylch y pethau lleiaf, pawb yng

[1] Mercurius, mab Jupiter, a Maia, neu Mai. Addolid ef gan fasnachwyr, a marchnatwyr, a theithwyr. Cyfrifid ef fel negesydd y duwiau. Dyma hefyd dystiolaeth Caisar.

[2] Mars, mab Jupiter, a Juno, yr hwn a addolid fel duw rhyfel, a phlaned yn y nef.

[3] Cyfreithlawn.

[4] Merch Thaumas ac Electra, negeswraig Juno. Yr un yw, meddent, â'r enfys.

[5] Addoliad Isis.

[6] Bro yn Croatia, ar Fôr Adria, yw Liburnia.

[7] Dyma'r achos nad adeiladai Patrieirch Ysgrythyrol na'r Derwyddon demlau fel y gwnawn ni.

[8] Tybir yma mai yr un Anweledig a addolid dan amrywiol enwau a phriodoliaethau. Dywed Lucan mai prif dduwiau'r Galiaid oeddynt Teututes (sef Merchur), Hesus neu Esus (Isis), a Tharanis. Diau mai yr un oedd yr olaf a Jupiter Tonans, neu y Taranydd.

[9] Peth preifat, neillduol, teuluaidd, neu bersonol.

[10] Sef y coelbrenau, os syrthiant yn wrthwyneb i'r peth.

[11] Heb fod mewn rhyfel, neu angladd, nac un gwaith cyffredin.

[12] Yn yr un gyfrinach, sef y duwiau, yr offeiriaid, a'r meirch, yn gwybod yr un dirgelion.

[13] Megys terfyn ar yr ymrafael.

nghylch y pethau mwyaf; eto yn y fath fodd fel ag y mae y pethau hyny hefyd, penderfyniad pa rai sydd yn llaw y bobl, yn cael eu rhagdrafod ym mysg y tywysogion. Ymgynnullant (oddi gerth i ryw beth damweiniol a sydyn ddygwydd) ar ddiwrnodau pendant, pan fo'r lleuad yn newydd neu yn llawn; canys credant mai dyna'r cychwyniad mwyaf llwyddiannus i drin gorchwylion. Ac ni chyfrifant rifedi diwrnodau fel ni, ond nosweithiau.[1] Fel hyn penodant a gosodant i lawr fod nos fel pe bai yn arwain[2] dydd. Y mae y drwg hwn oddi wrth eu rhyddid, nad ydynt yn ymgynnull ar unwaith, nac fel y gorchymmynir, ond ail a thrydydd diwrnod a dreulir drwy hwyr oed yr ymgynnullwyr. Eisteddant yn arfog, fel y gwel y dorf yn dda. Gosteg a orchymmynir gan yr offeiriad, i'r hwn y mae'r pryd hyny awdurdod i orfodi.[3] Yna brenin neu dywysog megys y bo i bob un (flaenoriaeth) oedran; megys y bo (gradd) pendefigrwydd; megys y bo (uchaf) bri rhyfel; a wrandewir yn fwy oddi ar allu i ddarbwyllo nag awdurdod i orchymmyn. Os anfoddhâ yr ymsyniad (hwynt), gwrthodant (ef) gyda ffroeniad;[4] os boddia (hwynt), ysgydwant bicellau. Y dull mwyaf anrhydeddus o ddangos cydsyniad yw cyd-dincian[5] arfau.

XII.—BRADWRIAETH, COSPEDIGAETHAU, &c.

Caniatëir cyhuddo hefyd mewn cynghor, a phenderfynu cosp marwolaeth. (Y mae) gwahaniaeth cosp (yn tarddu) oddi wrth y trosedd. Crogant ar brenau fradwyr ac encilwyr; suddant mewn pyllau a chorsydd gyda chlwyd wedi ei bwrw arnynt annewrion, ac anrhyfelwyr, a'r gwarthus o gorff. Amrywiaeth cospiadau a edrych at hyn, fel pe byddai rhaid arddangos ysgelderau pan y cospir hwynt, a chuddio cywilydd. Ond y mae cosp troseddiadau ysgafnach wrth radd.[6] Wedi eu profi yn euog dirwyir hwynt i gynnifer o feirch a buchod. Peth o'r dirwy a delir i'r brenin neu'r wladwriaeth, a pheth i'r hwn a ddielir, neu ei gyfnesafiaid. Dewisir yn yr un cynghor hefyd dywysogion,[7] y rhai a wnant farn ym mhlith y tylwythau a'r pentrefi. Y mae cant o osgorddion o fysg y werin gyda phob un o honynt, ar unwaith er cynghor ac awdurdod.

XIII.—CYMMERYD ARFAU.

Ni wnant chwaith ddim, na gwladol nac anghoedd,[8] ond yn arfog; ond nid yw yn arfer neb gymmeryd arfau cyn i'r Wladwriaeth ei brofi yn abl. Yna, mewn cynghor, rhyw un o'r tywysogion, neu y tad, neu berthynas agosaf, addurna'r gwr ieuanc â tharian a phicell. Dyna y *toga*[9] (yr amwisg anrhydeddus) yn eu plith hwy, dyma anrhydedd cyntaf gwr ieuanc. Cyn hyn ymddengys megys rhan o'r tylwyth, wedi hyn o'r wladwriaeth. Pendefigedd hynod neu deilyngdod mawr y tadau a esyd barchedigaeth tywysog hyd yn oed i ieuenctyd. Ymgasglant hefyd gydag ereill cryfach a hirbrofedig, ac nid cywilydd iddynt gael eu gweled ym mysg y cymdeithion.[10] Y mae hefyd i'r gymdeithas ei hun raddau ym marn yr hwn a ganlynant, a mawr yw

[1] Fel y dywed yr Ysgrythyr, "A'r hwyr a fu, a'r bore a fu." Am hyny y dywedir wythnos, pythefnos, h.y., pymthengnos. Nos Galan, Nos Nadolig, &c., am y noswaith o flaen yr wyl.

[2] Yn rhagflaenu.

[3] Sef i fynu gosteg.

[4] Codant eu trwynau arno fel peth ffiaidd.

[5] Cyttincian, tincio yng nghyd.

[6] Yn ysgafnach neu drymach yn ol gradd y trosedd.

[7] Ystyr y gair tywysog yw un yn tywys, yn arwain, neu flaenori. Ni olygai yn wreiddiol un o waedoliaeth freninol.

[8] Preifat, neillduol.

[9] Math o fantell a wisgai'r Rhufeiniaid wedi iddynt dyfu i lawn oed.

[10] Cymdeithion, canlynwyr, neu osgordd y tywysog.

cydymgais y frawdoliaeth pwy gaiff y lle blaenaf gyda'r tywysog; ac ym mhlith y tywysogion pwy luosocaf a gwrolaf ei osgordd.[1] Dyma bendefigrwydd, dyma wrhydri, fod (un) bob amser yn cael ei amgylchu gan gorff mawr o ieuenctyd detholedig. Rhwysg mewn heddwch; gwarchlu mewn rhyfel.[2] Nid yn unig ym mhlith ei genedl ei hun, ond hefyd ym mysg y gwladwriaethau o amgylch y mae y fath enw, y fath ogoniant, os rhagora yn nifer a dewrder gosgorddion; canys ceisir hwynt ar genadiaethau, ac addurnir hwynt ag anrhegion; a chan amlaf cadwant ryfel i lawr drwy eu bri yn unig.[3]

XIV.—GWROLDEB A RHYFELGARWCH.

Pan ddeuir i'r maes, cywilydd tywysog (yw) ei drechu gan wrolder; cywilydd dilynwyr yw peidio bod yn gyffelyb mewn gwroldeb i'r tywysog. Yn bendifaddeu y mae yn gywilydd a gwarth drwy holl oes ddarfod i un encilio o'r maes wedi gorfyw ei dywysog. Ei amddiffyn, edrych (i fyny) ato, a chyfrif iddo ef hyd yn oed eu gweithredoedd dewr eu hunain, yw eu harbenig rwymedigaeth. Tywysogion a ymladdant er mwyn buddugoliaeth, dilynwyr er mwyn y tywysog. Os y wladwriaeth yn yr hon y codasant a ymfarweiddia drwy hir esmwythfyd, llawer o ieuenctyd pendefigaidd, o'u hewyllys eu hunain, a gyrchant at y cenedloedd hyny, y rhai yn y cyfamser a gariant ym mlaen unrhyw ryfel, am fod llonyddwch yn ddiflas gan y genedl, ac yr ymenwogant yn haws ym mysg peryglon. Ac nis gellwch gadw gosgordd fawr ond drwy drechedd a rhyfel, o herwydd gofynant haeledd eu tywysog, y rhyfelfarch hwnw, a'r bicell waedgoch a buddugoliaethus hòno; canys gwleddoedd ac arlwy, er gwladeiddied, eto yn haelfawr, a syrthiant am daledigaeth. Defnydd haelfawredd a geir drwy ryfel ac ysbail. Ac ni ddarbwyllwch (dynion o'r fath duedd) i arddu y ddaiar neu ddysgwyl blwyddyn cyn hawsed ag i herio gelynion a haeddu clwyfau. Heb law ei fod yn ymddangos yn beth llwfr a diymdrech geisio drwy chwys yr hyn y gellir ei gael trwy waed.

XV.—SEGURDOD A DIOGI.

Pan nad ymgymmerant â rhyfeloedd ni threuliant lawer (o'u hamser) yn hela, ond gan mwyaf mewn seguryd, gan ymroi i gwsg a bwydydd; pob dyn cryfaf, mwyaf rhyfelgar heb wneyd dim, wedi rhoi gofal y ty, a'r duwiau teuluaidd, a'r meusydd, i'r merched a'r hen wŷr, ac i bwy bynag (fo) wanaf o'r teulu, hwynt-hwy eu hunain a hepiant. Rhyfedd amrywiaeth natur, pan y mae yr un dynion yn caru mor fawr ddiogi, ac yn casäu llonyddwch! Arfer y taleithiau o'u hewyllys da eu hunain, ac ar wahan, yw anrhegu tywysogion, naill ai â phraidd neu ffrwythydd, yr hyn a dderbynir megys anrhyddedied, ac a gyferfydd eu hangen. Ymfalchïant yn benaf yn anrhegion cenedloedd cymmydogaethol, y rhai a ddanfonir, nid megys oddi wrth bersonau, ond oddi wrth y wladwriaeth. Meirch dewisol, arfau mawrion, cêr-ceffylau, a thorchau, fel y dywedasom eisoes, a dderbyniant yng nghyd ag arian.

XVI.—TRIGFANAU, ADEILYDDIAETH, &c.

Gwyddir yn burion na phreswylir dim trefydd gan lwythau y Germaniaid. Ni oddefant yn wir anneddau gydiol y naill wrth y llall. Trigant ar wahan, ac ar eu penau eu hunain, fel bo ffynnon, fel bo gwastattir, fel bo llwyn o goed, wedi eu boddio. Cyfleant bentrefi, nid yn ol ein harfer ni, gydag adeiladau cyssylltiog a chydiol, ond pob un a amgylcha ei dy ei hun â darn o dir agored, ai yn ocheliad rhag dygwydd tân, neu o anwybodaeth am adeiladu (nis gwn).

[1] O'r cyfryw gymdeithion.
[2] Yw y fath ganlynwyr.
[3] Drwy arswyd son am danynt.

Ni cheir chwaith defnyddiad *mortar* neu briddlechau yn eu mysg. Arferant at bob gwaith ddefnyddiau heb eu llunio, a byr o harddwch a hawddgarwch. Coluraut rai lleoedd yn ddiwyd â chlai mor bur a llathraidd, fel y mae yn ddarndebyg i ddarlun â llinelliadau lliwiau. Arferant hefyd agor cellau tan ddaiar, a chruglwythant hwynt â llawer o dom oddi arnodd yn llochasau gauaf a lle cadw ffrwythydd; o blegid llarieiddiant lymder oerfel mewn lleoedd o'r fath, ac os rhywbryd y daw gelyn efe a anrheithia y lleoedd agored, ond y rhai cudd a chloddiedig, naill ai ni wyddir (eu bod), neu diangant drwy hyn (sef) na chwilir am danynt.

XVII.—DIWYG A GWISGIAETH.

Hug pawb yw cochl wedi ei gydio â chlasp, neu os yn eisieu â draen; oddi gerth hyn yn noethion y treuliant diwrnodau cyfain wrth yr aelwyd a'r tân. Pen-cyfoethogion a wahanieithir â gwisg, nid yn beisiog fel y Sarmatiaid a'r Parthiaid, ond yn dyn, ac yn dangos pob cymmal. Gwisgant grwyn bwystfilod; y rhai nesaf i'r afon (Danube) yn aflêr, y rhai pellach yn fwy trefnus; megys rhai heb ddiwylliad drwy fasnach. Pigant bryfed gwylltion, a brithant y crwyn blingedig â dysbyrchau bwystfilod a gynnyrcha yr eigion tu draw i'r môr adnabyddus. Nid yw gwisg y merched yn wahanol i un y meibion, oddi gerth bod y merched yn aml wedi eu dilladu â gwisgoedd llian; a brithant hwynt â phorffor. ac nid ymestyn rhan o'u dillad uchaf yn llewys; yn noeth o freichiau a garddyrnau, a'r rhan uchaf o'r fron hefyd yn y golwg.

XVIII.—PRIODASAU, CYNNYSGAETH, DEFODAU, &C

Er bod priodasau yn gaeth yno, ac nas canmolet yn fwy un rhan o foesau, canys y maent agos yr unig farbariaid boddlon ar un wraig bob un; namyn rhyw ychydig iawn, pa rai, nid o benrhyddid, ond o bendefigrwydd, a amgylchir â llawer o ddyweddiadau. Nid y wraig sy'n dwyn cynnysgaeth[1] i'r gwr, ond y gwr i'r wraig. Rhieni a pherthynasau a gyfryngant ac a gymmeradwyant anrhegion—anrhegion nid wedi eu ceisio i foddia'r gwragedd, nac â pha rai yr addurnir y briodasferch, ond ychain, a march ffrwynog, a tharian, gyda gwaewffon a chleddyf. Ar yr anrhegion hyn y cymmerir y wraig, a hithau yn ei thro a ddwg rywbeth o arfogaeth i'r gwr. Cyfrifant hyn y rhwymedigaeth fwyaf, y rhai'n yn ddefodau cyfrin, y pethau hyn (megys) duwiau priodasdod. A rhag i'r wraig feddwl ei hun tu hwnt i ystyriaethau (sef i ofynion) gwroldeb, a thu hwnt i ddamwain rhyfel, rhybuddir hi, hyd yn oed gan argoelion cychwyniad priodas, ei bod yn dyfod yn gyfranog o lafur a pheryglon, i ddyoddef ac anturio yn gyffelyb mewn heddwch, yn gyffelyb mewn brwydr. Yr ychain dan iau a ddadganant hyn, y march pa d hyn, y rhodd arfau hyn; felly i fyw, lly i farw; ei bod yn derbyn yr hy a ddyrydd i'w phlant yn ddilwgr a theilwng; yr hyn a dderbyn ei merched yng nghyfraith, ac a drosglwyddant eilchwyl i'r wyrion.

(*I'w barhau.*)

---

WILLIAM EWART GLADSTONE.

GANWYD William Ewart Gladstone yn Llynlleifiad, ar y 29fed o Ragfyr, 1809. Ei dad oedd Syr John Gladstone, Barwnig, Kincardine, masnachwr tra adnaby~~ddus yn~~ Llynlleifiad. Yr oedd yn ddyn ymroddgar a phenderfynol. Yr oedd ef yn bleidiwr politicaidd selog i Mr. Canning. Yr oedd y gwahaniaeth rhwng y pleidiau politicaidd yn fawr; ac yr oedd tônau cyffröus politiciaeth yn

[1] Cywyll, gwaddol.

fawr. Yn ei gartref boreuol y ffurfiodd ei gymmeriad gwleidyddol yn yr un dull a'i dad Ceidwadwr oedd Syr John Gladstone. Addysgwyd Mr. Gladstone yn Eton, ac Eglwys Crist, Rhydychain. Pan oedd ef yn ddwy ar hugain oed cymmerodd *Double-first Class.* Yn fuan wedi hyn teithiodd ar y Cyfandir. Ar ol ei ddychweliad cafodd ei ethol fel Ceidwadwr dros Newark, pan oedd yr ymdrech rhwng y gwahanol bleidiau yn boeth. Tynodd ei gymmeriad uchel a'i darddiad masnachol sylw Syr Robert Peel. Nid oedd ef ond prin pump ar hugain oed pan y penodwyd ef yn un o Arglwyddi ieuangaf y Trysorlys; ac ym mis Chwefror, 1835, yn Is-ysgrifenydd y Trefedigaethau. Neillduodd Mr. Gladstone o'i swydd gyda Syr Robert Peel ym mis Ebrill, a bu allan o'i swydd nes i Syr Robert Peel gael ei alw yn ol yn 1841.

Ar ei benodiad yn Is-lywydd Bwrdd Masnach a Meistr y Bathdy cafodd ei dyngu i mewn yn un o aelodau y Cyfrin Gynghor. Yn ei swydd newydd gorfu iddo egluro ac amddiffyn trefniadau masnachol y Llywodraeth yn y Senedd. Efe ddarfu bron yn gyfangwbl wneyd ail-broflen o'r doll-dafleu. Pan ddygwyd y gwaith o flaen y Senedd cafwyd ei fod yn un rhagorol yn ei holl fanylion, a phasiodd y ddau Dy heb braidd un cyfnewidiad ynddo.

Yn 1843 penodwyd Mr. Gladstone yn olynydd i Iarll Ripon fel Llywydd y Bwrdd Masnach, ond rhoddodd ei swydd i fyny yn gynnar yn 1845 Ym mis Ionawr, 1846, dadganodd Syr Robert Peel ei benderfyniad i gyfnewid Deddfau yr Yd. Ymlynodd Mr. Gladstone, yr hwn oedd ar y pryd yn Ysgrifenydd y Trefedigaethau, wrth ei arweinydd, gyda'r hwn y dechreuodd ei fywyd politicaidd. Trwy ddylanwad Dug Castell Newydd y cafodd ei ethol dros Newark; o herwydd fod holl ddylanwad yr olaf gyda gwrthwynebwyr Syr Robert Peel, rhoddodd ei sedd i fyny, a bu allan o'r Senedd am ddwy flynedd. Yn yr Etholiad Cyffredinol yn 1847 etholwyd ef a Syr Harry Inglis dros Brifysgol Rhydychain. O'r flwyddyn 1847 y dygwyd Diwygiad y Prifysgolion, ac anallu yr Iuddewon i fod yn Aelodau Seneddol. Yr oedd ef yn dyweyd fod amgylchiadau yn gofyn am wneyd cyfnewidiadau. Gwrthwynebodd ei hen gyfeillion yn aml, ac yn 1851 torodd ei gyssylltiad â'r blaid Geidwadol. Yn 1852, pan ffurfiodd Iarll Aberdeen ei Weinyddiaeth, penodwyd ef yn Ganghellyd y Trysorlys. Trwy ei adnabyddiaeth â chyfrifon y deyrnas, bu yn gymhorth mawr i'r Weinyddiaeth. Ar ol i Iarll Aberdeen roddi ei swydd i fyny, gosododd Arglwydd Palmerstone ef yn yr un swydd, ond rhoddodd hi i fyny ym mhen ychydig wythnosau. Yr achos o hyn oedd fod Mr. Roebuck yn gofyn am bwyllgor i wneyd ymchwiliad i sefyllfa y fyddin Brydeinig o flaen Sebastopol. Yng ngauaf 1858 anfonodd Iarll Derby ef ar genadwri neillduol i'r Ynysoedd Ionaidd. Yn 1859 cymmerodd swyddau Arglwydd Palmerstone fel Canghellydd y Trysorlys. Cyn pen dwy flynedd bu ef yn brif offeryn i ddiddymu y dreth ar bapyr, ac yn nygiad ym mlaen y ymdrafodiaeth rhwng Lloegr a Ffrainc. yr hon a ddygwyd ym mlaen gan Mr. Cobden. Ar ol marwolaeth Arglwydd Palmerstone yn 1865, daeth Mr. Gladstone yn arweinydd Ty y Cyffredin. Yn yr Etholiad Cyffredinol collodd ei sedd dros Rydychain, a chafodd ei ethol dros y rhan ddeheuol o sir Gaerwerydd. Yn 1868 gwrthodwyd ef yno, ond etholodd Bwrdeisdref Greenwich ef yr un pryd, er diogelu sedd iddo, ac mae ef yn ei chynnrychioli hyd heddyw. Yn 1868 neillduodd Gweinyddiaeth Mr. Disraeli, a chymmerodd Mr. Gladstone lyw y Llywodraeth.

Ym mis Rhagfyr, 1868, rhoddodd Gweinyddiaeth Mr. Disraeli ei swydd

i fyny yn fuan ar ol yr etholiad fel y nodwyd.

Dan weinyddiaeth Mr. Gladstone y pasiodd Deddf Dadgyssylltiad Eglwys yr Iwerddon, Deddf Addysg, Deddf Tiroedd yr Iwerddon, a'r Balot, &c. Rhoddodd Mr. Gladstone ei swydd i fyny ym mis Mawrth, 1873, pan daflwyd allan ei fesur ar Addysg Prifysgolion yr Iwerddon. Anfonwyd am Mr. Disraeli dan yr amgylchiadau. Gwrthododd gymmeryd swydd, a gorfu i Mr. Gladstone ailffurfio ei Weinyddiaeth, ond nid oedd ganddo ddigon o fwyrif i weithio yn hwylus.

Ar y 24ydd o Ionawr, 1874, pythefnos cyn i'r Senedd gyfarfod, synwyd y cyhoedd wrth glywed fod y Senedd i gael ei ddadgorffori ar unwaith. Addawodd Mr. Gladstone ddiddymu Treth yr Incwm.

Yr etholiad canlynol oedd y cyntaf trwy'r balot. Yr oedd y prophwydi Rhyddfrydol wedi darogan y buasai i'r balot ddyhuddo Torïaeth, ond trodd yr etholiad allan yn anffafriol i'r Rhyddfrydwyr, a thorodd y blaid i fyny, ac nid oes dim gobaith iddi gael ei huno. Rhoddodd Mr. Gladstone ei rwydd i fyny, a daeth Mr. Disraeli yn Brifweinidog.

Fel arweinydd y blaid wrthwynebol dangosodd yni adnewyddol; nid oedd yn cael ei flino mwyach gan ofalon swydd pan ymosodwyd arno ar y 14ydd o Ebrill, am iddo ddadgorffori y Senedd; amddiffynodd ei hun gyda gallu adnewyddol. Ymroddodd i dreulio ei oriau hamddenol ar feusydd llenyddiaeth. Ar ol treulio deugain mlynedd o'i fywyd cyhoeddus, yr oedd yn naturiol i ddyn chwennych cael seibiant neu newid ei waith. Ym mis Ionawr penderfynodd neillduo fel arweinydd y blaid Ryddfrydol. Perodd hyn gryn lawer o gyffro yn y gwersyll Rhyddfrydol, a bu llawer o siarad am ei olynydd. O'r diwedd syrthiodd y coelbren ar Ardalydd Hartingdon. Nid oedd Mr. Gladstone y pryd hwnw yn meddwl cymmeryd 'rhan mewn gweithrediadau Seneddol, ond cyfnewidiodd ei feddwl i raddau, canys y mae yn parhau i gymmeryd ei ran yng ngweithrediadau y Senedd.

(*I'w barhau.*)

---

## Y WASG YN FELLTITH NEU YN FENDITH.

NID oes dim mor niweidiol i foes a rhinwedd yr oes sydd yn cyfodi a llenyddiaeth rad, y "geiniogwerth arswydus." Y mae y rhai hyn yn cael eu dosparthu wrth y miloedd yn ein trefi, ïe a'n pentrefi; ac maent yn foddion i anfon ugeiniau o blant i'r carchar bob blwyddyn. Ceir rhai yn llawn o fanylion troseddau, llysoedd yr heddgeidwaid, troseddau, llofruddiaethau, budreddau, llys ysgar. Gorchuddir y muriau â darluniau mwyaf dychrynllyd a ffiaidd. Y mae y ffugchwedlau ceiniog—yr ystorïau ffiaidd ac adgas am garwriaethau, hudoliaethau, ysbeiliadau, tai-doriadau, a llofruddiaethau, fel gwenwyn aspaidd yn gwenwyno plant yr oes hon. Y mae y fath ysbwrial, ïe gwaeth nag ysbwrial, yn cael eu darllen yn awchus gan gryts a chrotesi, gweision a morwynion, yn awr. Dylai pob penteulu eu cadw allan o'u tai, ac o ddwylaw eu plant, canys nid ydynt ddim ond gwenwyn marwol.

Y mae eu hawdwyr a'u cyhoeddwyr yn cadw eu hunain o afael y gyfraith a'r heddlu, ac mae y fileiniaid diegwyddor yn ymgyfoethogi ar gefn y fasnach niweidiol hon. Y mae yn wir nad yw y fath halogrwydd yn cael ei ddwyn allan trwy y Wasg Gymreig, ond mae y rhai Saesoneg yn cael eu gwerthu mewn trefi a phrentefi Cymreig, ac mae perygl i'r awydd am lenyddiaeth twb y golchon i fyned ar gynnydd fel mae plant yn dyfod yn fwy adnabyddus â'r iaith Saesoneg. Y pwnc pa fodd y gellir attal y llifeiriant hwn? Ni wnaiff

addysg fydol ei attal, y mae hyn allan o'r cwestiwn. Ni wnaiff addysg fydol yn unig wneyd dim ond *clever devils* o'r plant, fel y dywedodd y Dug Wellington. Nid oes dan haul y fath nifer o ddrwgweithredwyr ieuainc ag sydd yn Llundain, ac nid oes modd diwygio y rhai hyn heb Feibl; ac mae Bwrdd Ysgol Llundain yn gwybod hyn, ac mae wedi penderfynu y bydd i'r Beibl i gael ei ddysgu, ac mae Bwrdd Ysgol goleuedig, neu y mwyrif, yn Tredegar newydd basio penderfyniad i gondemnio Bwrdd Llundain am hyn. Nid oes llawer o leoedd lle mae cymmaint o angen am addysg crefyddol a Thredegar. Mae genym dystiolaeth y Barnwr Quain ar y pen hwn. Y mae masnachwyr y *Penny Awfuls* yn cario busnes fawr ym mlaen o fewn tiriogaeth y Bwrdd uchod, a phob math o anfoesoldeb yn ffynu. Dylid sefydlu llyfrgell ym mhob plwyf, lle y gall y to ieuainc gael llenyddiaeth iachus, llyfrau a fydd o les iddynt ar ol tyfu i fyny.

CRAIG Y FOELALLT.

---

### YMWELIAD TYWYSOG CYMRU AG INDIA.

O BRYDAIN FAWR, o fynwes ein serchiadau,
Etifedd gwych ein Coron a'i holl freiniau
Anturiodd dros y weilgi wyllt gynhyrfus
I'r India bell ar neges anrhydeddus,
A dymuniadau goreu'r wlad a'i magodd
O'i gylch fel cadwyn euraidd a ymdorchodd;
Anturiodd draw i blith anwariaid creulon,
A dewrder gwron hyf yn llanw'i galon,
Rhagluniaeth Duw a daenodd drosto'i hedyn
O hyd, tra'n morio dros y tònau brigwyn;
Cadd lanio'n India draw ym mhlith brodorion
Y wlad, a dymuniadau hael pob calon
Groesawent ein Tywysog mad yn llawen,
Yr oll a'i hanrhydeddent yn eu helfen.
Ymweliad ein Tywysog da ag India
Gynneuo fflam o gariad na ddiffodda
Rhwng India fras a'i miloedd maith trigolion
Ag Ynys Prydain—cartref hoff y dewrion;
Duw a'i dychwelodd wedi cydio dolen
Rhwng Lloegr ag India, ddeil hyd byth anorphen.

MYFENYDD.

## GOLWG AR GWRS Y BYD.

### Y WESLEYAID A'R LLEYGWYR.

Y MAE yr ymdrech rhwng lleu a lleyg yn rhedeg trwy bob cyfundrefn grefyddol; y mae yr un cyffro yn ffynu yn awr ym mhlith y Wesleyaid. Y pwnc mewn dadl ydyw, pa un a fydd i'r lleygwyr gymmeryd rhan yn llywodraethiad y gyfundrefn ai peidio. Mae y mater hwn wedi bod dan sylw y gweinidogion er ys blynyddoedd. Y mae Dr. Osborne yn ystyried fod eu hadduunedau pan gawsant eu hurddo yn gwahardd iddynt newid rheolau yr enwad. Mae yr un symmudiad ar waith yn yr Eglwys Sefydledig. Yr un pwnc greodd yr Hen Gatholiciaid yn Eglwys Rufain. Mae yn ammhëus pa un a oedd John Wesley yn bwriadu y gyfundrefn i'r lleygwyr gymmeryd rhan yn ei llywodraethiad. Dywedodd un oedd yn y cyfarfod yn llundain ei fod yn credu fod Mr. Wesley yn credu ei fod yn ffurfio corff lleygol. Yr oedd ef yn credu fod yr holl awdurdod i fod yn ei law ef. Yn ystod ei fywyd, o 1703 i 1791, cymmerodd amryw gyfnewidiadau le. Yr oedd ef yn 88 mlwydd oed pan fu farw. Nid oes dim hanes iddo wahodd lleygwyr i'r *Conference.* Dywed Green, yr awdwr Whigaidd, iddo lynu yn ffyddlawn wrth yr Eglwys, a'i fod yn ystyried y corff a ffurfiodd ddim ond un lleygol mewn cymmundeb â'r Eglwys. Os derbynir lleygwyr i mewn, pa fath ddefnydd wnant o'u gallu? y mae hwn yn fater pwysig i'r corff; y mae yn perthyn i'r Wesleyaid uchel ac is Wesleyaid; y mae un am gadw yr hen ffordd, a'r llall am fyned dros y terfynau a dwyn i mewn welliantau, &c.

Tair blynedd yn ol cyhoeddodd Mr. W. S. Allen, A.S. dros Newcastle-under-Lyne, bamphled ar leihâd aelodau y Wesleyaid, yr hyn a gafodd ddarlleniad eang. Mae ef yn dadleu fod hyn yn cael ei achosi o ddiffyg defosiwn ac ymosodiad. "Pan

wyf yn myned i gapel Wesleyaid yn awr, nid wyf yn clywed dim ond traethodau; nid wyf yn clywed hen athrawiaethau da y Wesleyaid yn cael eu pregeth yn yr hen ddull, mae yn rhaid iddo ef gael pregethau poeth oddi ar yr adell, ond y mae yn rhaid anerch pechaduriaid mewn iaith glasurol; y mae yn rhaid i'r saint gael eu hanerch yn awr mewn brawddegau coeth, a chymmerir gofal i beidio gwrthdaro yn erbyn syniadau cynnulleidfaoedd parchus. Urddasoldeb sydd yn andwyo cynnulleidfaoedd Wesleyaidd, ac mae rhwystrau yn dyfod oddi wrth Wesleyaid llwfr." Y mae Mr. Allen yn perthyn i'r hen ysgol, yn hoffi yr hen bregethwyr heb fyned dan un math o gaboli, dynion oedd yn fwy cartrefol ar ben 'stôl nag mewn pulpud cerfiedig; ond mae ereill yn barnu yn wahanol, sef y dylai pregethwyr fod yn ddynion o chwaeth a dysg. Bydd y ddwy blaid hyn yn sicr o wrthdaro yn erbyn eu gilydd. Rhydd Mr. Allen i ni ddysgrifiad o'r capeli hardd sydd yn cael eu codi. "Y mae swyddogion y gylchdaith yn cael allan yn fuan nad yw y Parch. Mr. Defosiwn a'r Parch. Mr. Llawdrwm yn ddigon da i'r capel newydd. Er fod y gylchdaith yn llwyddo dan y dynion da hyn, ni ofynir iddynt aros y drydedd flwyddyn. Mae Mr. Defosiwn yn rhy ystyrllyd, a'r llall yn siarad yn rhy blaen i ddynion urddasol i'w wahodd i'w tai. Mr. Llonydd yw y dyn i'r gylchdaith; y mae ef mor dawel, mor ddysgedig, ac mor felus fel pregethwr. Pwy gawn ni i gydlafurio ag ef? O, Mr. Traethawd; y mae ganddo ladi o wraig, un o'r Miss Gold cyfoethog; y mae yn wir nad yw ef yn ymweled â phobl yn aml, ond y mae ef yn feunyddiol yn ei lyfrgell; y mae yn rhaid i ni gael dyn dysgedig wedi bod yn y coleg am flynyddoedd. Gwahoddir hwynt a chydsyniant. Dynion parchus yn pregethu pregethau parchus i gynnulleidfa parchus, ac mewn dull parchus. Ac mae crefydd y cyfryw dan yr amgylchiadau hyn yn barchus. Nid oes dim un Amen yn y capel, dim ateb mewn cwrdd gweddi, swn a chyffro wedi cael ei alltudo." Tyna farn Mr. Allen, ond yr ŷm yn sicr y caiff ddigon o wrthwynebiad.

### Y DIWYGIAD PROTESTANAIDD.

Nid yw yr Ymneillduwyr yn alluog i ganfod bodolaeth Eglwys Lloegr cyn y Diwygiad. Camsynied dybryd yw hyn. Yr oedd esgobyddiaeth mewn bod cyn y Diwygiad ac ym mhell cyn i Gristionogaeth gael ei llygru. Sefydlwyd hi yn Ynys Prydain yn y ganrif gyntaf o'r cyfnod Cristionogol. Yn fuan ar ol Gwyl y Pentecost yr ŷm yn cael i Caradog, brenin y Siluriaid, gael ei gymmeryd yn garcharor i Rufain, a'i adferiad i'w wlad. Addefir yn gyffredinol iddo ef a'i deulu gael eu halltudo i'r ddinas ymherodrol Rhufain, a phan oedd ef mewn caethiwed, enwogodd ei hun pan draddododd ei anerchiad penigamp o flaen y *forum* nes gwefreiddio pawb a chreu cydymdeimlad o'i blaid, a gwnaeth i'r ymherodres dywallt dagrau, a'r canlyniad fu iddi eiriol ar yr ymherawdwr i'w ryddhau. Cyfanneddodd Caradog a'i deulu yno ar ol hyn saith mlynedd.

Dalier sylw, yr oedd Sant Paul O.C. 60 hefyd yn garcharor yn Rufain; yr oedd yr Apostol a'r brenin yn gydgarcharorion ac yn areithwyr enwog. Yr oedd Caradog yn rhwym o fod yn ddyn dysgedig, onid e nis gallasai draddodi araith mor hyawdl mewn tafodiaith estronol. Yr oedd y Rhufeiniaid yr amser yma yn enwog am eu hareithwyr galluog. Nid oes dim un ammheuaeth na chwiliodd Sant Paul allan am yr estron enwog, ac iddo ei droi yn Gristion, o blegid yn Rhufain y cofleidiodd ef Gristionogaeth. Bernir fod rhai o'i deulu wedi cael eu troi cyn hyn. Bernir i Bartholomëus ddyfod i'r ynys hon i'w Christion-

 Enclwed

eiddio, ac Arislobulus ar ei ol ef, at yr hyn y cyfeiria Sant Paul. Anercha Sant Paul Claudia, merch Caradog, a'i gwr Pudens. Yr oedd Pudens yn un o foneddigion y llys. Daeth Caradog adref a chenadon gydag ef, a ffurfiwyd cyfundrefn esgobaethol y tair gradd fel y mae yn awr. Y mae copi o lythyr yr archesgob at yr esgobion ar glawr heddyw, yr hwn a ysgrifenwyd tua diwedd yr ail neu ddechreu y drydedd ganrif. Caiff pob un a ddarlleno weled y gellir olrhain hanes y cyfansoddiad eglwysig yn ol i ddyddiau yr Apostolion eu hunain. Gwrthododd y saith esgob a gyfarfyddodd Sant Awstin gydnabod uchafiaeth ond Archesgob Caerlleon ar Wysg. Y mae y ffeithiau hyn yn anwadadwy, ond wedi'r cwbl y mae y Sectariaid mor ddall fel na fynant weled. Y mae llyfr y Parch. R. W. Morgan yn profi annibyniaeth yr Eglwys Brydeinig, a'r *Double Witness of the Church* gan y Parch. W. E. Kipp, D.D., Americaniaid, heb son am Mosheim, Collier, Milner, Field, a Hooker. Ni ddechreuodd y Babaeth hyd amser Cystenyn Fawr ar ei dröedigaeth yn 311. Ni ddarfu iddi ennill yr uchafiaeth ym Mrydain hyd amser William y Goresgynydd, O.C. 1066. Y mae yn deilwng o sylw i'r ymdrech rhwng y gwir a'r gau barhau am 500 mlynedd. Gorchuddiodd cwmwl Pabyddiaeth am 443 o flynyddoedd, ond daeth yr Eglwys allan o'r pair fel aeth i mewn.

### APOSTOL Y DADGYSSYLLTIAD YN Y FAGL.

Diwedd y flwyddyn talodd Mr. J. H. Gordon, un o frodyr crwydraidd Cymdeithas y Dadgyssylltiad, ymweliad â Bryste. Yng nghyfarfod Bedminster cyhuddodd ficer Bedminster a'r wardeniaid o rwystro y tlodion i fyned i'w wrando, a'u gormesu. Ysgrifenodd y Parch. F. Brealey i'r *Bristol Times* i wadu y cyhuddiad, a galwodd ar Mr. Gordon i roddi ei awdurdod. Dywedodd yr olaf mai un pregethwr ymneillduedig oedd ei awdurdod, ond profodd y ficer nas gellid rhoddi un ymddiried yn yr hyn a ddywedai y gwr parchedig. Ysgrifenodd Mr. Brealey y llythyr canlynol i'r Times:—

"SYR,—Wele lythyr amgauedig a dderbyniais oddi wrth Mr. J. Gordon, fel ymddiheuriad am yr hyn a ddywedodd yn Bedminster am danaf fi a'r wardeniaid. Yr wyf wedi derbyn ei ymddiheuriad, a dymunodd arnaf anfon ei lythyr i bapyrau Bryste.

"FREDERICK BREALEY."

Ysgrifenodd y Pastor Gordon fel hyn:—

"I FICER ESINGWOLD.

"Gallwch feddwl fy mod yn hwyrfrydig i wneyd ymddiheuriad. Nid wyf ddim yn llai didwyll pan yn tynu fy ngeiriau yn ol; ni ddarfu i mi siarad oddi ar deimlad personol. Ni ddarfu i mi roddi enwau nes i mi gael fy ngorfodi. Nid oes genyf un adnabyddiaeth bersonol â chwi. Derbyniais y cyhuddiad gan un a allwn roddi ymddiried ynddo; synais yn fawr wrth ddarllen eich sylwadau. Er i mi amryw weithiau ofyn iddo brofi yr hyn a ddywedodd, nid wyf wedi cael un ateb; ac yn awr nis gallaf lai na gwneyd ymddiheuriad. Oni buasai llymder eich llythyr buasai hwn wedi dyfod yn gynt. Ni wnawn er dim wneyd cam ag un gwr. Dichon na fydd i mi eich cyfarfod byth. Nid wyf yn myned i wneyd fy hun yn euog o dori un teimlad da."

Nid yn aml yr ysgrifenwyd un ymddiheuriad mor ostyngedig. Gallem gredu nad hwn yw yr unig gamgyhuddiad sydd wedi cael ei wneyd gan y cenadon hedd.

---

## HANES YR EGLWYS YNG NGHYMRU O DEYRNASIAD ELISABETH HYD ORSEDDIAD VICTORIA.

### PENNOD XXI.

(*Parhâd o dudal.* 176.)

#### EGLWYSWYR GWIWGOF A ANED YN Y DDEUNAWFED GANRIF.

1703—1778. Y Dr. William Worthington, brodor o Feirion, oedd yn dduwinydd enwog, ac awdwr

llawer o lyfrau crefyddol; gwr haelionus a duwiol. Bu yn dal amryw fywoliaethau yn y Gogledd, megys Llanyblodwel, Darowen, yr Hob neu Estyn, Llanfor, a phrebenduriaeth yn Llanelwy.

1704—1760. William Wynne, person Llangynhafal, Dyffryn Clwyd, oedd yn fardd galluog iawn, ac y mae rhai darnau o'i gywydd ar y Farn Ddiweddaf yn rhagori ar gyfansoddiad enwog Goronwy Owen ar yr un testyn. Yr oedd yn disgyn o hen dylwyth boneddol y Wynniaid o Faes y Neuadd, Meirion.

1714—1777. Y pryd hwn yr oesai Edward Richard o Ystradmeirig, un o'r lleygwyr hynotaf a theilyngaf o fewn cyfnod ein hanes, dyn a wnaeth argraff lachar sydd yn parhau hyd heddyw, nid yn unig ar ei sir enedigol, ond ar yr holl Eglwys yng Nghymru. Meistr teiliwr a thafarnwr oedd ei dad, yr hwn a allodd ddwyn ei fab hynaf, Abraham, i fyny yn Ysgolion Gramadegol ac athrofaol Henffordd a Chaerfyrddin, ac wedi hyny yng Ngholeg yr Iesu, Rhydychain, gyda golwg ar ei gymhwyso i'r offeiriadaeth. Ymddengys nad oedd cynnyrch unedig y grefft a'r dafarn ddim yn ddigon i alluogi y tad, Thomas Richard, a'i feibion athrylithgar a llafurus i gyrhaedd eu dymuniad clodwiw am wybodaeth a dysgeidiaeth. O ganlyniad yn yr ysbeidiau y gwaghëid prifysgol Rhydychain, cadwai Abraham Richard ysgol gartref, i'r hon y cyrchai llawer o wŷr ieuainc sychedig am ddysgeidiaeth ond prin o foddion i fyned i ysgolion pell a chostfawr. Y mae ysbryd barddonol a llenyddol yn cynhyrfu holl genedl y Cymry er ys oesoedd i hiraethu am wybodaeth, ac nid oes neb o honynt wedi bod yn fwy hynod yn cloddi am ddysg na bechgyn siroedd Aberteifi, Mon, ac Arfon, lle yr oedd hyd yn ddiweddar leiaf o fanteision addysg neu hunanddiwylliad. Ym mysg y rhai a eisteddent wrth draed Abraham Richard nid oedd neb mwy sychedig am wybodaeth glasurol na'i frawd, Edward Richard, yr hwn yn fuan a feistrolodd elfenau ieithyddol Lladin a Groeg, ac a ddanfonwyd wedi hyny dros ryw ysbaid i Ysgol Ramadegol Caerfyrddin. Yn y cyfamser yr oedd rhyw hen offeiriad dysgedig o'r enw Pugh yn hyfforddi, "meibion y prophwydi" yn Llanarth, at yr hwn yr aeth Edward Richard i ymofyn rhagor o ddysg. Wedi hyn agorodd ysgol ar ei gost ei hun yn Ystradmeirig, i'r hon yr ymgasglodd nifer mawr o wŷr ieuainc talentog, y rhai a droediasant mor agos ar ei sodlau, fel y rhoes allan hysbysiad gonest iawn fod ei ysgolheigion wedi dysgu llawn gymmaint ag efe ei hun, ac felly fod rhaid iddo droi eilwaith yn astudiwr ac nid yn athraw. Cauodd ei ysgol i fyny am ddwy flynedd, y rhai a dreuliodd i efrydu yn ddyfal ddydd a nos. Am bedwar o'r gloch y boreu haf a gauaf, hindda a drygbin, äi i hen Eglwys Ystrad gyda'i gydefrydydd enwog, Ieuan Brydydd Hir, ac wedi ymuno mewn gweddi,[1] yn dechreu cyd-ddarllen Groeg a Lladin. Wedi hyn ailagorodd yr ysgol, ac aeth yn enwog iawn, ac urddwyd rhai o'r offeiriaid mwyaf gwasanaethgar i'r Eglwys o'r ysgol hon, er i Goleg Llanbedr ei gwneyd yn awr yn ddiangenrhaid. Casglodd Edward Richard gryn gyfoeth drwy ei ddiwydrwydd ei hun a chynnildeb ei fam weddw, a chan na fu ef erioed yn briod, gwaddolodd yr ysgol ag amryw diroedd prynedig. Yr oedd hefyd yn brydydd da, ac yn hynafiaethydd cyfarwydd, a chyhoeddwyd cyfrol o'i waith gyntaf yn 1811.

1716—1795. Y Dr. Henry Owen

[1] Y mae yn gof iawn gan yr ysgrifenydd fel y byddai ei fam yn ceryddu ei gysgadrwydd drwy adrodd iddo pa fodd y byddai hi, pan y blentyn, yn myned i ysgol yr Eglwys yn hir cyn dydd yn y gauaf. Mympwy falch gamsyniol yr oes hon yw, mai gyda hi y ganed doethineb, ac nad oedd dim crefydd yn bod cyn creu Ymneillduaeth.

o Danygader, Dolgellau, duwinydd, meddyg, ac awdwr enwog, ailolygydd y *Mona Antiqua*, capelwr Esgob Llandaf, ac wedi hyny Esgob Durham, oedd yn un o'r Cymry dysgedicaf yn ei oes, ac yn feirniad Beiblaidd anghymharol.

1720—1797. John Walters, awdwr enwog a thra adnabyddus y geiriadur sydd yn dwyn ei enw, oedd un o ysgoleigion clasurol a Chymreig galluocaf ei oes, yr hwn oedd yn brebendur Llandaf, ac yn dal yn olynol amryw fywoliaethau yn y De. Yr oedd ganddo fab talentog o'r un enw, yr hwn a fu yn ben meistr Ysgol Rhuthyn, ac a fu farw ym moreu dysglaer ei oes yn 1789.

1722. Ar wawr y flwyddyn hòno y ganed yr enwog Goronwy Owen yn Llanfair Mathafarn Eithaf, Mon. Y mae yn ddilys ei fod yn ddyn o dalent farddonol uchel, ac o ddysg mawr. Pa bryd y bu farw nid oes hanes. Ymfudodd i America yn 1757 wedi pallu cael un dyrchafiad yn yr Eglwys.

1724. Y flwyddyn hon y bu farw y Dr. John Evans, duwinydd enwog a chymmwynaswr i'r Eglwys. Ganed ef yn y Plas Du, Llanarmon yn Lleyn. Cafodd yntau ei raddau yng Ngholeg yr Iesu, Rhydychain. Fe'i gwnaed ef yn beriglor, Llanaelhaiarn, ac yn Esgob Bangor yn 1701; ond symmudwyd ef yn 1715 i esgobaeth Meath yn yr Iwerddon, mewn cysylltiad â llywod-ddysg Hanoveraidd. Efe oedd yr olaf o esgobion Cymreig brodorol Bangor.[1] Ymdrechodd yr Esgob Evans i wneyd diwygiad yn nysgyblaeth yr Eglwys Wyddelig, am yr hyn yr ymosodwyd arno gan y gwawdgar Ddeon Swift gyda'i ysgrifell ddwyfiniog, gellweirus, a cholynog arferol. Ond y mae cydoeswyr enwog ereill yn son am yr esgob gyda'r parch a'r ganmoliaeth uchaf; a'i fod yn wr o ddysg dwfn, a duwioldeb diffuant, ac yn Gymro gwladgarol, sydd anwadadwy. Wrth farw, gadawodd ei holl eiddo i'r Eglwys ac i gynnal ei gweinidogion yng Nghymru a'r Iwerddon, tra rhedai dwfr.

1730—1789. Y pryd hyn yr oedd y bardd a'r hynafiaethydd uchelglod Evan Evans (Ieuan neu Ifan Brydydd Hir) yn byw. Brodor oedd o Ledrod, sir Aberteifi. Wedi gadael Coleg Merton, Rhydychain, gwasanaethodd Mr. Evans fel curad amryw blwyfi yn y Gogledd yn olynol, megys Llanllechid, Towyn, Meirionydd, Llanberis, Llanystumdwy, Llanfairtalhaiarn, &c. Y gwaith a'i henwogodd gyntaf oedd y *Dissertatio de Barddis*, pigion hen farddoniaeth Gymreig, gydag esboniadau neu aralleiriad, yn Saesoneg a Lladin, cyfrol bedwarplyg a ymddangosodd yn 1764. Teithiodd lawer i ymofyn a chopïo hen lawysgrifau prinion, cynnyrchion beirdd y canoloesoedd, achau bonedd Cymru, &c. Cyhoeddwyd hefyd, yn 1776, ddwy gyfrol Gymraeg o bregethau a gyfieithodd efe o waith yr Esgob Tillotson ac ereill; ond daeth y rhan fwyaf o'i lawysgrifau i feddiant Paul Panton, Ysw., Plasgwyn, sir Fon, ac ni chyhoeddwyd mo honynt byth. Wedi dysgwyl yn hir ac yn ofer am ryw fywoliaeth fechan yn yr Eglwys, ymollyngodd i yfed i geisio anghofio ei dlodi. Fel y rhan fwyaf o blant athrylith, yr oedd yn ddyn diddrwg, calon-feddal, caredig, a chymmwynasgar. Yr oedd yn brydydd Saesonig pur fedrus.

1732—1813. Nid oedd ym mysg aelodau lleyg yr Eglwys y pryd hyny neb mwy teilwng o grybwylliad

[1] Olynydd y Dr. Evans yn esgobaeth Bangor oedd y Dr. Benjamin Hoadly, dyn o syniadau rhyddfeddylgar, yr hwn a gyfrifai yr Eglwys yn heretic, ac y mynasai ei esgymmuno am ddal yn ei ysgrifeniadau cyhoeddedig nad oedd angen i ddyn rwymo ei hun wrth unrhyw gred nac eglwys, ond y gallai fod yn gadwedig pa mor gyfeiliornus bynag ei farn, os byddai yn ei dal o onestrwydd calon; ond cyfryngodd yr awdurdol freninol o'i blaid i ddiddymu gallu dysgyblaethol y *Convocation* hyd heddyw.

parchus na Mrs. Catherine Hughes, merch y Parch. J. Jones, offeiriad a meistr Ysgol Rad Llanegryn, a mam y Parch. R. Hughes, person diweddar Dolgellau. Yr oedd hi nid yn unig yn wraig rinweddol, grefyddol, ac elusengar, ond yn ddysgedig iawn yn ieithoedd ac awduron Groeg a Rhufain, ac yn farddes awenyddol a choeth.

1736—1769. Y pryd hwnw yr oesai yr ysgolaig rhagorol John Thomas, penmeistr Ysgol Ramadegol Beaumaris, curad Llandegfan a Llansadwrn, Mon, ond genedigol o Arfon, awdwr *Hanes Pymtheg Llwyth Gwynedd.* Yr oedd ganddo frawd talentog a hynafiaethgar o'r enw Richard Thomas yn gurad Rhuthyn. Dywedir mai casgliadau y ddau frawd llafurus hyn, a fuont farw ym mlodau eu dyddiau, yw llawer iawn o'r *Myfyrian Archaiology.*

1739—1795. Dyma gyfnod oes yr offeiriad duwiol a llafurus Dafydd Elis, mab Hafod y Meirch, Dolgellau, un o ysgolheigion gwiwgof Edward Richard, Ystradmeirig. Urddwyd ef yn ddiacon yn Llanelwy yn 1764, ac yn offeiriad y flwyddyn ganlynol ym Mangor. Bu yn olynol yn gurad Llanberis, Arfon; Llangeinwen, Mon; Derwen, ac Amlwch; ac wedi hyny yn berson Llanberis, ac yn olaf yn ficer Criccieth, lle bu farw, ac yr huna ei lwch. Ac y mae beddargraff o waith coeth ei gyfaill Dafydd Ddu Eryri yn cofiaethu ei aml rinweddau. Tra yn gwasanaethu plwyf Derwen fel curad, cyhoeddodd amryw lyfrau duwinyddol, megys— 1. *Histori yr Iesu Sanctaidd;* 2. *Llawlyfr Gweddïau;* 3. *Gwybodaeth ac Ymarfer y Grefydd Gristionogol*, sef cyfieithadau o'r Saesoneg. Canodd hefyd Farwnad i Ifan Brydydd Hir.

1740—1821. Ym mhlith holl leygwyr yr Eglwys, ni wnaeth neb fwy er lles ei genedl a gogoniant Duw na John Williams, Dolgellau,[1] pencerddor eglwysig ac ysgolfeistr, awdwr llawer o'r anthemau a'r hymndonau ardderchocaf a feddwn, ac a genir hyd heddyw, gan Ymneillduwyr yn gystal ag Eglwyswyr.

1744—1833. Gwr a wnaeth wasanaeth mawr i'r Eglwys ac i'w genedl oedd y Parch. Thomas Beynon, rhaglaw Archddiaconiaeth Caerfyrddin; gwr o ddawn, duwiolder, haelioni, a gwladgarwch mawr, a fu dros hir oes yn un o brif noddwyr iaith a llenyddiaeth Cymru.

1745—1818. John Williams, ficer Nantmêl, Maesyfed, un o brebenduriaid Aberhonddu, olynwr galluog a chlodwiw Edward Richard fel penmeistr Ysgol Ystradmeirig dros ddeugain mlynedd.

1749—1826. Un o enwogion yr oes oedd y Dr. Charles Symmons, mab John Symmons, Ysw., o Lanstinan, Penfro, Aelod Seneddol dros y sir hono am un mlynedd ar bymtheg. Yr oedd y Dr. Symmons yn awdwr llawer o lyfrau, pregethau, a barddoniaeth.

1751—1827. Eglwyswr selog hefyd oedd Dafydd Ionawr (David Richards, Ysw., Dolgellau) yr hwn a aned yng Nglan y Morfa, Towyn, Meirionydd. Gellir yn gyfiawn ei gyfrif megys y Milton Cymreig. Derbyniodd addysg dda yn Ystradmeirig, ac yr oedd yn ddyn o feddwl diwylliedig ac o awen fwy cynnyrchfawr na neb bron o holl feirdd Cymru. Ei brif feistrolwaith yw *Cywydd y Drindod*, er bod ei gywyddau meithion ereill yn dangos gallu a llafur dirfawr. Ymddengys iddo flino ar y gymdeithas golegol yn Rhydychain cyn myned drwy y cwrs arferol i gymmeryd urddau, a dychwelodd at ei hen ddyledswyddau fel athraw ysgol yng Nghroesoswallt. Y mae ei gyfansoddiadau oll yn anadlu duwioldeb a phurdeb moesol,

[1] Ganed Ioan Rhagfyr, fel gelwid ef yn y byd cerddorol, ym mlwyddyn y Rhew Mawr, ac mewn cnu gwlan y cariwyd ef i'r Eglwys i'w fedyddio.

ac yn anrhydedd i'r iaith, cenedl, a chrefydd, ac i Eglwys Sefydledig Cymru.

1752—1820. Nid distadlaf yn ei oes lafurus oedd Thomas Watkins, Person Llandyfaelog, ac Is-raglaw sir Frycheiniog, awdwr *Travels in Greece*

1752—1845. Y flwyddyn olaf a grybwyllwyd y bu farw y Parch. Thomas Jones,[1] offeiriad Creaton, Northampton, yr hwn oedd frodor o sir Aberteifi, un o hen ysgolheigion Ystradmeirig, ac a fu yn nechreu ei oes weinidogaethol yn gurad Llangynfelyn, ar gyffiniau Powys, yr hwn, heb son am ei weithiau Seisonig, a gyhoeddodd amryw lyfrau Cymreig gwerthfawr, megys—1. *Traethawd ar Fedydd Plant;* 2. *Pregeth Scott ar Farwolaeth Thornton*; 3. *Pregethau Romaine ar Ganiad Solomon;* 4. *Dadleniad y Byd Cristionogol*, gan Barridge; 5. *Anrheg i'n Cymmydog*, gan Syr Richard Hill; 6. *Cyfaill Pechadur;* 7. *Gorphwysfa'r Saint*, gan Baxter.

1754—1820. Dyn o dalent hynod ac oes ddygwyddfawr oedd y Parch. Eliezar Williams, mab hynaf Peter Williams, yr Esboniwr Beiblaidd, a thad y Parch. St. George Armstrong Williams, periglor presennol Llangybi, casglwr galluog *The English Works of the late Rev. Eliezar Williams, &c.* O haelioni y nef y mae talent yn disgyn mewn teuluoedd yn dreftiadol dros genedlaethau yn well etifeddiaeth na chyfoeth.

1756—1831. Ganed Edward Davies, awdwr enwog y *Celtic Researches*, yn Hendre Einion, Llanfaredd,[2] sir Faesyfed. Casglodd ac adysgrifiodd lawer o waith y gogynfeirdd. Ac heb law y llyfr crybwylledig a gyhoeddwyd yn 1804, yr hwn a dderbyniodd gefnogaeth freninol, a chanmoliaeth y byd dysgedig, cyhoeddwyd yn 1809 waith llafurfawr arall, *The Mythology and Rites of the British Druids, &c.* Yn 1811 daeth cyfrol o'i bregethau allan dan yr enw *Church Union*. Amcan y llyfr hwn yw dangos y ddyledswydd o gynnal cymmundeb â'r Eglwys Gatholig ac Apostolig. Yn 1818 cyhoeddodd traethawd galluog ar Ddwyfolder y Messïah, *The Divinity of the Messïah*, mewn atebiad i Iuddew cyfeiliornus o'r enw Solomon Bennet; ac yn olaf ei draethawd clodfawr ar ganiadau dadleuedig Ossian. Cafodd hefyd ei ran deilwng o ddyrchafiadau eglwysig. Yn olaf bu yn ganghellor Eglwys Golegol Aberhonddu, a pherson Llanfair Orllwyn.

1758—1832. Y mae pob peth o'r bron a gyhoeddwyd ar hanes Cymru yn yr oes hòno yn ddyledus i ymchwiliadau hynafiaethol y Parch. Henry Payne, person Llanbedr a Phentre Isaf, yn gyfagos i Grughowel, ac Archddiacon Caerfyrddin. Yr oedd yn ysgolhaig, llenor, a phrydydd.

1759—1789. Nid oedd offeiriad ieuanc mwy doniol na medrus na'r Parch. John Walters, penathraw ysgol Ramadegol Rhuthyn, a mab i awdwr enwog y geiriadur sydd yn dwyn ei enw. Yr oedd hefyd yn dal personiaeth Efenechtid (y fonach dud?) yn y gymmydogaeth hòno, lle y claddwyd ef. Yr oedd yn awdwr amryw bregethau rhagorol, traethodau, a barddoniaeth. Torwyd ef i lawr gan angeu fel rhosyn newydd ymagor.

1760—1819. Ysgolhaig, duwinydd, seryddwr, hanesydd, ac awdwr cyfrolog hefyd oedd y Parch. Peter Roberts, Helygen, yn ei ddyddiau olaf, gwr o rinwedd a duwioldeb hynod.

1765—1849. Ac ni wnaeth dyn erioed fwy o ddaioni, yn ol ei foddion, na'r Eglwyswr lleyg gwiwgof hwnw, James Davies, yr ysgolfeistr nodedig o sir Fynwy, mor ryfeddol fu ei lafur, ei gynnildeb, a'i haelioni.

[1] Cymmerodd T. Jones ran fawr yng nghychwyniad y Feibl Gymdeithas, yn sefyliad yr hon y bu T. Charles mor selog. —Gol.

[2] Llanvareth, Camden.

1775—1829. Bu y Parch. John Roberts, ficer Dymeirchion (neu Tremeirchion) sir Fflint, yn addurn mawr i'r Eglwys yn ei oes. Ganed ef mewn hen drigfod a elwir Plas Harri, Llannefydd, ac yr oedd yn ysgolhaig Cymreig, a chlasurol rhagorol, ac wedi derbyn ei raddau yng Nghholeg Iesu, Rhydychain. Efe oedd golygydd dau argraffiad mawr o'r Beibl a Llyfr Gweddi Gyffredin yn Gymraeg. a bu yn un o'r prif offerynau yn sefydliad y Beibl Gymdeithas daleithiol, a Chymdeithas Genadol Eglwysig ganghenol siroedd Fflint a Dinbych, Cymdeithas y Traethodau Crefyddol, &c. Yr oedd hefyd yn bregethwr ac ysgrifenwr galluog.

Cydoeswr oedd David Davies, curad Llandyssil a Llan y Mawddwy yn olynol, awdwr amryw draethodau a phregethwr hyawdl. Cyhoeddwyd ei gofiant gydag un bregeth ar hugain o'i eiddo, yn 1823.

1778. Y pryd hwn y bu farw y Dr. Davies, person Llan y Mynech, yr hwn oedd wr o ddysg a dawn hynod, yn llenor a beirniad Cymreig rhagorol. Cynnorthwyodd y Dr. Johnson i olrhain lluaws o eiriau Seisonig i'w gwreiddiau Cymreig yn ei eiriadur clodus.

Yn y cyfamser yr oesai John Jones, person Mallwyd, awdwr dwy gyfrol o bregethau cyhoeddedig.

1786—1863. John Jones o Lanllyfni oedd hefyd yn offeiriad dysgedig, hynafiaethydd, a phregethwr, ac ysgrifenwr doniol.

1789—1860. Y Parch. John Montgomery Traherne (Trahaiarn), canghellwr Llandaf, oedd nid yn unig yn weinidog clodwiw o'r Eglwys, ond yn ysgrifenwr hynafiaethol ac hanesiol enwog.

1792—1824. Un o'r pregethwyr mwyaf selog, taranllyd, nerthol, a phoblogaidd yn y De oedd y Parch. William Grey Hughes, ficer Mathry, yn sir Benfro, yn ei oes fer.

Ac Eglwyswyr lleyg oedd Dafydd Ddu Eryri, Gutyn Peris, a Bardd Nantglyn.

A pheth mwy a ddywedwn? canys yr amser a ballai i ni son am yr holl ardderchog lu o ddysgedigion, beirdd, llenorion, duwinyddion, a gwladgarwyr, a ymddangosasant yn yr Eglwys yn y cyfamser; am Gwallter Mechain, Jenkins (Ficer Ceri), Rowland Williams, Daniel Ddu o Ceredigion, Ioan Tegid, Blackwell (Alun), Ieuan Glan Geirionydd, a llawer rhagor a fuont fyw cyn y ganrif bresennol.

---

## "TI WYDDOST FY MOD YN DY GARU."

(SANT IOAN xxi.)

GADEWAIS fy rhwydau yn ymyl y môr,
  Ymroddais yn hir i'th was'naethu,
Attaliwyd fy llwyddiant, lleihawyd fy 'stôr,
  A gwyddost fy mod yn dy garu.

Pan gynt y gofynaist pwy oeddet i mi,
  Fy nghalon a wnaeth dy gyffesu;
Rhyw ysbryd sisialodd dy enw i mi,
  A gwyddost fy mod yn dy garu.

Ac ar dy dystiolaeth mai Ti yw Mab Duw,
  Yr Eglwys a ga'i hadeiladu;
Mae'r teimlad o'th fawredd yn aros yn fyw,
  A gwyddost fy mod yn dy garu.

Ti wyddost rifedi y tywod mân sydd
  Ar draethoedd y môr yn ymgasglu;
Mae'th lwybrau yng nghanol y dyfnder yn rhydd,
  A gwyddost fy mod yn dy garu.

Ti wyddost rifedi ac enwau y sêr,
  Heirdd luoedd y nef sy'n llewyrchu;
Hwynt-hwy a gydganant dy glodydd yn ber,
  A gwyddost fy mod yn dy garu.

Ti wyddost am wendid a llygredd fy mron,
  A gwyddost i'm *deirgwaith dy wadu;*
Ti wyddost fy meddwl yn llwyr yr awr hon,
  A gwyddost fy mod yn dy garu.

J. EDMUND JENKINS
*Llanedi.* *(Creidiol).*

---

## Y GWAHANGLEIFION ANNIOLCHGAR.

GAN TALMAGE.

"Oni lanhawyd y deg? ond pa le y mae y naw."—SANT LUC xvii. 17.

PE neidiasai deg teigr ar yr Arglwydd Iesu Grist fel yr oedd Efe yn myned

trwy ddinas ddwyreiniol, ni allai y golygiad fod yn fwy dychrynllyd na phan ddaeth deg dyn ffiaidd a bron yn marw o'i amgylch, er nad oeddynt yn agos iawn ato. Yr oedd eu dwylaw a'u traed yn erchyll trwy lygredigaeth. Yr oedd eu hanadl yn ddinystr i'r neb a ddeuai yn agos atynt. Yr oedd y gwahanglwyf arnynt.

Pan y cerdda y gwahanglwyfus, pa un ai tua'r gogledd, deheu, dwyrain, neu'r gorllewin, bydd yn cerdded o hyd i'w fedd. Os nad oedd ond un o'r fath gyflwr, yr oedd hyny yn ddigon brawychus; ond dyma luosogiad o drueni, uchelder o fraw. Crist yn sefyll fel canolbwynt briwiau ac anafau. "Wel," dywedwch, "dyma ddigon o waith i goleg o feddygon, a gadëwch i bob un o'r cleifion diobaith yma gael meddyg iddo ei hun." A, nag e!

*Dyma Feddyg a all iachäu deg can gystal ag un.* Gorchymmynodd Crist i'r deg dyn yna fyned i'r Deml yn Ierwsalem, a dangos eu hunain i swyddogion iechyd. Cychwynant, ac nid ydynt braidd wedi cychwyn cyn i'r clefyd ddechreu gadael eu haelodau, a'r gwendid eu penau, ac y mae'r crawn yn myned oddi ar y croen, a'r tafod yn cael ei iachäu, a'r puls yn myned i lawr o ddeg a phedwar ugain i ddeg a thrigain. Edrycha un o honynt ar ei draed, a chanfydda y croen yn lân o fys ei droed i'w sawdl; ac edrycha ar ei law, a gwela ei gnawd yn goch o'i arddwn i'w ewin; ac efe a lefara, "Wele, yr ydwyf yn iach!" Felly y mae pump o honynt yn llefaru, Wel, hwy a ant ym mlaen tua dinas Ierwsalem i ddangos eu hunain i swyddog iechyd. Soniant pa mor dda a chysurus y teimlant ar ol y fath hir drymder corff ac enaid, pan

*Yn ddisymmwth y mae un o'r nifer yn ymadael â'r lleill gan droi yn ol.* Beth sydd arno? Pwy ydyw? O, Samaritan ydyw; ac aiff y naw Iuddew ym mlaen gan ddywedyd, "Wel, ni ellwch byth roddi dim cred mewn Samaritan; nid ydyw ef yn neb beth bynag. Mae yn anufudd, ac y mae wedi troi yn ol." Hwy a aethant ym mlaen, ond

*Trodd y Samaritan yn ol* fel y gallo gyfarfod â'i gymmwynaswr, ac y mae yn dyfod gan daro ei ddwylaw, a gwaeddi â llef uchel, "Diolch, diolch!" gan daflu ei hun i lawr wrth draed Crist mewn diolchgarwch ac addoliad. Cymmera Iesu ef yn dirion i fyny, gan ddywedyd, Dyma ddigon i chwi; ai ti yw yr unig un o nifer y deg gwahanglwyfus a iachawyd sydd yn ddiolchgar am ei adferiad a'i iechyd?

*Oni lanhawyd y deg? ond pa le y mae y naw?* (1) Gwelwn yn gyntaf yn yr hanes yma *fod iachâd yn yr Efengyl i bawb.* Cymmerodd Crist yn gyffredin un claf ar unwaith. Un dyn dall i roddi golwg iddo yn wyrthiol; un cythreulig i gael ei reswm yn ol; un ddynes gefn-gron i unioni ei chefn; un eneth farw, calon yr hon oedd wedi peidio a churo er mwyn i'w chalon guro drachefn.

*Ond wele! dyma ddeg yn cerdded allan* o ganol clefyd marwol i fwynhau iechyd perffeithaf. Deg gwahanglwyfus wedi eu hiachäu; ugain o ddwylaw ac ugain o draed madredd; clafdy yn gyfan wedi ei lanhau a'i feddygyniaethu. O, fy nghyfeillion, pa ham na ddeuai eneidiau anfarwol i'w hiachäu yr un modd. Gwelir un dyn weithiau yn yr Eglwys yn cofleidio achos Crist, pryd y gorfoledda y gynnulleidfa, a thrwy y nefoedd ei hun yn llawenydd; ond yr un eglwys, ar yr un amser, y bydd deg gwahanglwyf mewn un oriel, a deg a deugain mewn un arall.

*Pa ham na ddeuant i gyd?* Rhoddodd Crist yr iechyd mwyaf rhagorol i'w holl gynnulleidfa o wahangleifion. O na flinem ar ddychweliad un neu ddau ar unwaith. Oni lanhawyd y deg? Y mae fy nhestyn yn dangos y gallwn gael can

gymmaint ddeg gwaith o fendithion ac a dderbyniasom. Pe deuai cant o eneidiau at Grist, y mae dengwaith cant yn fil. Pe deuai wyth cant o eneidiau at Grist, y mae dengwaith wyth cant yn wyth mil.

Ychydig o ddyddiau yn ol yr oeddwn allan ar lan y môr, ac yr oedd y pysgotwyr yno yn tynu i mewn eu rhwydau. Taflasid y rhwydau yn bell oddi wrth y lan, ac yr oedd o ddeutu ugain o ddynion yn eu tynu hwy i mewn. Edrychent yn gyffröus iawn, ac eisteddais i lawr i edrych arnynt; ond cyn pen hir yr oeddwn i mor gyffröus a hwythau, a chymmerais afael yn y rhaff gan dynu gyda'm holl nerth fel oedd y cadben yn bloeddio, "Pob un yn awr, tynwch," a bloeddiasom oll yng nghyd fel yr oedd y rhwyd yn dyfod allan o'r dwfr, ac yr oedd yn llawn, nes ydoedd agos a rhwygo, o breswylwyr y môr. Dywedais, ar ol eu taflu i'r troliau, wrth y cadben, "Pa sawl un a ddaliasoch?" "Wel," ebai ef, "yr ydwyf yn meddwl o gylch hanner can mil." Yna y dywedais yn fy enaid, O Arglwydd da.

*Pa ham na chawn gasgliad mawr o eneidiau y Sul nesaf?* Pa ham y pysgotwn am un pysgodyn unig, pan y mae'r môr yn goch gan heigiau o honynt? Pa ham y rhoddwn can gymmaint o ofal ar un gwahanglwyf, pan y mae deg yn ocheneidio mewn llygredigaeth erchyll? O mor wael y byddai hyny a gymmerodd le ar y dydd Pentecost hwnw mewn cymhariaeth â hyny a gymmerasai le yma pe byddai genym ond ffydd i ofyn am dano. Pwy a ddaw allan o blaid Crist y noson hon? A ddaw y ddegfed rhan o'r gynnulleidfa yma, neu ddengwaith can cymmaint? A ddaw rhan o honi, neu i gyd? Gweision Duw, gweddïwch yn nerthol ac yn ddifrifol yn y peth pwysig yma. Pysgotwyr eneidiau, cymmerwch afael, pob un o honoch? Milwyr Crist, cerddwch ym mlaen, ac ymosodwch ar y castell yma.

*Rhaid i ni roddi ein hunain i fyny yn ddiammodol.* Os achubodd Crist yn Llan y testyn yr holl gynnulleidfa o wahangleifion, pa ham na all Efe heno achub yr holl gynnulleidfa yma oddi wrth bechod? Oni lanhawyd deg? a deg oedd yr holl nifer.

(2) Gwelwn, drachefn, yn yr hanes yma, mai y bobl nad ydych yn dysgwyl yn fynych ydyw y rhai mwyaf diolchgar. Pwy yw y dyn a drodd yn ol gan adael i'r lleill a iachawyd fyned yn eu blaenau? Pwy ydyw efe? Gallaf ddyweyd wrth olwg ei groen, wrth lun ei drwyn, wrth ei wallt, nad ydyw yn Iuddew. Pwy ydyw? Samaritan ydyw; ac felly yn eilunaddolwr a chrwydryn.

*Beth, ti, Samaritan, yn dyfod yn ol* gan daflu dy hunan wrth droed Crist? Pe addolasai y naw Iuddew Iesu, ni fyddai yn gymmaint ryfeddod a gweled Samaritan yn dyfod yn ol. A ydyw yn ddichonadwy? Ydyw, ydyw. Felly yr oedd yr amser hwnw, ac felly y mae yn awr. Y bobl a ddeuant i deyrnas Duw ydyw y rhai diweddaf yn fynych a ddysgwyliwch i ddyfod.

Y bobl yn y gynnulleidfa yma a fyddant yn gadwedig, ni fyddant i gyd, y rhai a ddygwyd i fyny gan rieni Cristionogol, canys aethant hwy i uffern o blegid na ddefnyddiasant y manteision a roddwyd iddynt. Hwyrach nid y cyfiawn a'r uniawn a fyddant yn gadwedig y noson hon, canys hwy a ymddiriedant yn eu gweithredoedd da, ac yn y diwedd y cânt siomedigaeth ofnadwy. Eithr ef allai y bobl a ddeuant heno yw y rhai sydd bellach oddi wrth Dduw. Y Samaritaniaid y rhai yr ydych yn dysgwyl leiaf a ddeuant.

*Y Samaritan acw a ddaw.* Edrycha efe i fyny gan wenu, ond cura ei liniau i'w gilydd, ac y mae ei enaid yn llawn o dywyllwch, a chyn pen awr efe a weddïa.

*Nid oeddych yn wastad yn watwarwyr.* Fe deimla y dyn hwnw, trwy nerth Ysbryd Duw, y rhaid iddo

waeddi allan ym mysg y gynnulleidfa. Teimla fod y Duw tragwyddol ar ei ol. Teimla y rhaid iddo y fynyd yma gyfodi yn erbyn gweddïau pobl Duw. Os rhaid i chwi wneyd arddangosiad o'ch teimladau; gostyngwch i lawr ar eich gliniau, a gogwyddwch eich pen. O chwi sydd â chalon wrthryfelgar ac ewyllys falch, yr ydych yn dyfod heno; cewch ddyfod; rhaid i chwi ddyfod; y mae Duw ar ol eich enaid; y mae'r peth lleiaf yng ngolwg Duw yn fwy na'r peth mwyaf gyda dyn.

*Dyma Samaritan afradlawn* a ddeua heno. "O," dyweda, "yr wyf yn feddwyn." Mi a wn a chanfyddaf hyny, ond cymmerasoch y dyferyn diweddaf. Pan ewch adref heno, nid cwpbwrdd eich gwin fydd y peth cyntaf a rowch eich dwylaw arno, ond ar eich Beibl. O wraig a chalon drom, ni yfa mwy. Tarawa ei draed i lawr yn safadwy, a chloa ei ddanedd yn dyn, mewn penderfyniad i beidio ag yfed dim chwaneg. Na ryfeddwch os daw ef yn niwedd y gwasanaeth i fyny i'r eglwys gan ofyn sut y gall ei enaid fod yn gadwedig. Mewn un awr tybiaf y clywa yr holl nefoedd swn ei gadwynau yn cael eu dryllio; ac yn awr

*Mi ddewisaf unrhyw berson yn y gynnulleidfa* ac y rhyfeddwch ato. Gwyddwch fod ym mhob cynnulleidfa y rhai goreu a'r rhai gwaethaf. Edrychwch dros y gynnulleidfa heno, a gwelwch lawer o ddynion yng nghywirdeb y rhai y rhowch bob ymddiried. Nid y rhai hyny a ddewisaf; cymmeraf y rhai gwaethaf, ac o'r rhai hyny dewisaf yr un gwaethaf o honynt.

*Cymmeraf y dyn mwyaf annuwiol yn y gynnulleidfa yma.* Nis gwn pa le yr eistedda; ond gwynebaf ef. Dyweda, "Cyfaddefaf fy mod yn ddrwg; mi a gyflawnais bob math o bechod yn fy mywyd. Bûm yn watwarwr, yn angbredadyn, yn benrydd. Y mae fy holl fywyd wedi bod yn gasgliad o gamweddau," Fy mrawd, yr wyt ti yr un diweddaf a ddysgwyliwn i edifarhau; ond,

*Fel y Samaritan annysgwyliadwy, ti a ddeui heno.* Nid oes arnaf eisieu i ti fynegu i mi hanes dy bechod. Yr ydwyf yn dysgwyl yn unig dy weled yn taflu dy hun wrth draed Crist. Y mae gafael yr Ysbryd Glân arnat yn awr yn gryfach na gafael y byd. Pe gallai dynion weled dy bechodau, taflent i gyd ergyd eu digofaint arnat. Ond gwela Duw dy holl bechod, o'r dechreu i'r diwedd, ac eto y mae Efe yn barod i dywallt arnat y bendithion mwyaf. O yr enaid trallodus yma, ymdrech trwy bob peth. Ymddringa dros pob peth. Y mae yn myned ym mlaen tua'r groes. Mae yn llawn o'r nefoedd.

*Dyma awr achubiaeth yr Herodaniaid*, Neroaid, yr Ahabiaid, y Iesebeliad, yr Athaliaid, a'r Absalomiaid; deued y balchaf a'r caletaf; deued y rhai sydd wedi bod hiraf mewn pechod. Y mae digon o le i bawb; yr oedd lle i'r Samaritan gwahanglwyfus yma.

(3) Deuaf yn awr at y pwnc mwyaf pwysfawr, sef, *beth y mae y rhan fwyaf o bobl yn wneyd ar ol eu bendithio gan Grist*, Aeth deg gwahanglwyfus i ddangos eu hunain i'r swyddog iechyd, pan yn ddisymmwth trwy nerth gwyrthiol Crist, hwy a iachawyd o'r clefyd gwaethaf; eu traed, y rhai ni allent gyffwrdd â'r ddaiar heb boen, a lament; eu gwynebau a guddiwyd â briwiau, a burwyd o bob aflendid. O, pa mor ddiolchgar y byddant. Dysgwyliwch iddynt guro eu dwylaw, gan ddywedyd, Pa le y mae Crist? Rhaid i mi redeg ato i'w foliannu; rhaid i mi ddweyd wrth bawb am y iachâd. Os nad oedd gan Grist erioed wely, myfi a wnaf iddo obenydd; os nad oedd ganddo erioed gartref, yna mi a adeiladaf dy iddo. Pa beth a allaf wneyd i'r meddyg yma sy wedi iachäu fy ngwahanglwyf? A, nag e, aethant ym mlaen, un yn unig a drodd yn ol i roddi y gogoniant i

Dduw. Nid rhyfedd i'r Iesu, wrth sylwi ar ddiolchgarwch yr un dyn, ddangos ei anfoddlonrwydd a'i lid wrth y lleill, gan ddyweyd, "Oni lanhawyd y deg? ond pa le y mae y naw?"

* * * * * * *

*O chwi naw gwahanlwyfus, deuwch y noson hon*, a syrthiwch i lawr wrth draed yr Hwn y mae eich holl ymostyngiad a'ch serch yn ddyledus iddo. Mynegwch iddo eich dymuniad, os na pharlyswyd eich tafod gan yr ail farwolaeth. Pwy a fydd o blaid Crist heno? Os safa neb ar eich ffordd, gan wrthod rhoddi lle i chwi, yna rhedwch drosto, canys dyma'r fynyd yn yr hon y rhaid i chwi ddianc rhag uffern, ac ennill y nefoedd. Clywais rywbeth yn clecian; ai cadwyn yr enaid ydoedd, neu ynte swn holltiad drws nefoedd gauedig?

THOMAS HUGHES.

*Tynewydd, Llansilin.*

[Rhoddir y cyfieithad hwn o bregeth un a ystyrir yn bregethwr poblogaidd. Barned ein darllenwyr am deilyngdod ei arddull.—GOL.]

---

## BUGEILIAID Y BANAU.

*Iwan.* Beth yw y newydd goreu heddyw, fechgyn? Pa fodd mae y byd yn myned ym mlaen?

*Dewi.* Y mae hi yn amser poeth yn sir Benfro rhwng y Toriaid a'r Rhyddfrydwyr. Pasiwyd penderfyniad gan ein henwad ni i bleidio y Rhyddfrydwyr.

*Gwilym.* Yr oeddwn i yn meddwl wrth ddarllen y papyrau Cymreig ac areithiau Henry Richard, nad oedd y pregethwyr yn pregethu *politics*, ond cefais fy nhwyllo; lecsiwnyddiaeth yw crefydd yr oes, pan gymmer lecsiwn le. Mae pregethwyr yn eu canlyn fel fwlturiaid yn canlyn byddinoedd. Yr wyf yn barnu fod ymddygiad y pregethwyr yn ymyraeth â lecsiwnyddiaeth yn gywilyddus. Pa ham na ofalant am eu praidd? Mae ganddynt ddigon o waith gartref, ond mae lecsiwnyddiaeth yn talu yn well na syllta am draws gwlad.

*Iwan.* A wyt ti mor gulfarn a chondemnio pregethwyr am bleidio eu hegwyddorion fel y personiaid?

*Gwilym.* Nid wyf yn eu condemnio am hyn, ond yr wyf yn eu condemnio am geisio gorfodi eu cynnulleidfaoedd i ganlyn eu cynffonau i'r *poll*. Yr wyf yn eu condemnio am sefyll yn y pulpudau i ddamnio Eglwys Lloegr, a'i rhegu.

*Dewi.* Y mae hyn yn rhy ddrwg, Gwilym, pwy sydd yn ceisio damnio Eglwys Lloegr?

*Gwilym.* Pregethwyr sir Benfro sydd yn gwneyd hyn. Ychydig Suliau cyn yr etholiad, gwaeddodd un o'r frawdoliaeth yn y pulpud: "Damnier Eglwys Lloegr, a syrthied ar benau y sawl sydd yn ei phleidio." A chaniatäu fod yr Eglwys yn cyfeiliornu, a ydyw hyn yn cyfiawnhau y pregethwr dan sylw i ddamnio ereill? Dywedodd un arall fod yr Arglwydd wedi symmud Syr John Scourfield o'r byd, am ei fod yn erbyn yr Ymneillduwyr. Dywed y papyrau mai dyn di-ail oedd Syr John; yr oedd yn cael ei barchu gan bawb. Mae yn rhy ddrwg na chaiff y meirw lonydd yn eu beddau. Yr oedd pregethwr arall ar yr un adeg yn barod i herio tri ugain o offeiriaid i bregethu *matches*.

*Gruffydd* Mae yn ddrwg genyf glywed y fath beth am bregethwr; yr wyf yn gobeithio er mwyn enw da y Corff nad oedd yn perthyn i ni.

*Gwilym.* Un o bregethwyr y Bedyddwyr yw y gwr hwn.

*Hywel.* Ni ryfeddwn glywed fod ei gynnulleidfa yn hoff o regu. Beth ellwch chwi ddysgwyl, os bydd i'r aur rydu, beth ddaw o'r haiarn?

*Dewi.* Yr wyf o'r farn y dylai pob Ymneillduwr o bob enwad fod yn Rhyddfrydwr mewn politiciaeth; y mae y ddau yn eiriau cyfystyr. Nis gall un dyn bleidio Tori heb fradychu ei egwyddorion.

*Hywel.* Nid wyf yn ystyried hyn ddim ond coeg resymau; nid oes un cyssylltiad â'r ddwy gyfundrefn. Y mae cannoedd o Eglwyswyr yn Rhyddfrydwyr selog, ac ar yr un pryd yn Eglwyswyr ffyddlon. Yn ol y dyb hon, dylai pob Eglwyswr fod yn Geidwadwr.

*Gruffydd.* Mae yr hyn a ddywedaist, Hywel, yn rhoddi goleu newydd i mi ar y pwnc.

*Iwan.* Darllenais yr areithiau gyda llawer o ddyddordeb a draddodwyd yn sir Benfro. Yr oedd yno ddynion mawr, dim llai na *Queen's Counsel*. a Mr. Powell, Maesgwynne, Nimrod ei ddydd.

*Gwilym.* Aeth Mr. Powell i gwrdd capel Llwynyrhwrdd, yn ei *hunting costume:* cot goch, clos gwyn, a *top boots*, wys? Clywais lawer o gondemnio ys llawer dydd ar yr hen arferiad adlonol o hela llwynog fel un bechadurus, ond ni fuasai ganddynt un gwrthwynebiad i Mr. Powell fyned i'r pulpud yn ei *hunting. dress*. Yr wyf yn rhyfeddu clywed fod Mr. Powell, yr hwn oedd unwaith yn Dori ei hun, ym mhlith y cwmni sydd yn gyru y meistr a'r deiliad i ymryson.

*Dewi.* Dywedodd Mr. Powell nad oedd ef am greu teimlad drwg rhwng y meistr a'r adeilad.

*Hywel.* Os nad oedd ef am wneyd hyny, mae y blaid mae ef yn perthyn iddi yn gwneyd hyn. Yr oedd yr hen wragedd yn arfer dywedyd fod yn anhawdd dwyn dyn oddi ar ei dylwyth.

*Dewi.* Trueni mawr na fuasai i etholwyr sir Gaer ei ethol, yn lle ethol Tori o'r Toriaid fel y dywedodd Mr. Davies.

*Gwilym.* Yr oedd gwŷr sir Gaer yn fwy galluog i farnu pwy oedd yn addas i'w cynnrychioli, yn well na Chyfreithiwr Hwlffordd. Nid yw yn beth tebyg y buasai iddynt wrthod Mr. Powell, os oedd ef yn well dyn na Mr. John Jones, ac Arglwydd Emlyn. Dywedir fod Kilsby yn sir Benfro, yn llawn busnes. Y gwr parchedig hwn yw y *General Electioneer*. Efe gariodd Mr. Maitland i'r Senedd. A oes dim pechaduriaid tua Llanwrtyd a Llandrindod, eisieu eu troi o gyfeiliornu eu ffyrdd. Fe wnaeth pregethwyr politicaidd gwŷr sir Frycheiniog yn gelwyddwyr; a gwnawd pob ymdrech i wneyd gwŷr sir Benfro yr un peth.

*Iwan.* Beth wyt ti yn feddwl wrth alw ein gweinidogion yn bregethwyr Politicaidd. Nid ydynt yn fwy politicaidd na'r 'ffeiriadon; maent hwythau'yn fusnesgar iawn ar adeg etholiadau. Peth siwr yw hyn, mae y pregethwyr yn fwy rhyddfrydol na'r 'ffeiriadon. Nid ydynt hwy yn foddlawn i un pregethwr ddywedyd gair ym mynwent y plwyf uwch ben beddau Ymneillduwyr. Ar ba sail mae yr offeiriaid a'r Eglwyswyr yn rhwystro i ni gael ein hiawnderau?

*Dewi.* Clywch, clywch, yr wyt ti, Iwan, yn llygad dy le; mae hyn yn annyoddefol, yn ormes, ac yn gaethiwed i ni orfod boddloni ar 'ffregod Eglwys Lloegr.

*Hywel.* Y mae yr Ymneillduwyr mwyaf goleuedig yn ystyried gwasanaeth claddedigaeth Eglwys Lloegr yn un ardderchog, ac mae wedi bod yn gysur i filoedd o alarwyr ar lan beddau. Os agorir y mynwentydd, ni gawn bob math o seremonïau. Yn ddiweddar gwasanaethodd un o bregethwyr y Sosiniaid mewn angladd, yr oedd rhai o gyfeillion y marw yn anffyddwyr a'r lleill yn Undodiaid. Traddododd bob o anerchiad i'r pleidiau—un Undodaidd ac un iuffidelaidd. Ni ryfeddwn glywed son am ddarlithiau politicaidd a chwyldroadol yn cael eu traddodi mewn angladdau a chladdfëydd.

*Iwan.* Y mae Mr. Powell, Maesgwyne, yn ffafriol i gynnygiad Mr. Morgan, ac mae ef yn cydymdeimlo yn fawr â ni.

*Gwilym.* Byddai yn well i Mr. Powell newid ei achos a myned i'r capel yn ei grynswth. Nid oes un achos am y cyffro hwn o gwbl, nid

yw y cwbl ddim ond eiddigedd, ac am osod y pregethwr ar yr un tir a'r offeiriad. Os nad yw y gwahanol enwadau yn cael mwynhâu digon o ryddid, ffarwel byth i ryddid. Gadewir iddynt wneyd yr hyn a welo eu llygaid yn dda. Y mae pawb yn cael addoli dan ei winwydden ei hun, heb ofni i neb i ymyraeth â hwy. Wedi y cwbl nis gall rhai dynion fod yn llonydd, moes moes yw hi o hyd. Nid oes genych ddim achos i achwyn yn awr.

---

## Adolygiad y Wasg.

LANGUAGE AND ITS STUDY, *with especial Reference to the Indo-European Family of Languages. By W. D. Whitney. Edited by the Rev. R. Morris, M.A., LL.D., London: Trübner & Co.*

ADARGRAFFIAD yw'r llyfr hwn o ran o lyfr a gyhoeddwyd gan yr awdwr yn America, lle y mae ef yn dal swydd fel proffeswr o'r iaith Sanscrit ad ysgawdwr o ieithoedd diweddar yng Ngholeg Yale. Traddodwyd sylwedd y gwaith mewn chwech o ddarlithiau yn Sefydliad Smithson, yn ninas Washington, ac ar ol hyny yn Sefydliad Lowell, Boston, wedi iddynt gael eu helaethu i ddeuddeg darlith. Mae'r llyfr presennol wedi dyfod allan dan ofal golygyddol Dr. R. Morris, cadeirydd Cymdeithas Ieithyddol Llundain; ac y mae yn cynnwys y saith darlith cyntaf o'r deuddeg, y rhai a gyfeiriant yn fwy neillduol at yr ieithoedd Aryaidd.

Fel y gellid dysgwyl oddi wrth y cymmeriad uchel y mae Proffeswr Whitney wedi ennill fel ysgolhaig Dwyreiniol, a'r sefyllfa y mae Dr. Morris wedi gyrhaedd fel gramadegwr hanesyddol Seisonig, mae y llyfr wedi tynu sylw athrawon ac efrydwyr Seisonig mewn modd arbenig, ac y mae yn haeddu ystyriaeth difrifol pawb sydd am ymgadw rhag bod yn ol yn yr yrfa addysgiadol yn yr hon y mae cynnifer yn awr yn ymdrechu. Mae cynnwysiad y deuddeg darlith mor helaeth fel ag y mae yn ammhosibl, heb gymmeryd mwy nag sydd briodol o'n gofod, roddi ger bron ein darllenyddion ddysgrifiad o'r pynciau sydd wedi eu sylwi arnynt ynddynt. Traetha yr awdwr yn fanol ar ddechreuad a hanes ieithoedd ac ieithofyddiaeth; ar natur y cyfnewidiadau a gymmerant le ynddynt, a'r gallu sydd yn achosi'r cyfnewidiadau hyn; am dyfiant ac am achosion parthieithoedd, a'r achosion sydd yn peri unffurfiad ynddynt; am y berthynas sydd rhyngddynt; am ddosbarthiad ieithoedd; am y moddion gwahanol o ysgrifenu neu o osod ger bron y llygad yr hyn y mae'r meddwl yn ei ganfod neu yn eu greu, y tafod yn ei lefaru, a'r clust yn ei glywed. Yn anaml iawn y ceir llyfr mor llawn o bethau dyddorol; y mae yn ammhosibl troi at unrhyw dudalen heb ddisgyn ar rywbeth i ymaflyd ym meddwl y darllenydd ac i foddio ei synwyr.

Hynod o gywrain yw sylwadau yr awdwr ar y cyfnewidiadau a gymmerant le mewn dim ond ychydig genedlaethau. Nid oes ond rhyw bymtheg neu ugain cenedlaeth rhwng y prydydd Chaucer a'r genedlaeth bresennol; ond y mae ei iaith yn lled ddyeithr i ni, ac yn anhawdd ei deall heb astudiaeth barotoawl a geiriadur priodol. Ugain o genedlaethau yn gynnarach yr oedd Alffred yn ysgrifenu, ac y mae ei iaith ef mor estronol i ni a'r Almaeneg bresennol, ac yn agos mor galed i'w dysgu. Nis gellir dywedyd bod unrhyw ddau berson yn siarad yn hollol yr un iaith. Ceir mewn geiriadur gweddol o gyflawn tua chan mil o eiriau; ond bernir nad yw Shakespeare, yr ysgrifenydd mwyaf eang ac amrywiol yn ei wybodaeth, yn defnyddio rhagor na phymtheg mil, tra bod o dair i bum mil gymmaint ag y defnyddia dyn o ddysg ac ysgolheigiaeth gyffredin; ac y mae yn debygol nad ydyw rhestr

geiriau miloedd o'n cydwladwyr yn cynnwys pum cant. Gellir barnu mai bychan yw'r cylch o eiriau ag sydd yn adnabyddus i bob un sydd yn siarad rhyw iaith benodol. At y geiriau cynnwysedig yn y cylch hwn, y mae pob dosbarth yn ychwanegu geiriau priodol i'w galwedigaethau, ac y mae'r ychwanegion hyn yn amrywio yn unol â galwedigaethau a sefyllfaodd ac arferion y llefarwyr. Mae gan bob dyn hefyd ei eiriau hoff. er nad yw, ef allai, yn wybodus ei fod yn eu hadrodd a'u hailodrodd o hyd. Felly y gellir dyweyd nad oes dau ddyn yn feddiannol yn hollol ar yr un iaith. Yr ydym oll yn siarad Seisoneg. ond nid yr un yw Seisoneg pawb; nid yr un mewn dull a ffurf; nid yr un mewn helaethrwydd; nid yn hollol yr un mewn ystyr; o blegid mae dynion yn amrywio yn eu ham gyffrediad o bethau y mae eu meddwl yn ganfod. Beth, gan hyny, yw'r iaith Seisoneg? Rhydd yr awdwr ateb i'r gofyniad hwn: ond rhaid troi at ei lyfr am dano.

Mae'r awdwr yn gwahaniaethu yn ei farn oddi wrth yr ysgolhaig enwog Max Müller yng nghylch y berthynas sydd yn hanfod rhwng ieithoedd a pharthieithoedd: y naill yn dal bod ieithoedd yn codi oddi wrth barthieithoedd, a'r llall yn barnu bod yr olaf yn disgyn oddi wrth y blaenaf. Nid yw yn ammhosibl bod y ddau beth yn cymmeryd lle, a bod y ddau ysgrifenydd cyn belled a hyny yn iawn. Yn wir y mae Proffeswr Whitney yn cyfaddef cymmaint: tra y mae yn dangos bod *verità* Italaeg, *verdad* Yspaeneg, *vérité* Ffrancaeg, a *verity* Seisoneg, yn tarddu o *veritas* Lladin: sylwa fod y pedwar gair yn cael eu toddi yn un, sef *verity*, ym mhlith preswylwyr America, lle y mae yr iaith Seisoneg yn ymestyn ar bob llaw ac yn cymmeryd y blaen ar yr holl ieithoedd ereill. Ond gwada fod y ffaith hon yn profi bod y gair *veritas* wedi tarddu o barthieithoedd ar y cyntaf.

Y mae Dr. Morris wedi ychwanegu pedair dalen o nodiadau gwerthfawr i'r llyfr, yng nghyd â thaflen yn dangos y cyssylltiad sydd yn hanfod rhwng ieithoedd Asia ac Ewrop a thafleni o'u rhifynau, eu rhagenwau personol, a threigliadau eu henwau cedyrn a'u perwyddiaid. Rhydd hefyd eglurhâd ar ddeddf Grimm, gyda lluaws o enghreifftiau. Bydd ei lyfr yn gyflëus iawn i'r rhai a ymfoddlonant ar y saith darlith. Ond i gael cyfle i farnu yn deg am deilyngdod yr Awdwr Americanaidd, byddai yn angenrheidiol cael y llyfr a gynnwys y deuddeg darlith, er nad yw hwnw yn cynnwys ychwanegion gwerthfawr Dr. Morris.

Mae'r awdwr yn ymbleidio yn gryf yn y ddarlith olaf dros ffurf o sillafu Seisoneg seiliedig ar sain y geiriau. Mae yn anffodus nad ydyw y rhan hon o'i waith yn yr argraffiad newydd; o blegid mae sylw wedi cael eu dynu at y pwnc yn ddiweddar gan Max Müller ac ereill, ac y mae llawer o ysgrifenwyr, yn neillduol y rhai sydd yn ymdrin ag addysg y werin, yn ymgynghori ac yn ymddadleu arno. Cyfaddefa'r prif ieithwyr yn gyffredinol fod orgraff y Seisoneg yn warth i'r oes ac yn faen tramgwydd ar ffordd pawb sydd am ei dysgu. Cymmerwn ein cenad i drosglwyddo i'n tudalenau yr ychydig linellau canlynol, heb eu cyfieithu. Byddant yn foddion i gadw rhai o'n darllenwyr rhag camfarnu ar fater a ddaw ef allai dan sylw mwy penodol y cyhoedd:

"Blind prejudice puts on airs, and proclaims itself the defender of a great principle, regards inherited modes of spelling as sacred, and frowns upon the phonetist as one who would fain mar the essential beauty and value of language. Of all the forms of linguistic conservatism, or purism, orthographic purism is the lowest and the easiest; for it deals with the mere external shell or dress of language, and many a one can make a stout fight in behalf of

the right spelling of a word whose opinion as to its pronunciation even, and yet more its meaning and nice application, would possess no authority or value whatever: hence it is also the commonest, the least reasonable, and the most bigoted. When it claims to be asserting a principle, it is only defending by casuistry a prejudice: it determines before hand to spell in the prevailing mode, and then casts about to see what reasons besides the mode it can find for doing so. . . . Even if the irregularities of English orthography were of historical origin throughout—as, in fact they are only so in part—it is not the business of writing to teach or suggest etymologies. . . . The real etymologist, the historic student of language is wholly independent of any such paltry assistance, and would rejoice above measure to barter every historical item in our spelling during the last three hundred years for a strict phonetic picture of the language as spoken at that distant past. . . . If we expect and wish that our tongue become one one day the world-language, understood and employed on every continent and in every clime, then it is our bounden duty to help to prepare the way for taking off its neck this heavy millstone. . . . an obstacle which converts it, from one of the easiest languages in the world, into one of the hardest for a foreigner to acquire and use."

Wrth derfynu ychwanegwn fod y darlithiau hyn wedi bod yn effeithiol i gynnyrchu awydd am wybodaeth mewn cangen o astudiaeth a deimlir yn aml yn sychlyd a chaled; ac mae'r awydd a'r archwaeth yma wedi tywys llawer ym mlaen i efrydu gweithiau mwy celfyddydol ac ysgolheigiol yn eu dull nag y bwriadodd yr awdwr i'w waith ef fod. Byddai y llyfr o wasanaeth mawr i hyfforddi yr efrydydd mewn gramadeg cyffredinol, ac yn arweinydd a'i cynnorthwyai yn fawr at gyrhaedd iawn ddealldwriaeth o hanes, anian, a theithi yr iaith Seisoneg.

---

## Gohebiaethau.

*At Olygydd yr "Haul."*

SYR,—Yn y *South Wales Daily News* am y 24ydd o'r mis diweddaf ymddangosodd un o'r epistolau rhyfeddaf a argraffwyd erioed, mewn perthynas i etholiad: y mae ei arddull yn hollol bregethwraidd. Dechreuodd trwy roddi hyfforddiad i'r etholwyr i osod eu nod ar y papyr. Cyhudda y Toriaid o fod yn ormeswyr anghenfilaidd, a bod y bobl mewn tywyllwch Toriaidd. Anwiredd noeth, nid yw yr ormes hon ddim ond un ddychymmygol, ac nid yw i'w chael yn un man ond ym mheuglogau yr uwch Radicaliaid. Dysgrifir y tirfeddianwyr fel *nigger-drivers*, ac nid yw yr etholwyr ddim ond caethion gwynion. Yn awr y mae hyn yn rhy ddrwg hyd yn oed ar amser lecsiwn i gyhoeddi anwireddau. Y mae pobl sir Benfro yn cael mwynhau pob rhyddid. Beth maent am gael yn ychwaneg? Annoga yr etholwyr i beidio gadael allweddau tragwyddolfyd wrth wregys gallu gwladol, a rhoddi eiddo Caisar i Caisar ac eiddo Duw i Dduw. Y mae yn syndod i feddwl fod un dyn rhesymol yn gallu ysgrifenu y fath frawddeg. Dyma y tro cyntaf i ni glywed fod gallu gwladol yn cadw agoriadau y byd tragwyddol. A ym mlaen i'w hannog i bleidio y Radical, pe syrthiai yr wybrenau am eu penau, ac mae ef yn barod i ganu yr *Hallelujah Chorus* uwch ben beddau y Toriaid. Dywed fod gwladgarwch, dyngarwch, rhyddid ac Ymneillduaeth Prydain, ïe, y nefoedd yn dysgwyl iddynt fod yn foddlawn, ac y byddai i bob un ddarfu bleidio Mr. Bowen, gael ei gospi mewn llys uwch na llys daiarol—mewn byd arall.

Nid yw hyn ddim ond cabledd

a rhyfyg ofnadwy, y mae yn ddigon i beri i ddyn arswydo wrth feddwl fod un dyn ag sydd yn galw ei hun yn Gristion, yn defnyddio y fath gabledd. Beth sydd a fyno gwladgarwch, dyngarwch, a'r nefoedd ag etholiad. Y mae haerllugrwydd yr ysgrifenydd pan ddywed y byddai i'r etholwyr gael ateb o flaen y frawdle fawr am bleidleisio dros y Tori tu hwnt i bob terfynau. pwy osododd ef yn farnwr ar gyflyrau ei gyd-ddynion. y mae yn dda iddynt fod cyfiawnach barnwr nag ef; onid e ni fyddai fawr o obaith i etholwyr sir Benfro.

Haley a Legree crefyddol yw yr ysgrifenydd hwn sydd am roddi cyrff ac eneidiau ei gyd-ddynion yn y cyffion; nid yw am iddynt gael nefoedd i'w heneidiau ar ol ymadael â'r byd yma. Edrycha arnynt fel pechaduriaid duaf eu lliw. Y mae pleidio Tori yn llawn cynddrwg yng ngolwg yr ysgrifenydd Cristionogol hwn a llofruddiaethau, lledradau, cribddeilio, twyllo, hocedu, a phechodau porfforaidd ereill. Nid oes dim son yn awr am un pechod ond y pechod o bleidleisio yn erbyn y Radicaliaid mewn etholiadau. Nid oedd yr haul i dywynu ei belydrau ar fynyddoedd Presseli: yr oedd y wlad i fod mewn tywyllwch os oedd Mr. Bowen i ennill. Nid oedd yr un ceiliog i ganu os na fyddai i Diana Radicaliaeth gael ei gorseddu: yr oedd holl gôr y llwyn i dewi wrth archiad yr ysgrifenydd Radicalaidd hwn. Os na wnaiff dim arall drosglwyddo enw arwr mawr Radicalia yn sir Benfro, bydd i'w lythyr gyflawnu y diffyg. Yr oedd y llythyr hwn yn un o'r cyfansoddiadau mwyaf dwl, di-bwynt, cableddus, a broliog a ysgrifenwyd mewn un oes. Cynghorem y gwr hwn i ddysgu moesau da. ac ysgrifenu rhywbeth yn debyg i ddyn o hyn allan. Ond dichon fod ei waed wedi oeri erbyn hyn, ar ol i'r dwymyn lecsiwnyddol ei adael. Aeth i eithafion dychrynllyd!

GOMER.

## RHYDDID RADICALAIDD.

"Dinystriwch yr Eglwys" yw'r floedd Radicalaidd,
"Trowch allan y Beibl o'r ysgol," twyll yw;
"A dysgwch y plant yn yr oed mwyaf gwylaidd
Eofndra anffyddiaeth—nid rheol Gair Duw."

"Rhyddfrydwyr iawn ydym, a rhyddid a fynwn
I ddweyd a gweithredu fel mynwn trwy'n hoes;
'Does neb cydwybodol ond ni mewn elecsiwn;
Ni ddylid rhoi rhyddid i neb sydd yn groes."

J. T. L.

---

## Hanesion.

BETTWS LEICI, CEREDIGION.

Ar y 18fed o Fai ailagorwyd yr Eglwys newydd yn y lle uchod. Dydd a gofir yn hir oedd y dydd hwnw gan drigolion Bettws Leici. Darllenwyd y Gwasanaeth Boreuol gan ficer y plwyf, a'r Llithoedd gan y Parch. L. T. Rowland, Llanddewi Brefi. Yn y prydnawn darllenwyd y Litani gan y Parch. T. Rogers, Llanfihangel Penbedw, a'r Gwasanaeth Hwyrol gan y Parch. W. Powell, Trefilan. Pregethwyd ar yr achlysur gan y Parchedigion canlynol:—R. Williams, Dihewyd; R. Evans, Llandybïeu; W. Rees, Llangynllo; J. Sinnett, Bangor Teifi; a H. Morgan, D.G., Llanddewi Aberarth. Yr oedd y cynnulleidfaoedd yn lluosog, a'r pregethau yn rymus a dylanwadol. Casglwyd yn ystod y dydd yn agos i 20p., ac yn awr y mae yr Eglwys yn ddidyled. Dangoswyd pob parodrwydd gan bawb, yn Eglwyswyr ac yn Ymneillduwyr, i gludo defnyddiau at yr adeilad, am yr hyn y mae diolchgarwch yn deilwng.

ETHOLIADAU.

Yr oedd Radicaliaid Sir Benfro yn ddoeth yn eu cenedlaeth pan syrthiodd y goelbren ar Mr. Davies, Hwlfford, Bedyddiwr. Nid oes dim gwahaniaeth yn awr pa un a fydd i aelod seneddol gynnrychioli yr etholwyr ai peidio, ond iddo fod yn Sectwr, yn ddyn plaid grefyddol. Cynnrychiolwr sectol oedd Mr. Evan Mathew Richards, cynnrychiolwr sectol yw Mr. Henry Richard, nid yw yn cynnrychioli y bobl, y mae ef yn wastad yn cymmeryd ei barabl o ddrws y capel. Cynnrychiolydd sectol yw Mr. Blake, yr hwn a etholwyd yn ddiweddar dros Llanllieni; ar ysgwyddau y capelwyr yr aeth i'r Senedd. Nid yw y Sectwyr a'r pregethwyr

yn gadael un gareg heb ei throi er cyrhaedd eu hamcan. Appeliant nid at reswm, ond at ragfarn a theimladau y bobl, gwnawd hyn yn Sir Benfro yn ddiweddar gan bregethwyr cyflogedig, boneddigion, a chwnsleriaid. Dygwyd crefydd yn hollol ddialw i'r maes. Dywed y newyddiaduron i'r pregethwyr gyhoeddi barn gabledd uwch ben Eglwys Lloegr a phawb oedd yn ei phleidio. Llusgwyd enw Syr John Scourfield i esgynlawr ·Radicalaidd yn Abergwaen. Y mae hyn yn arswydus i feddwl am dano, yr oedd Syr John yn ddyn enwog, yn foneddwr ym mhob ystyr o'r gair, dylasent adael ni enw yn llonydd; ond beth dâl siarad? os cregin fydd yn y cwd cregin ddaw allan. Yr ŷm yn arfer dywedyd fod yr offeiriaid pabaidd yn hawlio mai hwy yw ceidwaid cydwybodau eu praidd. Y mae rhai o'r Ymneillduwyr yn eu hefelychu. Y mae yn bryd i'r wlad wrthdystio yn erbyn yr ymyrwyr hyn. Gellir meddwl fod gan bob pregethwr ddigon o waith i ofalu am ddefaid ei ofal yn lle myned i grwydro am draws gwlad i hau hadau cythreuliaid ac anghydfod. Y mae pregethwyr yr oes hon yn ddwy blaid—y pregethwr politicaidd a'r pregethwr crefyddol. Cadwedigaeth eneidiau sydd mewn golwg gan un, a llywod-ddysg yw prif bwnc y llall. Y maent yn gallu argoli lecsiwn o bell fel march rhyfel. Condemniwyd y Ceidwadwyr yn llym yn Sir Benfro yn amser y lecsiwn, ond nid ddarfu i neb sylwi ar ryddfrydedd y Prif Weinidog yn cynghori y Frenines i roddi gwobrdal i weddw y Parch. John Emlyn Jones. Radical oedd Emlyn, coffa da am dano. Nid wyf yn credu y buasai i Mr. Gladstone wneyd hyn.

### MARWOLAETH SYR JOHN SCOURFIELD, A.S.

Y mae un o'r dynion mwyaf urddasol yn Neheudir Cymru wedi ein gadael. Yr oedd Syr John Scourfield yn enwog fel seneddwr, areithydd parod, fel Arglwydd Raglaw y Sir, cadeirydd y Cwarter Sessiwn, a Phenswyddog. Mewn gwirionedd yr oedd yn enwog ym mhob cylch; yn cael ei barchu gan bob plaid a phob dosbarth, y tlawd a'r cyfoethog. Yr oedd ei oes yn oes ddefnyddiol a gweithgar. Cymmerodd ran ym mhob symmudiad gwladol, cymdeithasol, a chrefyddol ag oedd yn tueddu i lesoli ei gyd-ddynion, yr oedd ei law a'i logell yn barod i'w cynnorthwyo. Ni chafodd fwynhau ei deitl ond am ychydig fisoedd.

### MARWOLAETH MR. THEODORE TALBOT, O FARGAM.

Y mae yn flin genym gofnodi marwolaeth Mr. Talbot, yr hyn a gymmerodd le yn nhy ei dad yn Llundain. Unig fab ac etifedd Mr. Talbot, A.S., oedd yr ymadawedig. Yr oedd yn hynod o boblogaidd ym mysg y bobl. Efe oedd llywydd y Seiri Rhyddion yn swydd Forganwg. Yr oedd yn Uchel Eglwyswr, ac yn llywydd i'r Church Union ym Morganwg. Amser yn ol cymmerodd gohebiaeth faith le rhyngddo ag Esgob Llandaf, am i'r olaf wahardd Mr. Stanton, curad St. Alban's, i bregethu yn Eglwys Fair, Caerdydd.

### NODIADAU Y MIS.

*Dadansoddiad Credoau Crefyddol.*—Y mae Llyfr Arglwydd Amberley, mab Iarll Russell, allan o'r Wasg. Ysgrifenwyd y rhagymadrodd gan ei fam. Dywed fod ei mab, pan yn ieuanc, yn un crefyddol i'w ryfeddu. Ymadawodd â'i ffydd yn raddol. Rhoddodd hyn lawer o ofid iddo. Er yr addysg foreuol a dderbyniodd, ymlithrodd yn raddol i dir ammheuaeth ac anghristionogaeth. Ymdrinia yn y llyfr hwn â holl gyfundrefnau arferion; ceisia brofi fod un grefydd gystal a'r llall, a'u bod oll yn ffugiol mewn ffurf, wedi cael eu sefydlu ar deimlad naturiol. Y maent oll yn ffurfiol, ac wedi cael eu gordoi â ffug. Nid oes dim trwch y blewyn yn ei dyb ef o wahaniaeth rhyngddynt; y grefydd Gristionogol yw y waethaf, ac edrycha ar ei sylfaenydd yn is na Confucius, Budda, &c. Yr oedd yn ystyried ein Hiachawdwr ddim amgen na thwyllwr a ffanatic hudoliaethus, ac nad oedd ei wyrthiau ddim ond twyll. Yr oedd ei ateb i'r cwestiwn A ydyw yn deilwng rhoddi teyrnged i Caisar yn reswm gwallus. Y mae ei ateb i'r Saduceaid mewn perthynas i'r wraig â saith o wŷr yn ddiffygiol. Nid oedd ei Bregeth ar y Mynydd ddim gwell na phregethau diwygwyr crefyddol ereill. Nid oedd yn ystyried yr hyn oedd yn ddysgu yn werth dim. Cyfiawnhaodd y Croeshoeliad. Nid oedd ef yn cydymdeimlo â neb ond y Phariseaid. Yn ei holl lyfr nid yw yn dangos dim un cydymdeimlad â'n Hiachawdwr mewn perthynas i'r Sabbath. Condemnia ein Hiachadwr am gyflawnu gwyrthiau ar y dydd Sabbath, a gadael i'w ddysgyblion dynu y tywysenau ar y dydd Sabbath, bwyta heb olchi eu dwylaw. Cyhudda ein Hiachawdwr o glwyfo teimladau y Phariseaid. Dadleua fod ei gyhuddwyr yn iawn, ac i'w farwolaeth fod yn foddion i attal gwrthryfel ym mhlith yr Iuddewon. Dyna y fath sothach, stwff cableddus a ffiaidd, sydd ynddo. Yr unig esgus dros y llyfr hwn yw ieuenctyd yr awdwr. Dylasai iddo adael i'w gynneddfau addfedi cyn ysgrifenu y fath lyfr. Y mae y llyfr cableddus hwn yn llawn mor ddrwg a llyfr Tom Payne, *Age of Reason.* Bu Tom Payne fyw nes iddo gael amser i wadu yr athrawiaeth gyfeiliornus, ond bu y dyn ieuanc

hwn farw yn ei flodau ger Casgwent, a chladdwyd ef yn ei ardd, ond symmudwyd ei gorff i gladdle y teulu. Y mae llawer tad doeth yn dwyn i fyny fab ffol.

*Ymneillduad arwr y Secularaid.*—Y mae Mr. Dixon, yr A.S. dros Birmingham, cadeirydd y *League*, wedi cyhoeddi ei fwriad i neillduo o'r Senedd. Y mae ef wedi blino ar fywyd Seneddol a'r *League*. Mae Birmingham mor Radicalaidd nes y mae yn ammhosibl i un Ceidwadwr gael myned i mewn; ond y mae ganddynt un wrth fodd eu calonau i wisgo esgidiau Dixon, sef Mr. Chamberlain, Radical eithafol.

*Cydnabyddiaeth i dalent Gymreig.*—Ychydig flynyddoedd yn ol bu farw y Parch. John Emlyn Jones, gweinidog perthynol i'r Bedyddwyr, gan adael gweddw a thri o blant amddifaid ar ei ol, heb un ddarbodaeth ar eu cyfer. Trwy ymdrech Syr T. D. Lloyd, A.S., mae hi yn derbyn gwobrdal o 75p. oddi wrth y Llywodraeth. Tyma beth yw rhyddfrydiaeth wirioneddol: yr oedd Emlyn yn Radical mewn gwladyddiaeth. Pe buasai Emlyn yn Eglwyswr, y mae yn fwy na thebyg na fuasai i neb wneyd un ymdrech drosto. Yr oedd Emlyn yn fardd penigamp; ond nid oedd ei gynnyrchion ddim yn gyffelyb i Brutus; ond ni cheisiodd neb gael dim ceiniog i'w weddw ef.

*Marwolaeth Dr. Field, Esgob Newfoundland.*—Cymmerodd marwolaeth y prelad le yn ddiweddar yn un o ynysoedd Bermuda, yn ei esgobaeth ei hun. Nid llawer o esgobion benododd Mr. Disraeli hyd yn hyn.

## ESGORODD,

Morris—Mehefin 4, yng Nghlan y Feri, priod Mr. D. T. Morris, ar ferch.

## PRIODWYD.

Barclay—Jennings—Mehefin 8, yn Eglwys y Drindod, Marylebone, gan y Parch. A. C. Jennings, A.C., yn cael ei gynnorthwyo gan y Parch. J. T. R. Fussel, A.C., Castell Amroth, Henry Fergusson Day Barclay, gynt yn Gadben yn y 63edd gatrawd, ag Agnes Hermoine, merch henaf R. Jennings, Ysw., Gellideg.

Davies—Adams—Mehefin 22, yng Nghapel y Wesleyaid, Caerfyrddin, Mr. B. Davies, oriorydd, â Fanny, merch henaf y diweddar Mr. John Adams, bragwr, o'r dref hon.

## BU FARW,

Davies—Mehefin 9, yn Waendwrgi, Mr. David Davies, 73 oed.

Lloyd—Mehefin 19, yn Barn's Row, Caerfyrddin, Mr. William Lloyd, 87 oed.

Jones—Mehefin 5, ym Mheriglordy Llangeler, y Parch. Owen Jones, gynt yn gurad ym mlwyf Sant Pedr, Caerfyrddin.

Scourfield—Mehefin 4, yn St. James's Place, Llundain, Syr J. H. Scourfield, barwnig, A.S. dros sir Benfro, Arglwydd Raglaw a Cheidwad Llys Cofnodau Bwrdeisdref Hwlffordd, 68 oed.

Thomas—Mehefin 18, yn y Green Post, Caerfyrddin, Thomas, mab henaf Mr. Thomas Thomas, 13 oed.

Thomas—Mehefin 13, yn Lletty Cwmgwili, Mr. Thomas Thomas, dros 46 mlynedd yn was ffyddlawn yn nheulu Grismond Philipps, Ysw., 76 oed.

## DIOLCH AM ADFERIAD.

Gwrandewaist lef, Ior Nefawl,—wael adyn
Mewn caledi dygnawl;
O Dduw! dy gariad tadawl
Tra pery'm chwyth fyth gaiff fawl.

G.

*Ebrill* 20, 1876.

## Y LLITHIAU PRIODOL, GORPHENAF, 1876.

| Gor. | Suliau a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 2 Sul | 3 Sul wedi'r Drindod | 1 Sam. ii. hyd 27<br>Actau x. hyd 24 | 1 Sam. iii; neu iv. hyd 19<br>1 Ioan v. |
| 9 Sul | 4 Sul wedi'r Drindod | 1 Sam. xii.<br>Actau xv. hyd 30 | 1 Sam. xiii.; neu Ruth i.<br>Mat. iv. hyd 23. |
| 16 Sul | 5 Sul wedi'r Drindod | 1 Sam. xv. hyd 24<br>Actau xix. 21 | 1 Sam. xvi. neu xvii.<br>Mat. viii. hyd 18 |
| 23 Sul | 6 Sul wedi'r Drindod | 2 Sam. i.<br>Actau xxiii. 12 | 2 Sam. xii. hyd 24; neu xviii.<br>Mat. xii. hyd 22 |
| 25 Maw. | Sant Iago, Apostol a Merthyr* | 2 Bren. i. hyd 16<br>Luc ix. 51—57 | Ier. xxvi. 8—16<br>Mat. xiii. hyd 24 |
| 30 Sul | 7 Sul wedi'r Drindod | 1 Cron. xxi.<br>Actau xxviii. 17 | 1 Cron. xxii; neu xxviii. hyd 21<br>Mat. xv. 21 |

* Credo Sant Athanasius i'w arfer.

CARMARTHEN:
Printed and published by William Spurrell, at his Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Friday, the 30th of June, 1876.

# YR HAUL.

## Cyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIF. 236. AWST, 1876. CYF. 20.

## CYFRES FER O BREGETHAU ER AMDDIFFYNIAD Y FFYDD.

### GWYRTHIAU.—VI.

"Rhaid yw i'r neb sydd yn dyfod at Dduw, gredu ei fod Ef, a'i fod yn obrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio Ef."—HEB. xi. 6.

YR ŷm wedi bod yn ymresymu hyd yn hyn nad oedd dim mewn gwyrth yn groes i unrhyw ddeddf naturiol adnabyddus i ni, ac wedi cymmeryd amryw enghreifftiau allan o'r Ysgrythyrau i'n hystyriaeth er mwyn gweled a oedd *rhaid* casglu nas gallai gwyrthiau fod wedi dygwydd heb droseddiad deddf natur. Cynnygiwyd esboniadau ar rai o'r gwyrthiau mwyaf anhawdd, ac fel meddyliaf, digonol, os nid i ennill cydsyniad hollol, eto i brofi fod esboniad yn bosibl *heb* ruthro at y casgliad fod deddf naturiol yn cael ei throseddu. Hawliasom nad oedd ein hanwybodaeth o'r achosion anadnabyddus yng nghyflawniad y wyrth yn profi troseddiad o ddeddfau natur, mwy nag yw mewn ymddangosiadau eithriadol ar faes natur.

Ym mhellach, nid yn unig gellir gweled nad oedd y gwyrthiau yn groes i ddeddfau natur, ond mae amryw resymau yn tueddu i sefydlu y dybiaeth fod yr achosion anadnabyddus yn rhai naturiol. Mae yn gysson â chyfatebiaeth. yn gysson â'r amgylchiadau, yn gysson â iaith yr Ysgrythyr i ni gasglu felly.

1. *Yn gysson â chyfatebiaeth.* Yn holl deyrnas natur gwelsom fod Duw yn gweithredu trwy offerynoliaeth ailachosion. Mae un peth yn cael ei achosi gan beth arall, a'r peth arall gan beth arall drachefn. Mae y ffynnonau yn cael eu llanw gan y gwlaw, y gwlaw yn cael ei dywallt o'r cymylau, y cymylau yn ymddibynu ar y gwynt, ac felly mewn cadwyn barhäus allan o'r golwg, mor be l fel nas gwyddom ym mha le mae bys Duw yn ddigyfrwng yn cyffwrdd â'r achosiaeth. Mae gwyddoniaeth yn ein cynnorthwyo i olrhain yr achosion yn ol, ac yn cadarnhau y syniad fod yr effeithiau yn tarddu oddi ar achosion naturiol *bob amser*, o blegid pa bryd bynag y llwydda i gael hyd i'r achosion, rhai naturiol ydynt. Os dyna yw ffordd Duw o weithredu, sef trwy achosion naturiol, mae yn gyfatebol i ni feddwl mai felly y gweithreda mewn ymddangosiadau *anghyffredin* (h.y., gwyrthiau) yn gystal ag mewn rhai cyffredin.

2. *Yn gysson ag amgylchiadau y wyrth.* Mae yn sicr fod achosion naturiol yn gweithredu yn ol eu

harferiad heb ddim arosfa, na chyfnewidiad, na throseddiad arnynt *cyn* ac *ar ol* pob gwyrth a ddarllenwn am dani yn yr Ysgrythyr. Hyd yn oed pan oedd y wyrth yn cymmeryd lle. mae yn amlwg fod achosion naturiol yn gweithredu yn ol eu harferiad. Yr oedd angen am rywbeth ychwanegol i ddwyn y wyrth i ben; a beth mwy naturiol, mwy *cysson â'r amgylchiadau* na meddwl fod yr achosion ychwanegol hefyd yn debyg i'r achosion ereill—fod yr hyn ni wyddom yn debyg i'r hyn a wyddom.

3. *Yn gysson â'r Ysgrythyr.* Mae yr Ysgrythyr yn gosod Duw allan fel awdwr gwyrthiau yn yr un modd ag y gwna mewn perthynas i natur. Dangoswyd hyn eisoes Nid yw Duw ddim yn fwy o awdwr gwyrthiau nag yw o awdwr natur. Mae un fel y llall yn deilliaw oddi wrtho Ef. Os ydyw yn gweithio trwy offerynoliaeth ailachosion mewn un, mae yn debyg ei fod hefyd yn y llall—yn y gwyrthiol ac yn y diwyrthiol fel eu gilydd.

Ond gwrthwynebir fan yma nad yw yr achosion naturiol hyn yn ddigon i ddwyn yr ymddangosiadau gwyrthiol (*the miraculous phenomena*) i ben, a bod rhaid i ni ddwyn i mewn ryw achos nad yw yn perthyn i natur. I hyn yr atebwn, os ydyw ein hanallu i esbonio dygwyddiad gwyrthiau trwy achosion naturiol yn ein gorfodi i dybied presennoldeb rhyw achos dinaturiol *(non-natural)*, mae cyffelyb anwybodaeth hefyd mewn perthynas i lawer o ymddangosiadau cyffredin anesbonadwy yn ein gorfodi i dybied presennoldeb rhyw achos dinaturiol ynddynt. Nid yw y gwyddonwr yn gwneyd casgliad fel yna pan yn anwybodus o'r achos. Ni ddylai chwaith *anwybodaeth* mewn perthynas i wyrthiau ein harwain i benderfynu yn wahanol.

Ond gwrthwynebir hefyd ym mhellach fod y golygiad a amddiffynwyd, sef fod gwyrthiau yn cael eu dwyn i ben trwy weithrediad ailachosion naturiol anesbonadwy, yn difetha y gwahaniaeth rhwng gwyrth ac ymddangosiad cyffredin anesbonadwy. Dychymmygaf fy mod yn clywed yr ammheuwr *(sceptic)* yn ymresymu fel hyn: "Ar yr olwg gyntaf mae eich esboniad yn dilëu y gwahaniaeth rhwng y gwyrthiol a'r diwyrthiol mewn natur, gan nad oes prawf fel dywedwch fod unrhyw briodoledd perthynol i sylwedd, neu ddeddf perthynol i'r galluoedd mewn gweithrediad yn cael ei throseddu yn y gwyrthiau ysgrythyrol. Yr wyf yn caniatäu nad oes. Yr wyf yn caniatäu ym mhellach nad yw yn deg gwrthod y gwyrthiol o herwydd nas gellir eglurhau yr achosion naturiol oddi wrth yr hwn y deillia; ond mae mwy na hyn yn gynnwysedig yn unffurfiaeth natur, ac yn gwneuthur y gwyrthiol a'r diwyrthiol yn hollol wahanol, yn gystal a gwneuthur y gwyrthiol yn droseddiad o unffurfiaeth natur: meddylir nid yn unig bod pob dygwyddiad yn cael ei ddwyn i ben gan achosion naturiol, ond hefyd nad oes un dygwyddiad yn cael ei ddwyn i ben *ond* trwy achosion naturiol. Gellir caniatäu nad yw gwyrthiau yn troseddu deddf o fewn cylch eu hachosiaeth neillduol; gellir caniatäu hefyd fod cydgyfarfyddiad achosion naturiol trwy ba rai y dygir hwynt i ben yn ddichonadwy; ond dyma'r pwnc; ni chymmerai y fath gyfarfyddiad byth le yn natur tra mae deddf yn teyrnasu; ni wnai natur byth o honi ei hun ddwyn y fath gyfarfyddiad i fodolaeth; am hyny mae gwyrth yn droseddiad o ddeddf yn yr ystyr hyn, a dyma ein gwrthwynebiad"

Mae yr ammheuwr hwn yn awr yn caniatäu, chwi welwch, ein bod wedi ennill y tir y buom yn ymddadleu trosto mor belled ag yr aethom. Arweinir ni ym mhellach i ystyried y gwrthwynebiad presennol, sef fod pob dygwyddiad gwahanol i'r hyn a achosai natur o honi ei hun yn droseddiad o ddeddf, ac yn anghred-

adwy. Dyma'r egwyddor, ac os yw gwir, mae yn wir yn gyffredinol.

Ond a ydyw gwir ai peidio? dyna'r pwnc. Cymmerwch yr agerdd-beiriant fel enghraifft. Mae yr ymddangosiad naturiol a'r achosion naturiol yn hawdd eu holrhain; ond a allasai natur o honi ei hun byth ei achosi? Gellir gweled achosion naturiol, a deddfau naturiol yn gweithredu yn rheolaidd, ond nis gallent byth fod wedi cydgyfarfod o honynt eu hunain yn y fath fodd ag i greu y peiriant. Mae olrheiniad o'r achosiaeth yn ein harwain ni yn ol at ddyn, at ei aelodau corfforol, ei freichiau, ei gyhyrau, ei ymenydd, ac yn olaf at ryw beth tu draw i wyddoniaeth anianyddol, *ei feddwl*. Hwn mewn cyssylltiad ag achosion naturiol a greodd y peiriant. Nid oedd *y meddwl* yn medru creu unrhyw sylwedd newydd, na newid unrhyw ddeddf, nac oedi gweithrediad unrhyw allu; yr oedd y cyfan yn dyfod i ben mewn perffaith gyssondeb â deddfau natur. Yr oedd gweithrediad y meddwl ar natur yn cael ei gyfyngu gan lawer o bethau, yn enwedig gan yr angenrheidrwydd o weithredu ar sylwedd trwy gyfrwng y corff yn unig a mesur galluoedd y corff. Ond eto er mor gyfyngedig, mor fawr yw gallu meddwl ar natur! mor helaeth mewn gwledydd gwareiddiedig yw'r ymddangosiadau (*phenomena*) na fuasai natur byth o honi ei hun yn eu dwyn i ben! Er nas gallasai natur o honi ei hun byth greu yr ymddangosiadau hyn, ni ddywedir eu bod yn anghredadwy. Os oes y fath beth, gan hyny, a *meddwl* yn bodoli, mae yn amlwg fod miloedd a myrddiynau o ymddangosiadau yn natur nas gallai natur ei hun eu hachosi, a'u bod yn bodoli heb unrhyw droseddiad o ddeddf. Y cwbl ynte sydd yn ofynol i wneyd gwyrthiau yn yr ystyriaeth yma yn gredadwy, yw y dybosodiad mai effaith *meddwl* ydynt yn dylanwadu ar natur.

Ond cyfodir gwrthddadl yn erbyn yr ymresymiad, a dywedir nad oes dim gwahaniaeth rhwng meddwl a galluoedd sylweddol natur. Dyma syniad y rhai a elwir sylweddwyr (*materialists*). Nid yw Sadduceaeth yn beth newydd, ond mae ei ffurf, ei wisg, yn newid. *Sylweddaeth* yw Sadduceaeth yr oes bresennol. Yn ol y golygiad hwn nid oes dim yn bodoli ond sylwedd. Effaith sylwedd ar sylwedd yw pob ymddangosiad. Gweithrediad achosion naturiol yw meddyliau. Deilliant oddi wrth symmudiadau gronynau yr ymenydd, ac amrywiant yn gysson â'r symmudiadau hyn. Nid oes dim ond sylwedd yn bodoli; nid oes dim enaid, dim ansylweddol, dim ysbrydol, nac angel, nac ysbryd. Pan chwelir y gronynau sylweddol, a'r galluoedd sydd yn cynnal bywyd, mae yr holl ddyn yn darfod; nid oes dim ar ol. Nid yw meddwl ond miwsig mewn offeryn, a phan ddryllir yr offeryn derfydd y miwsig. Pan gymmer marwolaeth le, chwelir gronynau y sylwedd; mae pob peth drosodd.

Nodwch yn awr mor eithafol yw y syniad trwy ba un yr ymdrechir difetha'r sail ar ba un y dadleuasom fod gwyrthiau yn gredadwy. Nodwch hefyd mor drwyadl y gwna wyrthiau yn ammhosibl, trwy wneyd y meddwl yn effaith sylwedd naturiol a'i briodoleddau. Os nad yw dyn ddim ond peiriant sylweddol, nid yw werth gofyn pa un a all gredu mewn gwyrthiau ai peidio. Mae yr Ysgrythyr yn llefaru am enaid dyn fel peth ansylweddol, cyfrifol, ac anfarwol; ac yn dysgrifio gwyrthiau fel ymddangosiadau wedi eu hachosi er mwyn dylanwadu ar a goleuo yr enaid. Nis gellir dysgwyl i'r sylweddwr, neu i'r hwn a gred mai peiriant yw dyn yn unig, gredu mewn gwyrthiau. Nid â sylweddaeth chwaith mae ein dadl, ond nid afreidiol fydd cyffwrdd wrth fyned heibio â gwendid y tir ar ba un y gorphwys sylweddaeth.

Y mae sylweddaeth yn anghysson â gwybodaeth dyn am dano ei hun. Beth yw y wybodaeth yma a feddianwn? yn ddwfn lawr yn ein hymwybyddiaeth *(consciousness)* mae dyn yn gwneyd gwahaniaeth rhyngddo ei hun a sylwedd naturiol, rhyngddo ei hun a threfn sylweddol y byd. Mae ei ymwybyddiaeth bersonol yn dystiolaeth at ba un gellir appelio fel prawf, yn yr un modd ag yr appeliwn at ei synwyrau corfforol fel prawf o'r hyn sydd sylweddol. Mae yr hyn a wel dyn â'i lygaid yn brawf digonol iddo. Nid oes eisieu prawf arno fod yr hanner yn llai na'r cyfan. Nid yw ffeithiau ei ymwybyddiaeth *(the facts of his consciousness)* chwaith yn gofyn un prawf pellach; nis gall beidio eu derbyn. Mae ei ymwybyddiaeth yn tystiolaethu iddo fod ei enaid yn beth gwahanol i sylwedd, yn wahanol nid mewn gradd a chywreinrwydd, ond mewn natur a rhyw. Mae hwn yn ffaith hunan-eglur, yn *ultimate fact of consciousness.*

Ond meddai y Sylweddwr, nid yw felly i mi; nid oes dim yn dywedyd ac yn tystio o'm mewn i beth bynag fod meddwl yn bodoli ar wahân i sylwedd—fod y fath beth a'r hyn a alwch yn enaid neu yn ysbryd yn bod.

Yr ydym yn dyfod i'w gyfarfod yn y lle cyntaf trwy ddangos fod ei ymwybyddiaeth neillduol yn ddiffygiol, ac yn groes i syniad cyffredinol dynoliaeth ym mhob cenedl, pa un ai gwaraidd ai anwaraidd fyddont. Ym mhob man ceir yn ffynu y syniad o fodolaeth yr ysbrydol.

Yn yr ail le, trwy ddangos y dylai, cyn bod yn gysson ag ef ei hun, wadu hefyd fodolaeth sylwedd yn gystal a bodolaeth enaid. Ymdrechaf wneyd hyn yn fwy amlwg trwy gymhariaethau. Pa fodd y gwn mai canwyll yw y gwrthddrych o'm blaen? O herwydd bod fy llygaid yn trosglwyddo effaith ar fy ymenydd, ac mae fy meddwl yn dweyd wrthyf mai canwyll yw. Ond sut *gwn* i eto fod y ganwyll yn bodoli mewn gwirionedd, ac mai nid dychymmyg yw o eiddo'r meddwl? O herwydd mae fy ymwybyddiaeth yn tystiolaethu hyny i mi; dyna'r prawf. Yr un prawf hefyd sydd genyf, sef tystiolaeth fy ymwybyddiaeth, fy mod i fy hun yn bodoli—fy mod i fy hun yn bodoli ar wahân i elfenau naturiol—fod fy meddwl, fy enaid, yn rhyw beth gwahanol i sylwedd—mi fy hun yn rhywbeth gwahanol i'r corff a'r aelodau—y corff ond offeryn a mi fy hun yn breswylydd ynddo.

Os nad yw fy ymwybyddiaeth yn profi bodolaeth meddwl, nid yw yn profi bodolaeth sylwedd. Os yw yn twyllo mewn perthynas i fodolaeth enaid, felly hefyd gall fod mewn perthynas i fodolaeth sylwedd. Os nad oes prawf fod enaid, nid oes prawf fod sylwedd. Os na chaf appelio at fy ymwybyddiaeth mewnol i dystiolaethu i mi am enaid, ni chaf yn iawn a theg chwaith am sylwedd. Os na chredaf mewn enaid, ni chredaf mewn sylwedd, ni chredaf mewn Duw na dim. Nid oes genyf ddim tystiolaeth am ddim.

Gellid manylu mwy yng nghylch sylweddaeth a'r eithafon o anghrediniaeth i ba un yr arweinia, ond dichon bydd hyna yn ddigon, o herwydd mae ein tyb-osodiad yn cymmeryd y bod o Dduw yn ganiatäol fel rhan o'r diffiniad ysgrythyrol o wyrth, ac nid yw ein hymresymiad, gan hyny, o angenrheidrwydd â'r rhai a wadant hyn, ac a ddywedant nad yw dyn ond peiriant sylweddol heb un meddwl. Teilwng hefyd wrth fyned heibio yw crybwyll am wrthddadl arall yn y fan yma, sef eiddo y rhai a ganiatânt fod gan ddyn feddwl, a bod meddwl yn achosi yr hyn na allai natur ei hun ei achosi, *ond* fod y meddwl ei hun o dan ddylanwad *angenrheidrwydd.* Mae yr allanol yn gweithredu ar y meddwl a'r ewyllys, ac nis gall dyn weithredu ond yn ol effaith yr allanol arno. Y mae gorfodiaeth ar yr orsedd; dyma'r hyn a elwir

*necessitarianism.* Arweinir y dyb hon i'r casgliad nad yw dyn yn gyfrifol am ei weithredoedd, ond gan ei bod yn caniatäu fod *meddwl* yn achos o'r hyn nas gallai natur o honi ei hun achosi, nid yw yn angenrheidiol i ni aros i wrthddadleu, o herwydd ein pwnc yn awr yw dangos fod meddwl yn achos o'r fath.

A gwelwch y canlyniad; os oes meddwl yn bod, mae genym achos heb law achosion naturiol neu sylweddol yn dwyn ymddangosiadau i ben nas gallai natur o honi ei hun; ac os caniatëir fod achosiaeth meddwl yn esboniad digonol o'r hyn nas gallai natur ei hun ei achosi heb haeru troseddiad deddf, pa ham nad yw achosiaeth meddwl hefyd yn esboniad digonol o'r wyrth, yr hon nis gallai natur ei hun ei achosi, *heb* haeru troseddiad o ddeddf? Mae gwyrthiau, gan hyny, mor gredadwy ag unrhyw weithredoedd a gyflawnir trwy offerynoliaeth y meddwl dynol ar faes natur. Nid bodolaeth meddwl dynol a meidrol yn wir sydd yn angenrheidiol, ond meddwl dwyfol ac anfeidrol, canys mae gwyrthiau nid yn unig yn oruwch naturiol, neu uwch law natur ei hun, ond maent hefyd yn oruwch ddynol—neu uwch law gallu y meddwl dynol i'w dwyn i ben.

Gadëwch i ni gadw hefyd mewn cof mai nid dwyn i mewn a wneir fodolaeth meddwl anfeidrol fel gweithredydd er mwyn ymresymu yn well, ond fod yr Ysgrythyr yn hawlio, fel rhan o'r hyn yw gwyrth, offerynoliaeth neillduol Duw. Ni ofynir i ni gredu gwyrthiau mewn unrhyw olygiad arall. Dangoswyd trwy enghreifftiau helaeth nad oedd dim troseddiad o unrhyw ddeddf neu allu adnabyddus mewn gwyrth i beri iddynt fod o herwydd hyny yn llai credadwy nag ymddangosiad anesbonadwy naturiol. Yn ganlynol nid oedd dim i wrthbrofi y golygiad Ysgrythyrol fod yr un awdwr i wyrthiau ag i natur. Eto ym mhellach, dangoswyd, er fod gwyrthiau yn gysson â deddfau natur, nad oedd natur o honi ei hun yn alluog i'w dwyn i ben; eu bod yn gofyn gweithredoedd meddwl trwy offerynoliaeth achosion naturiol, a hwnw yn feddwl o allu goruwchddynol—mewn gair, meddwl Duw fel eu hawdwr, a dyma yr hyn a hawlia yr Ysgrythyr. Os oes Duw, gan hyny, mae gwyrthiau yn berffaith gredadwy fel gweithredoedd nerthol.

Ystyriwch yr hyn yw Duw yn ol y golygiad Ysgrythyrol. Os gall dyn, trwy rym ei feddwl yn unig, greu effeithiau mor ryfeddol ar natur, a darostwng galluoedd a defnyddiau naturiol i'w wasanaeth heb unrhyw droseddiad o ddeddf, pa faint mwy gall yr Hwn sydd wedi creu y bydoedd, yr Hwn sydd yn bresennol ym mhob man, yn dal y llywodraeth yn ei law, yn anfeidrol yn ei waith ac yn ei briodoleddau—pa faint mwy yr effeithiau a all y Duw hwn eu gwneuthur trwy gyfrwng achosion naturiol. Os oes Duw yn bod, ac os ewyllysiai weithredu mewn gwyrth, y mae gwyrth mor gredadwy ag unrhyw amgylchiad cyffredin. Mae y bod o Dduw yn gorwedd wrth wreiddyn y mater, a chawn ei ystyried yn y bregeth nesaf. Digon yn awr yw dyweyd, "Rhaid yw i'r neb sydd yn dyfod at Dduw gredu ei fod Ef, a'i fod yn obrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio Ef."

D. W. THOMAS.

---

## TEMLAU.

*Efelychiad.*

NA soniwch am heirdd demlau'r llawr,
  A'u holl ogoniant syn;
Mae teml lawer uwch yn bod,
  Na wnawd gan ddwylaw dyn:
O fewn ei eang furiau clyd
Addola holl drigolion byd.

Ei lampau dysglaer ydyw'r haul
  A ser y nefoedd fry,
Ei muriau yw'r ffurfafen faith,
  A'i llawr y ddaiar gu;

Yn ei chynteddau heb un coll
Yno'r addola Anian oll.

Mae'r Aran gerth a'r Wydda fawr
  Ar hwyr a gwawr y dydd
Yn edrych fel allorau tân,
  A'u gruddiau'n wridog sydd;
Anfonant eu haberthau'n llon
Fry o glaer furiau'r deml hon.

Mae'r môr aflonydd yn ei gryd,
  A'i chwyddawg dônau mawr,
Fel pe bai'n tynu'i liniau 'nghyd
  Ar gragen daiar lawr;
Murmura fawl yn brudd ei fron
Ar lawr cynteddau'r deml hon.

Mae'r adar mwyn ar frig y berth
  Yn arllwys moliant byw,
A'r aber wyllt wrth ruthro'n chwyrn
  Dros greigiau—mud nid yw;
Holl anian mewn gwyleidd-dra llon
Addola o fewn muriau hon.

HENRI MYLLIN.

*Llansilin.*

---

## HANES TRIGOLION, DEFODAU, AC OFERGOELION EWROP CYN CRED.

*Cyfieithad Glanmor—"Germania" Tacitus.*

(*Parhâd o dudalen* 203.)

### XIX.—COSP, ANNIWEIRDEB, &c.

Y MAENT yn byw felly â'u gwylder dan wyliadwriaeth, heb eu llygru gan unrhyw ennyniadau gwleddoedd. Y meibion a'r merched yr un modd heb wybod cyfrinach llythyrenau. Ym mysg cenedl mor luosog, ychydig iawn o odinebiadau (a geir), am ba rai (y mae) cosp yn ebrwydd, ac yn ganiataol i'r gwŷr. Y gwr a'i try allan o'r ty wedi cneifio (ei) gwallt, yn noethlym yng ngŵydd y ceraint, ac a'i gyr â chwip[1] drwy yr holl bentref; canys nid oes maddeu i wylder argyhoeddus (sef i anniweirdeb) Ni ddaw o hyd i wr er na harddwch, nac oed, na chyfoeth; canys nid oes neb yno a chwardd am ben drygioni, ac ni elwir yn "arfer yr oes" lygru ac ymlygru. Gwell fyth y gwledydd ym mha rai ni phrioda ond gwyryfon, ac y gwneir hyny ar yr un pryd gyda gobaith ac adduned y wraig. Felly cânt un gwr yr un modd ag un corff, ac un bywyd, fel na bo un meddwl tu hwnt i hyn, na dymuniad pellach; na charont megys wŷr ond priodas. Penderfynu rhifedi plant, neu roi i farwolaeth neb o'u cyfathrach, a gyfrifir yn warth.[2] Arferion da a faliant fwy yno na chyfreithiau da mewn parthau ereill.

### XX.—DYGIAD I FYNY, CARWRIAETH, &c.

Ym mhob ty, yn noethion a budron, prifiant i'r aelodau yma, a'r cyrff hyn, a'n synant. Ei fam ei hun a fag bob un ar y bronau; nid ymddiriedir hwynt i forwynion a mammaethod. Nis gellwch ddynabod yr arglwydd a'r caethwas oddi wrth unrhyw foethau dygiad i fyny. Trigant ym mysg yr un praidd, ar yr un llawr, nes i oedran wahaniaethu y rhai o fonedd, i wroldeb beri cydnabyddiaeth o honynt. Mwynhâd cariad i wŷr ieuanc (ddaw) yn hwyr, ac felly (eu) gwryfdod ni ddiffygir, ac ni phrysurir y gwyryfon; (eu) hieuenctyd yr un (o ran parhâd), yr un taldra; priodir hwynt yn gyfartal a grymus, a'r plant a adgynnyrchant gryfder y rhieni. Yr un anrhydedd i feibion chwiorydd gydag ewythryd ag yn nhy eu tad. Rhai a gyfrifant y cyssyllt hwn o waed yn fwy cyssegredig ac ymrwymol, ac wrth dderbyn gwystlon gofynant ef yn hytrach, fel pe dalient y meddwl yn dynach, a'r tylwyth yn fwy cyffredin. Eto etifeddion ac olynwyr i bawb ei blant ei hun, a dim ewyllys. Os na fydd plant, y radd nesaf mewn hawl; brodyr, ewythryd o du'r tad, ac ewythryd o du'r fam. Mwyaf yn y

---

[1] Fflangell.

[2] Cyfeiriad at arferion a chyfreithiau rhai tylwythau paganaidd a chreulawn a roddent gynnifer o'u plant a'u perthynasau nas gallent eu cynnal, i farwolaeth, neu yn ebyrth llosg i Moloch, y duw tân. Diolched y byd am Ffydd Crist. Megys y dywed yr Ysgrythyr, "Aberthasant eu meibion a'u merched i gythreuliaid, &c."

byd o geraint, po fwyaf rhifedi cyfathrach, mwyaf cysur henaint; ac nid oes wobr i'r diblant.

XXI.—CYMMODIADAU, LLETTEUGARWCH, &c.

Rhaid cymmeryd i fyny yn gystal elyniaethau a chyfeillachau, pa un bynag ai tad ai car; ac ni pharhânt yn anghymmodol, o blegid gwneir iawn hyd yn oed am ddynladdiad â chynnifer penodol o wartheg a defaid, a'r holl dylwyth a dderbyn foddlonrwydd gyda mantais i'r wlad, canys y mae gelyniaeth yn fwy peryglus lle bo rhyddid. Nid ymry un genedl arall mor hael i loddest a chrosawiaeth. Cyfrifir yn fawrddrwg gau un dyn byw allan o dy. Pawb a'i croesawa yn ol ei foddion gydag arlwyon parod. Pan ballont, y neb a fu yn ddiweddar groesawydd, arlywydd y lletteugarwch, a'r cydymaith, a ant i'r ty nesaf heb eu gwahodd, ac nid yw o bwys; derbynir hwynt gyda'r un caredigrwydd. Nid oes neb yn gwneyd gwahaniaeth rhwng cydnabyddiaeth a dyn dyeithr, mor bell ag y cerdd deddf lletteugarwch. Arfer yw caniatäu i'r neb fo'n ymadael beth bynag a ofyno, a'r un rhyddid (iddynt hwythau) i ofyn cyffelyb yn ol. Ymhyfrydant mewn anrhegion, ond ni wnânt gyfrif o'r hyn a roddwyd, ac nid oes rhwymedigaeth arnynt wedi eu derbyn.

XXII.—BYWOLIAETH, GWLEDDOEDD, &c.

Bywoliaeth dirodres (sydd) ym mhlith gwestwyr. Yn ebrwydd wedi (codi o'u) cwsg, yr hyn a estynant gan amlaf hyd ddydd, ymolchant fynychaf mewn dwfr cynhes, fel pobl ym mysg pa rai y cymmer gauaf i fyny y rhan fwyaf (o'r flwyddyn). Wedi ymolchi cymmerant fwyd, eisteddle gwahanol i bawb, ac i bob un ei fwrdd ei hun. Yna ant at orchwyl, nid yn anamlach i wledda yn arfog. Nid gwarth i neb aros ddiwrnod a noswaith yn yfed.[1] Cwerylon mynych, fel ym mysg cyfeddwyr, ânt drosodd yn anaml ar dafod drwg, yn amlach drwy waed a chleisiau. Eto fyth am gymmodi gelynion eilwaith, cylymu cyngrheiriau, ac ennill drosodd dywysogion, ac hyd yn oed am heddwch a rhyfel, ymgynghorant gan amlaf mewn gwleddoedd, fel pe na bai y galon un amser yn fwy agored i feddylion syml, neu frwd at bethau mawr. Y genedl, heb fod yn gyfrwys nac ystrywgar, a egyr hyd yn oed gyfrinachau y fynwes yn rhaff cellwair. Gan hyny, meddwl pawb, wedi ei dynu allan a'i ddynoethi, a ailystyrir dranoeth, a chedwir cyfrif o'r naill amser i'r llall. Ymgynghorant pan na wyddant (pa fodd) i dwyllo, penderfynant pryd nad allant gamgymmeryd.

XXIII.—DIODYDD.

Yn ddiod (ceir) trwyth haidd neu (ryw) yd wedi gweithio yn ddarndebyg i win. Y rhai nesaf i'r afon a brynant win. Y bwydydd yn syml —afalau gwylltion, pryf gwyllt, ffres a chawslaeth. Gyrant newyn ymaith heb barotoad, heb danteithion. Nid cyffelyb (eu) cymmedroldeb rhag syched. Os porthwch eu meddwdod drwy ollwng cymmaint ag a ddymunant, gorchfygir hwynt cyn hawsed gan eu chwant o chan arfau.

XXIV.—CAMPAU A CHWAREUYDDIAETHAU, &c.

Dull eu hedrychfëydd[2] (sydd) gyffelyb a'r un fath ym mhob ymgynnulliad. Llanciau yn noethlymun, i ba rai y perthyn y difyrwch hwn, a daflant eu hunain ar gyrchnaid i ganol cleddyfau a phicellau bygythiol. Ymarfer â bair fedr, a medr gamp; nid er elw na thal, er mai gwobr gwrhydri rhyfygus yw boddhâd edrychwyr. Arferant chwareu disiau (yr hyn a'ch rhyfeddai) yn sobr, ac

[1] Cydio nos at ddydd, &c., yn ol y gwreiddiol.

[2] Arddangosfëydd.

ym mysg pethau difrif, gyda'r fath anystyriaeth yng nghylch ennill neu golli, fel pan dderfydd pob peth, fel pen eithaf a thafliad olaf, chwareuant am rhyddid, ac am eu cyrff. Y gorchfygedig â yn wirfoddol i gaethiwed, er yn iau, er yn gryfach, cymmer ei rwymo a'i werthu. Y fath yw cyndynrwydd mewn peth drwg, yr hyn a alwant hwy yn ffyddlondeb. Trosglwyddant gaethion o'r fath yma mewn marchnadaeth, fel y gallant hefyd adbrynu eu hunain o warth gorchfygiad.

### XXV.—CAETHION, &c.

Defnyddiant y caethweision ereill, nid yn ol ein harfer ni, mewn swyddau gosodedig yn y teulu. Pob un a reola ei breswylfod ei hun, a'i dduwiau teuluaidd. Y meistr a esyd arno hyn a hyn o yd, neu wartheg, neu ddilladau, fel tyddynwr, a'r caethwas cyn belled a hyn a ufuddhâ. Y wraig a'r plant a gyflawnant orchwylion ereill y ty. Fflangellu caethwas a'i orfodi â rhwymau (sydd) yn beth anaml. Arferant ladd, nid â dysgyblaeth a gorlymder, ond mewn gwylltineb a dicter fel gelyn, oddi eithr fod hyny yn ddigosp. Rhyddedigion[1] nid ydynt fawr uwch law caethion; yn anaml (y maent) o un pwys yn y ty, nid byth yn y wladwriaeth, oddi gerth cenedloedd dan freniuoedd, canys yno codant hefyd uwch law bonedd, ac uwch law pendefigion. Ym mhlith ereill rhyddedigion[2] (trwy fod yn) anghydradd, ynt brawf o'u rhyddhâd.[3]

### XXVI.—DALIAD TIR A'I DRINIAETH.

Erlyn llog a'i estyn hyd usuriaeth[4] (sydd) yn adnabyddus, a chan hyny fe'i gochelir[5] yn fwy na phe'i gwaherddid. Y meusydd, yn ol rhifedi eu trinwyr, a ddelir gan bawb yn eu tro. Y rhai hyn wed'yn a'u rhanant rhyngddynt, yn ol (eu) penafiaeth.[6] Eangder y gwastadeddau a wna yn hawdd eu rhanu. Newidiant y meusydd yd pob blwyddyn, a'r tir (sydd) yn fwy na digon. Ac nid ydynt ychwaith yn cydymdrech drwy lafur, a ffrwythlondeb, a digonedd ddaiar,[7] fel y planent berllenydd, ac y gwahanent weirgloddiau, ac y dyfrhaent erddi. Cnwd o yd yn unig a ofynir o'r tir; felly ni ranant y flwyddyn ei hun chwaith yn gynnifer o dymmorau: gauaf, gwanwyn, a haf, a feddant ystyr ac enwau, Enw yn gystal a bendithion tymmor elfed[8] (y cynhauaf) ni wyddant.

### XXVII.—CLADDEDIGAETH, LLOSGI'R MEIRW, &c.

Dim balchder angladdau;[9] hyn yn unig a ofelir, fod i gyrff gwŷr enwog gael eu llosgi gyda math pendant o goed. Pentyrant danllwyth y fygedorth[10] heb na gwisgoedd na pheraroglau. I bob un rhoir ei arfau ei hun, a march weithiau a ychwanegir i'r tân. Y dywarchen a gyfyd feddrod.[11] Diystyrant anrhydedd, cofadeiliau uchel, a mawrwaith, megys baich i'r marw. Rhoddant heibio alarnadau a dagrau yn fuan, gofid thristyd ym mhen hir. I wragedd peth hardd yw wylo, i wŷr wneyd coffa.

### XXVIII.—ADOLYGIAD CYFFREDINOL.

Derbyniasom hyn yn gyffredin am ddechreuad ac arferion yr holl Ellmyn; yn awr dangosaf sefydliadau

---

[1] Rhai wedi cael eu rhyddhau.

[2] Gwŷr wedi bod unwaith yn gaethweision, ond wedi cael eu rhyddhau.

[3] Hyny yw, y mae eu hanghydraddoldeb yn brawf mai caethweision oeddynt cyn eu rhyddfreiniad.

[4] Hyd occraeth.

[5] Fe delir sylw manylach i hyn, &c.

[6] Eu gradd gymdeithasol.

[7] Ni wrteithiant i gynnyddu ffrwythlonder a braster y tir.

[8] *Autumn*. Am wanwyn, haf, a gauaf, y sonia'r Cymry yn gyffredin.

[9] Nis dangosir rhyw lawer o rhwysg.

[10] *Funeral pile*, coelcerth y marw. 2 Cron. xvi. 14. Defod addolwyr Moloch.

[11] *Tumulus*, tomau, fel y gelwir yng Nghymru hyd heddyw, megys Tomen y Bala, Rhos y Tomau, yn Hiraethog, &c.

neillduol pob llwyth a'u defodau, pa mor bell y gwahaniaethant; pa lwythau a ymfudasant o'r Almaen i blith y Galiaid. Yr anfarwol Julius,[1] yr uchaf o awduron, a draddoda i ni mai gallu y Galiaid oedd gryfaf unwaith, ac felly peth credadwy hefyd yw i'r Galiaid groesi i'r Almaen; canys pa leied y rhwystrai'r afon hwynt, fel tra y cryfhai pob llwyth na chymmerai ac y cyfnewidiai seddau cyffredin ac hyd eto[2] heb eu gwahanu gan allu teyrnasoedd. Gan hyny, y wlad rhwng y goedwig Hercynaidd a'r afonydd, y Rhine a'r Maine, yr Helvetiaid a'i meddiannant; y Biriaid tu hwnt; y naill a'r llall yn genedl Alaidd. Enw y Boremiaid (Bohemiaid) a bery hyd heddyw, ac a ddengys hen goffadwriaeth y fangre, er ei bod wedi newid triniaethwyr. Ond pa un a ddarfu i'r Aravisciaid ymfudo i Bannonia oddi wrth yr Osiaid, llwyth o'r Germaniaid, neu'r Osiaid oddi wrth yr Aravisciaid i'r Almaen sydd ansicr, tra yr arferant hyd heddyw yr un iaith, deddfau, a defodau. Canys gynt, mewn cyfartal dylodi a rhyddid, elwau a drygau y naill lan a'r llall, yr oeddynt un. Y mae y Treveriaid a'r Nerviaid yn dra balch eu honiad o ddechreuad Germanaidd, fel pe drwy'r ymffrost hwn o waedoliaeth y gwahenid hwynt oddi wrth debygolrwydd i'r Galiaid a'u marweiddrwydd. Diammheu mai llwythau o'r Ellmyn yw y Vaguniaid, y Triboniaid, a'r Nemetiaid, a breswyliant geulan y Rhine. Hyd yn oed yr Ubiaid, er iddynt haeddu bod yn drefedigaeth Rhufeinaidd, a'r rhai o'u dewisiad eu hunain a elwir yn Agrippiniaid, oddi wrth enw eu sylfaenwr, ni wridant o herwydd eu dechreuad—wedi croesi yr afon gynt, a chael eu cyfleu mewn ffordd o brawf ar lan y Rhine ei hun, fel y gwarchodent, nid fel y gwylid hwynt.

[1] Y dwyfol Julius, un o enwau cabledd Rhufain.

[2] Bröydd a perchenogid hyd yn hyn gan y naill fel y llall yn ddiwahaniaeth.



XXIX.—Y BATAVIAID A'R MATTICORIAID.

O'r holl lwythau hyn y penaf mewn dewrder yw'r Bataviaid—nid llawer oddi wrth y lan, ond preswyliant ynys o'r afon Rhine—rhyw lwyth o'r Cattiaid wedi croesi yn amser terfysg cartrefol i'r sefydleoedd hyny lle deuent yn rhan o'r ymherodraeth Rufeinaidd. Yr anrhydedd a erys ar ol hen gyngreiriaeth, canys ni ddiraddir hwynt am deyrngedau, ac ni wasga'r trethwr hwynt, gan fod yn rhydd oddi wrth feichiau a chyfraniadau, ac yn neillduedig yn unig at frwydrau; fel offerynau ac arfau, cedwir hwynt i rhyfel. Y mae llwyth y Matticoriaid yn yr un ufuddhâd, canys mawredd pobl Rhufain a estyn barch yr ymerodraeth tu hwnt i'r Rhine—tu hwnt i'r hen derfynau.[3] Felly, o ran sefydle a chyffiniau, trigant ar eu glan eu hunain, ond o ran meddwl a thueddfryd gyda ni; yn debyg mewn pethau ereill i'r Bataviaid, ond eu bod o ysbryd creulonach fyth, gan ddaiar ac awyr[4] eu tiriogaeth. Nis gallaf gyfrif ym mysg llwythau'r Ellmyn (er eu bod wedi ymsefydlu tu hwnt i'r Rhine a'r Danube) y rhai a drinant diroedd degwm.[5] Y mae pob un o'r Galiaid mwyaf ansefydlog a hyf mewn angen wedi cymmeryd tir o berchenogaeth ammhëus.[6] Yna, wedi i derfyn gael ei nodi, a gwersyllau gael eu gwthio ym mlaen, cyfrifer hwynt megys pobl mersdir[7] yr ymerodraeth, a rhan o'r dalaeth.

XXX.—CATTIAID COEDWIG HERCYNIA—EI MEDRUSDER MILWRAIDD A'U DYSGYBLAETH.

Tu hwnt i'r rhai'n y cymmer y

[3] Felly yr oedd iau Rhufain yn cyrhaedd ym mhellach na'i chleddyf. Cenedloedd lawer a ymostyngent heb eu goresgyn mewn rhyfel.

[4] O blegid natur erwin y tir a'r hinsawdd.

[5] Am y rhai y talent ddegwm i Rufain.

[6] Anniogel, lle gellir eu difeddiannu.

[7] Cyffin, goror, terfyn.

Cattiaid i fyny ddechreu eu sefydle oddi wrth y goedwig Hercyniaidd—lleoedd heb fod mor eang a chorsiog a'r gwladwriaethau ereill, i ba rai yr ymledda'r Almaen, gan fod bryniau yn wir yn parhau, ac yn raddol y darfyddant, a'r goedwig Hercyniaidd yn cydymestyn gyda'i Chattiaid, ac felly yn eu dodi i orwedd. Y mae i'r genedl gyrff . celyd, ac aelodau syrthion, gwynebpryd bygythiog, a mawr rymusder ysbryd; llawer o drefn a medr, fel ym mysg Germaniaid, i osod arnynt wŷr detholedig, i wrandaw ar y rhai a osodant arnynt, adnabod eu graddau. deall cyfleusterau, a rhoddi heibio ymosodiad; trefnu'r dydd ac amddiffyn y nos; cyfrif ffortun ym mhlith pethau ansicr, gwrolder yn y pethau dilys, a'r hyn sydd dra anghyffredin (ac na chaniatëir ond o achos dysgyblaeth), rhoi mwy o hyder yn y tywysog nag yn y llu; yr holl nerth sydd yn y gwŷr traed, pa rai, heb law eu harfau, a lwythant â chelfi haiarn ac ymborth. Gellwch weled ereill yn myned i frwydr, y Cattiaid i rhyfel; ymgyrchiadau anfynych, ac ymladd achlysurol. Hyn yn wir yw priodolder marchyddion, peri buddugoliaeth sydyn, ac encilio'n sydyn. Agos yw esgudrwydd i ddychryn; nes yw arafwch i ddiysgogrwydd.

XXXI.—GWISGO GWALTT LLAES.

A pheth arferedig ym mysg llywthau ereill o'r Germaniaid drwy hyfder (dewisiad) unigol a phersonol pob un, a droes ym mysg y Cattiaid yn gydsyniad, fel pan gyntaf y tyfant i fyny, iddynt adael eu gwallt a'u barf i dyfu, ac heb newid (hyd oni laddont elyn) diwyg y gwynebpryd dan adduned a rhwymedig i wroledd. Uwch ben gwaed ac ysbail y dynoethant dalcen, ac ymffrostiant eu bod yna o'r diwedd wedi dwyn gwerth eu geni, ac yn deilwng o'u gwlad a'u rhieni. Aflerwch a erys i'r annewrion ac anrhyfelwyr. Pob gwr cryf hefyd a garia yn rhagor fodrwy haiarn (yr hyn sydd warth i'r genedl) fel eurwy, hyd oni rhyddhao ei hun drwy ladd gelyn. Yr ymddangosiad hwn a foddia llawer o'r Cattiaid a phenwynant yn cael eu rhagoriaethu a'u hynodi ar unwaith i elynion a chyfeillion; cychwyniad pob ymladdau sy'n eu dwylaw; dyma yn wastad y gadres flaenaf newydd i'r golwg. Ac hyd yn oed mewn heddwch nid ymddofant i wynebpryd llareiddiach. Heb i neb o honynt dy, na maes, na gofal arall, at bwy bynag y deuant porthir hwynt; yn afradlawn ar eiddo ereill, yn ddiystr o'r eiddynt eu hunain, hyd nes i henaint llwyd eu hanaddasu i'r fath wrolder caled.

XXXII.—YR USIPIAID A'R TENCTERIAID.

Yn nesaf i'r Cattiaid, y mae yr Usipiaid a'r Tencteriaid yn trigo ar y Rhine, yr hon sydd yn awr mewn gwely pendant, a digonol i fod yn derfyn. Y Tencteriaid uwch bri arferol rhyfel, a ragorant ym medr ymarferiadau marchyddiaeth; ac nid mwy clod y gwŷr traed ym mysg y Cattiaid, na bri y gwŷr meirch ym mysg y Tencteriaid. Y tadau a drefnasant felly, yr hiliogaeth a'u dilyn. Dyma ddifyrwch y plant, dyma ymdrech yr ieuenctyd, yr hen ni pheidiant. Trosglwyddir meirch yn y teulu, a'r duwiau teuluaidd, a hawl olyniaeth etifeddol, y mab a'u derbyn, nid fel pethau ereill, megys cyntafanedig, ond megys yn fwy milain a gwell mewn rhyfel.

XXXIII. — DIFRODIAD Y BRUCTERIAID, Y CAMAVIAID, A'R ANGRIVARIAID.

Ar ol y Tencteriaid y dygwyddai y Bructeriaid gynt, yn awr dywedir bod y Camaviaid a'r Angrivariaid wedi ymfudo yno, wedi ymlid y Bructeriaid ymaith a'u diddymu agos drwy gydsyniad y llwythau cymmydogaethol. Nis gwn pa un ai o gasineb at eu balchder, neu flas ar ysbail, neu ryw ffafr o eiddo'r duwiau tuag atom ni, canys nis gommeddent i ni yn wir olwg ar y frwydr. Uwch

law trigain mil a gwympasant, nid gan arfau Rhnfeinaidd ac offerynau, ond yr hyn sydd fwy mawreddus, er ein boddhâd, ac yng ngwydd ein llygaid. Arosed, meddaf, a pharhaed ym mysg y cenedloedd os nid cariad tuag atom ni, yn ddilys gasineb at eu gilydd, pan a thynged yr ymherodraeth ar bwys eithaf, na's gall ffortun ganiatäu i ni ddim mwy nag anghydfod ein gelynion.

### XXXIV.—Y DULBIGINIAID, A'R CASAURIAID,

A llwythau ereill, nid o gyffelyb goffa, a amgeuant yr Angrivariaid a'r Camaviaid o'r tu cefn, y Ffrisciaid yn nesaf o'r tu blaen. Y mae yr enw *Mwyaf* a *Lleiaf* i'r Ffrisciaid, yn ol eu dewredd; y ddau lwyth hyn hyd y môr a gyffinir gan y Rhine; ac amgylchant hefyd lynau mawrion a mordwyedig gan longau Rhufeinaidd. Heb law hyn, anturiasom yr eigion yno, a chwedl a ddywed fod colofnau Hercules eto yn sefyll; ond nis gwn pa un a fu i Hercules ymweled â'r fan, ai a gyttunasom ni i briodoli i'w enwogrwydd bob peth sydd fawreddus ym mhobman. Nid oedd Drusus Germanicus yn fyr o antur, ond yr eigion a rwystrai ar yr un pryd yr ymofyniad yng nghylch *y mor* ei hun a Hercules. Wed'yn ni anturiodd neb, ac ymddangosai yn beth mwy sanctaidd a pharchedig gredu gweithredoedd y duwiau na'u profi.

### XXXV.—Y CAUCIAID—EU HUNIONDER A'U DOETHINEB.

Hyd yma gwnaethom darganfyddiadau yn yr Almaen Orllewinol. Y mae yn dychwel tua'r gogledd ar lettro dirfawr. Ac yn flaenaf oll y mae cenedl y Cauciaid, er eu bod yn cychwyn oddi wrth y Ffrisiaid, yn cymmeryd i fyny ran o lan y môr, yn ymestyn ar hyd gyffiniau yr holl genedloedd a ddysgrifais hyd nes try gan belled a'r Cattiaid. Y mae y Cauciaid nid yn unig yn perchenogi, ond yn llenwi eangder tra mawr o diroedd, y bobl ardderchocaf ym mysg y Germaniaid, a'r rhai a fynai gynnal eu mawredd trwy gyfiawnder, heb drachwant, heb wander, yn dawel a neillduedig; nid ennynant ddim rhyfeloedd, nid anrheithir hwynt gan reibiadau na lladradau, ac y mae hyn yn brawf arbenig o'u dewredd a'u nerth, na cheisiant drwy dreisiadau fyw yn uchaf. Er hyny y mae arfau parod ganddynt oll, a byddinoedd, nifer mawr o wŷr a meirch, a'r un glod iddynt pan yn llonydd.

### XXXVI.—DIRYWIAD Y CERUSCIAID.

Ar ystlys y Cauciaid a'r Cattiaid y mae y Cerusciaid, heb eu molestu, wedi meithrin heddwch yn ormod a rhy hir, yn ymddihoeni. A hyny fu yn fwy hyfryd na diogel, o blegid llonyddwch gan a fwynhëir rhwng y gwan a'r cryf. lle gwneir pethau â nerth llaw, cymmodrolder a daioni yw enwau y trechaf. Fel hyn y rhai a elwid yn Gerusciaid daionus ac uniawn a elwir yn ddiogwyr a ffyliaid. I'r Cattiaid buddugoliaethus troes eu llwyddiant i ddoethineb. A'r Ffosiaid, cenedl gyffiniol, a dynwyd i lawr gan gwŷmp y Cerusciaid, eu cymdeithion ar yr un tir mewn aflwydd, er eu bod yn yr israddyn eu llwyddiant.

### XXXVII.—GWRONDER, BRI, AC HYNAFIAETH Y CIMBRI.

*Y Cimbri (y Cymry).* Y Cimbri yn nesaf i'r môr a berchenogant yr un gesail o'r Almaen, gwladwriaeth fechan yn awr ond mawr iawn ei bri, ac olion eu hen enwogrwydd yn parhau ar led caerau ar bob glan a gwersyllfäu, oddi wrth ba rai hyd heddyw gellwch fesur swrn a chadau y genedl, a'r gred am y fath fyddin fawr. Yr oedd ein dinas yn cyflawnu ei deugeinfed flwydd a chwe chant pan glybuwyd arfau y Cimbri gyntaf oll, pryd yr oedd Cæcilius Metellus a Phapirius Carbo yn benllywiawdwyr (yn Gonsuliaid). O hyny, os cyfrifwn hyd ail gonsuliaeth yr Ymherawdwr

Trajan ceir yng nghylch dau cant a deng mlynedd a ceir allan, a hyny y buwyd yn goresgyn yr Almaen. Yn ystod cyhyd o amser bu colledion mawrion o bobtu. Ni bu i'r Samniaid, na'r Carthaginiaid, na'r Galiaid, na'r Parthiaid, yn wir ein haddysgu yn amlach; yn ddiau mae rhyddid yr Ellmyn yn erwinach na theryuas Arsaces; canys pa orchest ond lladdiad Crassus a ddichon y Dwyrain orchfygedig dan Ventidius fwrw atom a hithau wedi colli Pocorus Ond yr Ellmyn wedi i Carbo, a Chrassus, a Scaurus Aurelius, a Servilius Cæpio, a Cneius Manlius hefyd, gael eu hymlid neu eu dal, dygasant ymaith ar unwaith bum byddin benllywyddol Gonsuliaidd oddi ar bobl Rhufain, Varus a thair lleng gydag ef hefyd oddi ar Caesar; nid chwaith yn ddigerydd y bu i Caius Marius yn yr Eidal, yr anfarwol Julius yn Gaul, Drusus, a *Nero,* a Germanicus, eu curo yn eu cartrefi eu hunain, Toc y trowyd bygythion mawrion Caius Caesar yn wawd. Wed'yn, bu gorphwysdra, hyd nes ar egwyl ein hymrafaelion a rhyfeloedd gwladol dinystriasant wersylloedd gauaf y llengau, ac y gwnaethant gais ar y Galiaid hefyd, a thrachefn wedi eu curo yn ol oddi yno, mewn amserau mwy diweddar gorfoleddwyd arnynt yn hytrach na'u goresgyn.

(*I'w barhau.*)

## Y SEINTIAU CYMREIG.

### GWYNLLIW SANT.

Yr oedd Gwynlliw Filwr yn fab i Glwys ab Tegid, ac yn dywysog Gwynllwg, yn awr sir Fynwy. Ei wraig oedd Gwladys, wyres i Brychan, tywysog Brycheiniog, yr hwn oedd dad i deulu lluosog, y rhai ddarfu roddi i fyny eu meddiannau tymmorol er arwain bywyd crefyddol. Rhoddodd y llywodraeth i'w fab Catwg ym mhen amser, ac adeiladodd Eglwys a elwir yn awr Sant Woolos, Casnewydd, lle yr ymneillduodd i weddïo ac ymprydio. Yr oedd yn byw tua diwedd y chweched ganrif. Ar ol marwolaeth ei dad ceisiodd pob un o'i frodyr lywodraethu; er eu heddychu rhanodd y deyrnas yn saith ran, un i bob brawd; ac yr oedd Gwynlliw yn ben-rheolwr; yr oedd ei frodyr a'r trigolion yn ufudd i'r gyfraith. Os buasai i un wneyd cam â neb yr oedd yn sicr o oddef cosp; os yn euog o lwgrwobrwyo yr oedd i golli ei dreftadaeth. Yr oedd ef yn frenin heddychol; nid oedd ymrafaelio yn ei amser ef. Yr oedd yn wastad yn fuddugoliaethus.

Fel yr oedd ef a'i wraig yn cysgu yn eu hystafell, anerchwyd hwynt gan lais angylaidd,—"Mae y Brenin Nefol a llywodraethwr pob peth daiarol, yr hwn a'm hanfonodd i'ch troi chwi oddi wrth bethau bydol at bethau nefol; y mae Ef yn eich gwahodd fel y gwahodd tad ei fab; y mae Ef wedi eich dewis a'ch prynu ar y Groes. Yr wyf yn gorchymmyn i chwi adael pethau bydol." Dywedodd yr angel wrtho, "Ger llaw glan afon y mae mynydd, lle gwelir eidion gwyn yn pori ac un ysmotyn du yn ei dalcen. Y mae y tir wyt i feddiannu heb gael ei ddiwyllio, bydd iddo gael ei ddiwyllio gan ychain." Adgofiodd ei freuddwyd yn y boreu, ac adroddodd y cwbl wrth ei weision, y rhai a gythryblwyd yn fawr. Rhoddodd ei balas a'i lywodraeth i'w fab Catwg, a theithiodd oddi yno nes cyrhaeddodd y mynydd a ragddywedwyd gan yr angel; daeth eidion gwyn ag ysmotyn du yn ei dalcen i'w gyfarfod, a llawenychodd yn fawr. O ben y bryn hwn yr oedd i'w weled arfordiroedd, meusydd ffrwythlawn, coedydd, ym mhell ac yn agos; nid oedd un olygfa mor dlos. Dywedir mai y bryn hwn yw Stowe Hill, ar ba un y saif Eglwys Sant Woolos; y mae yr olygfa yma yn un ardderchog. Trwy ddwyfol orchymmyn a rhodd Dyfrig, Esgob Llandaf, cyfanneddodd yma, ac adeiladodd dy iddo ei hun, a nododd allan dir i gladdu; yn y canol

adeiladodd Eglwys o goed a gwiail, i'r hon yr elai yn aml i weddïo.

*Penydiau Gwynlliw a Gwladys.* Yr oedd ei wraig Gwladys yn wraig ragorol a diwair: penderfynodd fyw nid yn neppell oddi wrth anneddle sanctaidd Sant Gwynlliw. Aeth hithau hyd lan yr afon Ebod (?) Ebbwy, lle yr ymsefydlodd; a chododd adeiladau i wasanaeth Duw a dyn. Arweiniodd y ddau fywyd crefyddol aco ymprydiau. Penydient, gwisgent grysau o rawn; bwyta bara haidd, dwfr a lludw wedi eu cymmysgu, &c. Aeth y ddau yn welw fel pe buasent yn glaf; ond nid oeddynt yn glaf: yr oeddynt yn arfer ymdrochi haf a gauaf yn y dwfr oeraf; yr oeddynt yn arfer codi ganol nos i ymdrochi, ac wedi hyny myned i'r Eglwys, lle gweddïent hyd y boreu.

Y mae yn anhawdd cael allan y fan y safai Eglwys Gwladys; dywedir iddi adeiladu Eglwys Pencwm, tua thair milltir o Sant Woolos, tua milltir a hanner o'r afon Ebbwy. Y mae hyn yn anghywir; yr Eglwys agosaf i Sant Woolos yw Maesaleg, tua dwy filltir o Sant Woolos; dichon iddi sefydlu dwy Eglwys.

Yr oedd Gwynlliw un diwrnod ar y mynydd; achwynodd ei bod yn sych; nid oedd yno ddim un ffynnon. Pan oedd ef yn eistedd ar y maes, ac yn sychedig, torodd dwll yn y ddaiar â blaen ei ffon, a tharddodd ffynnon loew yn y fan, a gelwir hi hyd y dydd hwn Ffynnon Gwynlliw. Pan ddechreuodd y Sant glafychu, a theimlo fod ei ddiwedd yn agosäu, anfonodd am ei fab Catwg, a Dyfrig, Archesgob Llandaf. Aethant ato, a rhoddasant ollyngdod iddo gan ei gysuro a'i gynghori mewn athrawiaeth iachus. Gwnawd hyn yn barchus, ac ymadawodd enaid Gwynlliw â'i gorff ar y pedwerydd dydd o Ebrill. Claddwyd ef ym mhalmant yr Eglwys. Yr oedd angylion, medd y mynachod, yn ymweled yn aml â'i fedd, ac yr oedd y cleifion yn cael eu gwella yn wyrthiol wrth ei fedd.

Pan yrwyd Gruffydd, brenin Gogledd Cymru, allan o holl gyffiniau Prydain, hwyliodd i Ynysoedd yr Arcades, a pherswadiodd yr Ynyswyr i ymuno, ac i fôr-ysbeilio. Hwyliodd gyda phump ar hugain o longau i Fôr yr Iwerddon. Ar ol mordaith beryglus aethant i fyny i Gulfor Hafren; angorasant yn yr afon Wysg. Wedi sicrhau eu llongau, tiriasant gan gario bwyell a gwaewffyn. Aeth am draws y caeau a'r coedydd, a chasglwyd ysbail fawr; cymmerwyd llawer o'r trigolion i'r llynges gan eu dwylaw annuwiol. Gwelodd y môrladron fod drws Eglwys Gwynlliw yng nghlo; meddyliasant fod yno drysorau gwerthfawr yng nghadw, torwyd y clo, a chymmerwyd oddi yno bob peth gwerthfawr. Aethant yn ol i'w llongau yn llwythog o drysorau. Ar ol codi yr angorau, hwyliasant i lawr i Ynys Barri. Ni chawsant yno ddim un dedwyddwch. Pan gychwynasant yn ol i Orcade a'r Iwerddon, gwelsant ddyn arswydus ar farch yn eu canlyn ddydd a nos. Y marchogwr oedd y sanctaidd Gwynlliw. Codasant eu hwyliau, ond nis gallent fyned ym mlaen yn erbyn y gwynt; rhedodd y llongau ar y creigiau, ac ni ddiangodd dim ond dwy allan o'r ystorm. Cawsant hwy eu hachub o herwydd mai Gruffydd oedd eu perchenog; ni chymmerodd ef ddim un rhan yn yr ysbail Yn fuan ar ol hyn ymheddychodd â William, brenin Lloegr.

Pan oedd y gwron Gruffydd yn frenin Cymru, ac Iorwerth yn frenin Lloegr, yr oedd marsiandwyr yn dyfod o Loegr, ac yn masnachu yn y porthladd yng ngeneu yr afon Wysg. Ar ol cyfnewid nwyddau yr oeddynt yn talu toll, ond os na fuasai iddynt wneyd hyn ni oddefid iddynt ddyfod yn ol llaw. Un tro gwrthodasant dalu; pan glywyd hyn aeth Rigrit, ŵyr Gruffydd, yno mewn nwydau drwg, ond gwrthodasant dalu; torodd y rhaff a chariodd yr angor i Eglwys Gwynlliw. Ar ol i'r morwyr fyned

adref, achwynasant wrth y marsiandwyr, a chlywodd yr Iarll Harold am yr anfri, a phenderfynodd ymddïal. Casglodd fyddin, a rhuthrodd ar Forganwg; bygythiodd losgi a difa y cwbl. Pan glywodd y bobl hyn dygasant eu meddiannau i noddfëydd y saint, a diangasant i'r coed. Ar ol hyn daeth y fyddin gan losgi a difa pob peth heb arbed neb. Torasant glo Eglwys Sant Gwynlliw, yr hon oedd yn llawn o ddillad, bwyd, a phethau gwerthfawr ereill; ysbeiliodd y bleiddiaid rheibus bob peth, ond ni ddarfu iddynt ganfod yr angor. Rhanodd yr ysbeilwyr y caws rhyngddynt, a phan dorwyd hwynt yr oeddynt yr un lliw a gwaed o'r tu fewn; synodd yr holl fyddin, ac adferwyd y cwbl. Tystiodd Harold na wnai ef halogi y cyssegr byth mwy. Lladdwyd ef y mis canlynol ym mrwydr Hastings. Yr oedd Ednowein, Gogledd Cymru, yn gyfaill i Caradog, brenin Morganwg; trwy annogaeth y diafol un noswaith, torodd glo Eglwys Sant Gwynlliw. Ysbeiliodd y cwpan a gwisgoedd yr offeiriaid. Aeth yn ei ol, ac ar ei ffordd gwelodd y môr yn rhedeg tuag ato yn uwch na'i ben; ciliodd yn ol heb feddwl i drothwy yr Eglwys. Aeth i mewn, a gwisgodd ei hun o flaen yr allor, a rhwymodd y cortynau ef mor dyn a chylchau haiarn. Yn y boreu cafwyd ef yno gan yr offeiriad, yr hwn a alwodd ei frodyr. Dygwyd ef o flaen llys Caradog. Dyfarnodd rhai ef i gael tori ei ddwylaw ymaith, ond ni oddefai Herwald, Esgob Llandaf, iddynt wneyd hyn. Y farn arno am gyssegr-ysbeiliad oedd, iddo gael ei amddifadu o'i synwyrau, a rhyddhawyd ef, a bu farw yn wallgof am halogi yr Eglwys.

Nid oes neb yn ei gyflawn bwyll yn awr a gred yr holl chwedlau hyn. Er fod y fath chwedlau yn cael eu derbyn fel gwirioneddau, ac mewn bri mawr ym mysg ein hynafiaid, eto nid ydynt ddim amgen na dyfeisiadau mynachod y canoloesoedd.

SUL Y DRINDOD.

Dri yn Un, ac Un yn Dri,
Llywydd tir a môr wyt Ti;
Gwrando pan ddyrchafom ni
  Sanctaidd gân a salm.

Lewyrch pur o Lewyrch mawr,
Cyfod arnom gyda'r wawr;
Ac anadled nef i lawr
  Gariad megys balm.

Lewyrch pur o Lewyrch bydd
Yn goreuo hwyr y dydd,
Wedi'n cyfiawnhau drwy ffydd
  Tawel hunwn dalm.

Dri yn Un, ac Un yn Dri,
Tywyll yr addolwn Di,
Ond daw dydd pan gariwn ni
  Gyda'r saint y palm.

*Cyf.* GLANMOR.

---

GOLWG AR GWRS Y BYD.

Y PWNC DWYREINIOL.

Y MAE safnau cynddeiriog cŵn rhyfel wedi cael eu gollwng yn rhydd unwaith eto yn y Dwyrain. Y mae galluoedd mawrion Ewrop yn teimlo y dyddordeb dyfnaf am derfyniad yr ymdrechfa waedlyd sydd yn awr yn myned ym mlaen rhwng Twrci a'r Serfiaid. Mor bell yn ol a'r drydedd a'r bedwaredd ganrif ar bymtheg y mae yr elyniaeth rhwng [redacted] Cristionogol a Mahometiaid yr Ymherodraeth yn hanfod. Yr oedd caethiwed a gormes, crefydd a rhagfarn y pleidiau yn ddigon o attalfa i'r naill ymgymmodi â'r llall. Yr oeddynt yn casäu eu gilydd, ac yr oeddynt yn hollol groes i'w gilydd yn eu crefydd a'u harferion; nid oedd un cyfryngwr rhyngddynt, dim ond y cledd. Meddwodd y llengoedd hanner barbaraidd hyn ar falchder milwrol; yr oeddynt yn ystyried sylfaenydd y grefydd newydd oeddynt wedi gofleido, yr hon a berodd chwyldroad dros hanner Ewrop, cyfuwch a Moses ei hun. Yr oedd y Tyrciaid yn ymddibynu yn gyfangwbl ar eu gwrhydri i ddal i fyny eu huchafiaeth yn Ewrop ac Asia. Mae yn amlwg fod ymollyngiad Twrci yn anocheladwy, trwy ysgogiadau, y rhai ddarfu

ddadymchwelyd ymherodraethau a breniniaethau. Yr ŷm wedi cael esampl o hyn yn hanes yr Aipht, Persia, Assyria, Babylon, Groeg, Rhufain, ac ereill ar eu hol. Y mae y galluoedd mawrion sydd wedi cael eu ffurfio ar goncwest a gormes yn diraddio a llygru yn fuan, ac yn y diwedd yn syrthio yn ganddryll.

Y mae sefyllfa bresennol y deyrnas Ottomanaidd yn bictiwr byw o sefyllfa sigledig pobl ryfelgar, y rhai sydd wedi cael eu darostwng trwy gamreolaeth, gormes, a gwastraff eu llywiawdwyr gwancus gwaedlyd, y rhai oedd yn gwario arian ar eu *harems* a'u nifer gywilyddus o orderchadon. Gwnaeth y Sultan diweddaf ei oreu i ddadymchwelyd yr ymherodraeth, ac o'r diwedd gyrwyd ef o'i orsedd, a therfynodd ei fywyd gwaradwyddus trwy hunanladdiad. Nis gŵyr neb hyd yn hyn pa un a fydd i Brydain Fawr a galluoedd ereill gael eu sugno i'r ceubwll erchyll hwn. Ar ol i'r rhyfel ddechreu cynnyddodd teimladau anffafriol i Loegr ymyraeth o blaid Twrci yn erbyn y Cristionogion. Y cydgan yn awr yw, pa ham rhaid i ni bleidio y Mahometiaid yn erbyn y Cristionogion? Pa ham rhaid i ni bleidio un blaid i ddiraddio a darostwng y llall trwy ormes? Mae ysgrifenwyr y *Guardian* yn groes i gynnorthwyo y *dyn claf*, ac mae y *Noncomformist* am ddadgyssylltu Ymherodraeth Twrci, fel mae ef am wneyd ag Eglwys Lloegr. Dywed Mr. Freeman yn y *Pall Mall* mai Cristionogion drwg yw y Sclafoniaid, a bod pedair canrif o ormes wedi eu gwneyd felly. Dywed yr *Hour* mewn atebiad i Mr. Freeman y dylai ef wybod nad oedd Rhyfel y Crimea yn profi nad oeddym yn cydymdeimlo â'r Cristionogion, ond attal ymosodiadau Rhwssia. Y mae Rhwssia yn gystal a Lloegr yn penderfynu yn awr i adael i'r pleidiau fyned ym mlaen i dori gyddfau eu gilydd heb i'r galluoedd hyn ymyraeth â hwy. Caiff y Cristionogion fantais yn awr i daflu iau y Tyrciaid oddi ar eu gwarau, a gwneyd eu hunain yn rhyddion.

ANFOESOLDEB, ANFFYDDIAETH, &C.

Pan mae y Seculariaid yn ymdrechu alltudo crefydd a'r Beibl allan o'r ysgolion dyddiol, y mae anffyddiaeth ac anfoesoldeb o'r fath ffieiddiaf yn ffynu ac yn cynnyddu yn arswydus. Yng nghysgod ein temlau, ein Salem, a'n Soar, a'n Heglwysi Sefydledig, dadleuir fod y gweinidogion o bob enwad yn ddigon i gyfranu addysg grefyddol. Nid yw hyn ddim ond hudoliaeth, coeg esgus dros ddangos eu culdra at yr ysgolion enwadol. Y mae yn amlwg nad yw gweinidogion y capeli yn alluog i roddi addysg grefyddol i'r oes sydd yn codi; y mae y plant sydd dan y Byrddau Secularaidd, fel Bedwellty, yn tyfu i fyny yn inffideliaid parod; nid ydynt yn cael un mantais i gael addysg grefyddol; y mae mwyrif y Bwrdd yn gwahardd y Beibl a Gweddi yr Arglwydd yn eu hysgolion. Ni fuasem yn rhyfeddu clywed fod anffyddwyr yn gwneyd hyn, ond yr ŷm yn synu clywed am bregethwyr yn gwneyd hyn drostynt. Pa fodd y cymmerodd y cyfnewidiad hyn le? Beth ddysgwylir oddi wrth yr haiarn pan mae y rhwd yn ysu yr aur.

Bostir fod Merthyr Tydfil yn un o amddiffynfëydd cadarnaf Anghydffurfiaeth; y mae yn cael ei chynnrychioli gan Ymneilldüwr o'r Ymneillduwyr, gwr sydd yn barod ar bob achlysur i dynu ei fwa yn erbyn Eglwys Lloegr. Gallesid meddwl fod Merthyr erbyn heddyw yn fath o *fodel*, ond Merthyr yw Merthyr o hyd, fel y dywedodd Dai Capel Stŵr, pan ymwelodd ef â'r lle:—

"Merthyr Tydfil, lle anghynfil,
Lle mae trigil dynion drwg:
Rhai yn Seison, rhai yn Gymry,
*Colliers* duon tân a mwg."

Cyfrifwyd y bobl yno yn ddiweddar, a dywed y *Report*:—Nifer o ddynion sydd yn proffesu myned i le

o addoli. 12,418; nifer o hersonau heb fyned i un lle, 4,382; nifer ddim yn myned, ond yn ffafriol, 2,098. Yn ol y mynegiad nid oes dim ond hanner y boblogaeth yn myned i un lle i addoli; plant yn myned i'r Ysgol Sul, 3,916; plant dan bymtheg heb fyned i un Ysgol Sul, 1,205; nifer o deuluoedd heb Feibl na Thestament, 593. Siarad am anfon cenadon i wareiddio ac efengyleiddio paganiaid China; y mae angen am anfon cenadon i China Merthyr Gristionogol. Y mae llawer o ddynion duwiol yno, fel Lot yn Sodom, yn cael eu blino gan yr anwariaid. Cyfarfu y canfaswyr â dynion yn hollol anwybodus am grefydd. Y mae lluaws o deuluoedd Protestanaidd wedi ymuno â'r Pabyddion. Y mae Eglwys Rhufain yn llwyddo, ac mae llawer o blant y Protestaniaid yn myned i ysgol y Pabyddion, ac mae llawer o anffyddwyr proffesedig yno. Yr wyf yn barnu fod gan bob enwad ddigon o waith heb dreulio eu hamser i geisio dadgyssylltu a difodi yr Eglwys.

RHEOLWYR YSGOLION Y BYRDDAU.

Cyhuddir yr offeiriaid a rheolwyr yr ysgolion enwadol o fod yn gul a rhagfarnllyd, a cheisir perswadio y bobl nad yw addysg yn perthyn dim i un sect, ac na ddylai y Llywodraeth ffafrio un blaid yn fwy na'r llall. Cyhuddir Arglwydd Sandon o ffafrio ysgolion enwadol, a thrwy hyny attal ymeangiad teyrnas Crist yn y byd! ac ar yr un pryd y mae y dynion hyn mor enwadol a neb dan haul y nef. Os bydd gan un sect y pen goreu o'r ffon yn ei dwylaw, y maent yn sicr o ddangos eu grym; gosodant ddynion yr enwad mewn swyddi, megys ysgolfeistriaid, &c. Os bydd y mwyafrif yn Fedyddwyr, Bedyddiwr gaiff ei ddewis; y mae yr Independiaid a'r enwadau ereill yn gwneyd yr un peth. Yr oedd angen am ysgolfeistr yn ysgol Llwyn yr Odyn, Merthyr, yn ddiweddar. Yr oedd 32 o ymgeiswyr, ond detholwyd pedwar; yr oedd eu *qualification* yn ymddibynu ar ddylanwad sectol, a pha un a oedd yr ymgeiswyr yn smocio, yfed cwrw, ac yn hoff o *rustic sports*. Dewiswyd un o'r Independiaid, er fod ereill yn sefyll yn uwch nag ef. Yr oedd un dan y Bwrdd eisoes, ac yn athraw enwog, ond yr oedd ef yn Eglwyswr. Dygodd Mr. Waldo James y mater o flaen Bwrdd Ysgol Merthyr, a dygodd y Parch. M. Rees, un o reolwyr ysgol Twyn Carno, i'r amlwg. Nid oedd gan y Bedyddwyr, sect Mr. Rees, ddim digon o allu i wrthsefyll y lleill. Wele araith Mr. Rees:—

"Yr oedd yn ddrwg iawn genyf weled cymmaint o deimlad enwadol yn ffynu; blinodd hyn fi i'r byw. Pe buasai i Ebeneser, capel y Bedyddwyr, gario eu dyn, buasai iddynt ymosod arnynt. Yr wyf yn condemnio mor gryf ag mae yn bosibl y teimlad sectol mewn cyssylltiad â'r ymgeiswyr. Ar ol dewis eu dyn ni ddarfu i amryw o'r cyfeillion wneyd na dywedyd dim er dangos eu siomedigaeth a'u gorchfygiad. Gall y sawl a fyno wneyd y goreu o hono, ond y mae yn ddrwg iawn genyf fod cymmaint o bethau o'r fath yn myned ym mlaen yn rheolaeth yr ysgol hon. Nid oeddwn yno pan awd trwy destimonials y 32. Mae Mr. Lloyd yn dygwydd bod yn Annibynwr, a finnau yn perthyn i enwad arall; nis gall ef roddi cyfrif am y teimlad sectol hwn. Nid oes dim ond un neu ddau o'n henwad ni, ac nid oes genym ddim un siawns i gario meistr neu feistres i mewn."

*Y Cadeirydd* (yn benderfynol). A ydych chwi yn dywedyd fod Bwrdd-rheolwyr Llwyn yr Odyn wedi cael eu penodi gan y Bwrdd hwn i reoli ysgol a adeiladwyd ar draul y trethdalwyr yn barod i roddi ffordd i ddylanwadau sectol?

*Mr. Rees.* Yr wyf yn dywedyd hyn. Pe buasai i Eglwyswyr wneyd y fath beth, cawsent eu condemnio o Dan i Beerseba, o Fynwy i Fon,

ac mae yn bur debyg y buasai i Mr. Henry Richard ddwyn y mater o flaen *My Lords* fel esampl o *priestly intolerance.* Nid yw yr holl faldordd yma am gydraddoldeb crefyddol ddim ond lol. Pe darostyngir yr Eglwys, bydd i ereill hawlio yr uchafiaeth. Hymbygiaeth droednoeth yw y cri yn erbyn i arian y Llywodraeth fyned i un blaid grefyddol, ond wele yma esampl o ddyn yn cael ei osod mewn swydd a'i gynnal ar draul y Llywodraeth ar dir crefyddol yn unig. Nis gall Sectyddiaeth fyned ym mhellach na hyn.

GWASTRAFF AFRADUS BYRDDAU YSGOLION.

Y mae yn llawn bryd i'r trethdalwyr godi eu lleisiau yn erbyn costiau afradus y Byrddau hyn. Cedwir ysgol yn agored ym Mryste heb ddim plant ynddi. Mae digon o le i'r holl blant yn yr ysgolion enwadol yn y lle, ac mae gan bob enwad ei ysgol. Cyhoeddodd Mr. J. D. Dillwyn, Penllergaer, bamphled ar Ddeddf Addysg. Gwrthdystia Mr. Dillwyn yn erbyn gwastraff Bwrdd Ysgol Abertawy yn codi cyflogau yr ysgolfeistriaid pan mae cyflogau ereill yn dyfod i lawr. Achosodd y pamphled hwn gyffro mawr. Yr oedd holl aelodau y Bwrdd mewn cymmaint o gyffro a haid o golomenod wrth weled hebog. Yr esgus a roddwyd oedd, nas gallai y Bwrdd ddim help os aiff y dreth yn ddeg swllt y bunt; bai yr Act yw, bid siwr; pe buasai i Mr. Dillwyn gyhoeddi ei bamphled cyn pasio yr Act, buasai iddo wneyd lles. Y mae eisieu galw y Byrddau hyn i gyfrif mewn lleoedd ereill hefyd.

---

*Balchder.*—Balchder a yrodd Nebuchodonosor o blith dynion; Saul o'i deyrnas; Adda o'r ardd; Haman o'i lys; Lucifer o'r nefoedd. A balchder a guddia filoedd eto allan o'r nef.—*Smith.*

31—xx.

# In Memoriam.



LLINELLAU

*A ysgrifenwyd o barchus Goffadwriaeth am Mrs. Elisa Ann Jones, anwyl Briod y Parch. Evan Jones, Bryngoleu, Person Plwyfi Llanddeusant a Llanbabo, Mon, yr hon a hunodd yn yr Iesu Chwefror 22fed*, 1876.

"Y cyfiawn fydd byth mewn coffadwriaeth."—SALM cxii. 6. "Y trugarog wrth y tlawd, gwyn ei fyd ef."—DIAR. xiv. 21. "Mi a ymdrechais ymdrech deg."—2 Tim. iv. 7.

EIN Elisa Ann Jones lwysedd,—wele'i
Holaf dawel annedd;
Ar hanner oes lawn rhinwedd
Chwith hynod ei bod mewn bedd!

Braich noeth Angau o'n mynwesau
Fyn y blodau i fin ei bladur,
Ofer ceisio ei lesteirio
Awr y delo i roi dolur.

Neu'n Wir hi, heb unrhyw os,
I oes hir fuasai aros.

Fel un yn ein sir yn gwir ragori—
Un ystyrid yn fawr mewn tosturi,
Yn rhwydd hi luniai ffyrdd i'w haelioni
Lifo beunydd dros aelwydydd tlodi:
A braich o'i bodd i grefydd wnai roddi—
Anian ei henaid yn wir oedd gweini
Ei Cheidwad hardd, a chodi—'n eglurach
Ei enw i lawnach bri a goleuni.

Yn fanwl i weithio i fyny
Yr Ysgol Sabbathol bu,
Yn Llanynghenedl ennyd
Bu'n dal y gofal i gyd;
Yn Bodedern bywyd ydoedd
Iddi'n ddibaid—ei henaid oedd,
A hyd fedd tra diwyd fu
Yn Neusant dros ein Iesu.
Ond er loes mae daiar wleb
Dros ei gwyl anwyl wyneb;
'Does heddyw ond ei galw i gof
Er ing uwch ben rhandir anghof
Yn eurglod deml ei Harglwydd,
Ow! ni saif i wneyd un swydd;
Ni ddaw chwaith o'i thaith i'w thy
I weled neb o'i theulu,
Nac i'w gwr yn swcwr serch
I'w weini a'i fwyn anerch:
Yn ol ar wanwyn na ha'
I'w lys ni ddaw Elisa!
Nid oes dyfod o 'stafell
Rhedfa byd—y rhodfa bell:
Ond hir, hir, fe welir wylo
Gwelw ar ael ei gwely o ro,

## HANES YR EGLWYS YNG NGHYMRU O DEYRNASIAD ELISABETH HYD ORSEDDIAD VICTORIA.

(*Parhád o dudal.* 213.)

*Dechreuad a chynnydd Ymneillduaeth. Adfywiad canlynol yr Eglwys.*

Un o'r pethau mwyaf hynod yn hanes Ymneillduaeth yw diweddarwch ei dechreuad. Ac araf iawn fu ei chynnydd dros gan mlynedd. Ond tua diwedd y ganrif ddiweddaf a dechreu yr un bresennol, ymledodd yn rhyfeddol dros y tir.

Yr eglwys Anghydffurfiol gyntaf yng Nghymru a'i chyffiniau a sefydlwyd yn Llanfaches, Mynwy, yn y flwyddyn 1639, sef tua thair blynedd o flaen y Gwrthryfel mawr; ond nis gellir yn briodol alw y gynnulleidfa hon yn un Ymneillduol, yn ol ystyr ddiweddar y gair. Casglwyd y ddeadell hon gan yr enwog William Wroth, periglor y plwyf hwnw, wedi ei droi allan o'r Eglwys a'i fywoliaeth yn ei hen ddyddiau, ryw ddwy flynedd, neu ychydig rhagor, cyn ei farwolaeth, ac nid oes tystiolaeth ei fod yn euog o *anghydffurfio* â dim ond â'r gyfundrefn blwyfol. Ysgrifenodd Esgob Llandaf at yr Archesgob Laud yn 1638, fod Mr. Wroth wedi ymostwng i ufudd-dod; i beidio myned i bregethu mewn lleoedd anghyssegredig, nac allan o'i blwyf ei hun, fel yr ymddengys i ni; ond ni foddlonodd hyn mo'r archesgob; ac nid annhebyg yw ei fod yn cofio Puritaniaeth Mr. Wroth er pan oedd yn dal esgobaeth Llandaf, o blegid yr oedd Wroth wedi bod yn dal personiaeth Llanfaches, gydag ymlyniad torfëydd lawer o bob plwyf, agos a phell, dros yr ystod maith o ddeugain mlynedd. Bu farw yn union cyn gweled gorthrymder y Rhyfel Gwladol a hir ragofnai, ac yn unol â'i ddymuniad wrth farw, claddwyd ef yn y borth "dan riniog yr Eglwys," o'r hòn y bwriwyd ef, ac y dystawyd llais ei hir a'i ryfeddol weinidogaeth. Fel hyn y dechreuodd Laud, yn groes i'w ewyllys, yr *achos* ymneillduol yng Nghymru. Gwyn fyd na fuasai callineb a rhagwelediad yr Archesgob hwn yn gymmaint a'i dduwioldeb a'i eiddigedd dros awdurdod eglwysig.

Ymddengys i ddwy neu dair o fân gangenau dori allan o gynnulleidfa Anghydffurfiol Llanfaches cyn i'r udgorn alw i'r gâd. Yn y cyfamser yr oedd rhyw ychydig o bregethwyr ieuainc, "penboeth, anordeiniedig," fel y dywed un cofnodiad, yn tramwy oddi amgylch i gynhyrfu'r wlad, megys Vavasor Powel, Siencyn Jones, Morgan Llwyd o Wynedd, a Dafydd ap Huw. Ac ychydig Anghydffurfwyr gwasgaredig i'w cael ym Mynwy, Morganwg, Brycheiniog, Maesyfed, Ceredigion, Trefaldwyn, a chymmydogaeth Gwrecsam; ond yr oeddynt mor ychydig o nifer a diddylanwad wrth eu cymharu â chorff y genedl, fel nas gellir honi ar ran Anghydffurfwyr Cymru na'u cyhuddo eu bod wedi achosi y rhyfel.

Wedi marw Mr. Wroth, syrthiodd y gynnulleidfa Anghydffurfiol yn Llanfaches i ofal Walter Cradoc. Henry Walter, curad parhäus Mynydd Islwyn, a gasglodd gynnulleidfa gyffelyb yn y plwyf hwnw. Ambrose Mostyn, mab y Dr. Mostyn o Galcoed, un arall yn Abertawy; William Erbury, ficer Sant Mair, Caerdydd cyn ei ddystawiad, a gynnullodd i un gorlan Anghydffurfwyr cymmysg y dref hòno a'r wlad gyfagos. Llyncodd Erbury wedi hyny lawer o syniadau cyfeiliornus a pheryglus, a suddodd i bruddglwyf a dyryswch synwyrau.

Pan dorodd y rhyfel allan, ffoes y pregethwyr uchod gyda Richard Symonds, athraw Baxter gynt yn Amwythig, a'u holl brif ganlynwyr o Gymru, yn gyntaf i Gaerodor, liw nos; ac oddi yno, pan syrthiodd y ddinas i ddwylaw y fyddin freninol, diangasant i Llundain, ac ni ddychwelasant i Gymru nes myned o'r

\+ Royalists



rhyfel drosodd, a gosod i fyny y Weriniaeth. Yn eu plith hefyd yr oedd Vavasor Powel; ac yn y cyfamser y cymmerth Morgan Llwyd o Wynedd hefyd noddfa yn Lloegr. Ond Jenkin Jones a ddiweiniodd ei gledd yn erbyn y brenin. Mab oedd i wladwr tiriog o'r Ty Mawr, Llanddetty, Brycheiniog, a chasglodd tua chwech ugain o wŷr meirch, y rhai a arfogodd ac a gynnaliodd ar ei gost ei hun, a than ei arweiniad digrphwys, rhwystrwyd teyrngarwyr y fro hòno rhag rhoddi un cynnorthwy effeithiol i'r achos breninol, gan ymdaith yma a thraw, a phregethu â'r Beibl yn y naill law a'r cleddyf yn y llall.[1]

Y pryd hyn yr oedd Cradoc yn gwasanaethu Eglwys Allhallows Fawr, Llundain, ac weithiau yn pregethu o flaen y Senedd; yno y traddodwyd y gyfrol o bregethau cyhoeddedig a digon adnabyddus sydd yn dwyn ei enw. Symonds oedd yn ddarlithiwr neu weinidog Allhallows Fach a Chapel y Tŵr; Erbury a wnaed yn gapelwr ym myddin y Senedd. V. Powel oedd yn pregethu yn Llundain a Dartford tra parhäes y rhyfel. Ond ni chawn allan encilfa Ambrose Mostyn. Ceir Henry Walter yn Allhallows Fawr, mewn cyfarfod tua diwedd y rhyfel pan oeddid yng nghylch gweithio allan y cynllun mawr i "Efengyleiddio Cymru"—i gymmodi yr hen genedl wrthnysig ag Anghydffurfiaeth a Gweriniaeth. Ac i wneyd hyn yn effeithiol, gwelai doethineb seneddol a duwiolder Puritanaidd y byddai yn rhaid, nid yn unig fwrw y Llyfr Gweddi Gyffredin allan o'r Eglwysi plwyfol, ond yr hen offeiriaid esgobyddol angharïadus gyda'r Senedd,[2] neu sicrhau eu tröedigaeth ysbrydol a gwladyddol.

Tua diwedd haf 1645, gorchymmynwyd talu 300p. yn flynyddol o diroedd attafaeledig esgob, deon, a chanoniaid Llandaf, i Henry Walter, Richard Symonds, a Walter Cradoc, sef 100p. bob un tuag at gynnal eu gweinidogaeth yn Neheudir Cymru. Ond gan nad oedd y rhyfel ddim wedi darfod yng Nghymru, yn enwedig yn y Gogledd, ni roddes y ty mo'r gorchymmyn hwn mewn grym hyd Gorphenaf 1646, a'r pryd hyny ni wnaed ond penderfynu bod i'r Cofiadur dynu allan gynllun cyffelyb gyda golwg ar Ogledd Cymru. Tra yr oedd y tri gwr hynod uchod yn efengyleiddio'r De, daeth Vavasor Powel a Morgan Llwyd i lawr i dduwioli'r Gogledd, lle nad oes hanes am gymmaint ag un gynnulleidfa sefydlog o Anghydffurfwyr cyn y rhyfel.

Y mae yn sicr mai tymmor y Rhyfel Gwladol hwn yw y cyfnod mwyaf tangnefeddus yn holl hanes Anghydffurfiaeth. Tra yr oedd yr olwg allanol ar yr achos cyffredin yn dywyll, yr oedd dadleuon yn eu plith eu hunain yn huno yn ddystaw iawn. Ond nid cynt y dychwelasant i Gymru, dan wên y Senedd, nag y dechreuasant ymryson ac ymranu. Cyn pen tair blynedd, yn Hydref 1649, ymneillduodd y Bedyddwyr oddi wrth gymmundeb unedig y Presbyteriaid a'r Annibynwyr, dan arweiniad un John Myles, a Thomas Proud, ac ymffurfiasant yn sect neillduol yn Ilston, Morganwg; a chasglasant yn brysur gynnulleidfaoedd cyffelyb yn Hay neu Olchon, ar gyffin Henffordd, Llanharan, Morganwg; Caerfyrddin, Abergefenni, a Llanwenarth yn yr un gymmydogaeth. A bu i dröedigaeth Vavasor Powel at eu golygiadau, nerthu eu hachos gryn lawer. Yr oeddynt oll yn Uchel-Galviniaid o'r cymmundeb caeth, ac yn gwahardd canu mawl yn eu cyrddau, dirgel na chyhoeddus. Ond araf fu eu tyfiad, a dywed y duwinydd Puritanaidd mawr a Chymröaidd

---

[1] Jones's *History of Breconshire.*

[2] Megys "gweinidogion gwaradwyddus a maleisgar," *scandalous and malignant ministers,* fel y cyhuddid hwynt. Traethasom mewn pennod flaenorol pa fodd y cariwyd yr amcan allan.

hwnw, y Dr. John Owen, yn un o'i bregethau o flaen y Senedd, fod y dadleuon chwerwon a'r ymrysonau crefyddol yng Nghymru, yn rhwystr mawr i'r Efengyl, ac i lwydd gwir dduwioldeb.

Ym mhen chwe blynedd a thrigain, y mae'r Dr. John Evans yn rhoddi y cyfrif canlynol o'r holl Eglwysi Bedyddiol yng Nghymru a'i chyffiniau yn y flwyddyn 1715. Mynwy, 4; Brycheiniog, 1; Ceredigion, 0; Caerfyrddin, 1; Morganwg, 5; Maesyfed, 2; Penfro, 1; Mon, 0; Arfon, 0; Dinbych, 1; Fflint, 0; Meirionydd, 0; Trefaldwyn, 0. Felly, os coeliwn y Dr., nid oedd dim ond un Eglwys Fedyddiol yn holl Ogledd Cymru; mor ddiweddar a chan mlynedd yn ol, a hòno yng Ngwrecsam. Rhaid i ni gofio mai "eglwys" y galwai yr Ymneillduwyr y pryd hyny gynnifer o fân gynnulleidfaoedd ag a unid dan un bugail, neu a ffurfient faes cenadol wahaniaethol. Bu ffurfiad yr "eglwys" ddywededig yn achos o ddadleuaeth a chynhwrf mawr a maith; yr hyn, fel y dywed ysgrifenwyr Anghydffurfiol, a fu yn rhwystr a niwed mawr i wir grefydd a duwioldeb. Yn nyddiau y Weriniaeth, neu yn hytrach ar adferiad y teulu breninol i'r orsedd, ymgrynhöes yr Anghydffurwyr yn eglwys Bresbyteraidd yn y dref hòno; ond ymrwygodd yn ddwy[1] yn 1692 mewn canlyniad i'r ddadl fawr rhwng y Dr. Daniel William â'r Dr. Crisp. Ac wedi hyny, ar foreu y ganrif ddiweddaf, troes gweinidog Presbyteraidd o'r enw John Williams, ysgolfeistr, yn Fedyddiwr, a bu ymrafael fawr ac ymraniad tua'r flwyddyn 1715. Cangen o winwydden Gwrecsam a blanwyd yn fore yn y Cefn Bychan, ac ni thyfodd dim syniadau crefyddol ereill yno dros lawer o flynyddoedd.

Erbyn 1775, gan mlynedd yn ol, nid oedd y Bedyddwyr, mwy na'r enwadau ymneillduol ereill, wedi lluosogi ond ychydig iawn. Yn awr dywedir fod ganddynt ragor na phum cant o gapeli mawrion a bychain, a chyfrif cynnulleidfaoedd y Cymry sefydlog yn Lloegr.

Yn y flwyddyn 1742, dywedai Jones Pontypool mai Mon oedd yr unig sir yng Nghymru a Lloegr lle nad oedd dim un gynnulleidfa o Ymneillduwyr. Fod un yn sir Gaernarfon, dwy yng Ngwrecsam, un fechan yn Ninbych, a'i chyffelyb yng Nghroesoswallt; un yn agos i'r Bala, a dau le pregethu, pump yn sir Drefaldwyn, wyth yn sir Faesyfed, a chyfrif dwy gynnulleidfa Fedyddiol; oll yn fychain. Yn sir Aberteifi, naw o'r Ymneillduwyr,[2] ac un o'r Bedyddwyr. Ac yma y sonia am offeiriad ieuanc enwog newydd farw, o'r enw Dafydd Jenkins, a bod gan D. Rowlands 2000 o gymmunwyr yn ei Eglwys. Ac am sir Benfro, fod yno chwech cynnulleidfa o Ymneillduwyr, a thair o Fedyddwyr. Sonia hefyd am yr offeiriaid hynod David Jones a Howel Dafis yn pregethu yn llafurus yn yr eglwysydd, tai, a meusydd. Ac am sir Gaerfyrddin dywed fod yno agos i ugain o gynnulleidfaoedd Anghydffurfiol, a dwy o'r Bedyddwyr. Ac am y Bedyddiwr enwog Henry Palmer, dywed ei fod yn Apolos yn yr Ysgrythyrau. Ac am Griffith Jones, person Llanddowror, dywed y gweinidog *Dissenters* hwn, ei fod yn un o'r pregethwyr mwyaf rhagorol ym Mhrydain Fawr; ac am dduwioldeb, synwyr da, dyfalwch, cymmedrolder, sel, a thraddodiad nerthol, na chlywodd erioed ei.

[1] Y gainc Bresbyteraidd a fu farw mewn amser, ond y mae yr un Annibynol yn aros hyd heddyw. Sandemaniaeth a wnaeth rwyg cyffelyb ym mhlith y Bedyddwyr yn yr un dref.

[2] "*Dissenters*," y gelwid y Presbyteriaid a'r Annibynwyr, ac felly yr adnabyddir y blaid olaf hyd heddyw ar lafar gwlad, yr hyn sydd brawf caniataol eu bod yn hŷn na'r enwadau ymneillduol ereill, a chymmeryd golwg gyffredinol ar Gymru a'i hanesion crefyddol. Ni elwir y Bedyddwyr, na'r Methodistiaid, na'r Wesleyaid, ar enw *Dissenters*.

fath, &c., a'i fod yn ddyn o ysbryd mor gatholig a chariadus, fel yr oedd yn goddef i'w gymmunwyr dori bara gyda *Dissenters*, a hwythau gydag yntau. Yn sir Frycheiniog yr oedd wyth cynnulleidfa o Ymneillduwyr, fel yntau, a dwy neu dair o'r Bedyddwyr. Ym mhlith yr offeiriaid mwyaf hynod eu gweithgarwch, y mae yn crybwyll William Williams, Thomas Lewis, ac un Penry Baillie; ym mysg y *Dissenters*, William Williams, John Watkins, a John Davies. Yn sir Forganwg yr oedd gan y *Dissenters* tuag ugain o gynnulleidfaoedd, a'r Bedyddwyr dair. Ym Mynwy yr oedd saith gynnulleidfa o Ymneillduwyr, a chwech o'r Bedyddwyr. Dywed hefyd am yr holl wlad, fod y Methodistiaid yn ymlynu wrth Eglwys Lloegr, ac ni chyfrifid hwy, yn wir, ond *cymdeithasau* Eglwysig. Sonia hefyd am ryw gynnulleidfa ymneillduol yn y parth Cymreig o Henffordd, dan weinidogaeth un Wm. Jenkins, gan wneyd crybwylliad anrhydeddus am yr offeiriaid John Powell a Thomas Jones.

Ond yn 1715, cawn restr o eglwysi Annibynol—ym Mrycheiniog, 4; yn sir Aberteifi, 2; yn sir Gaerfyrddin, 1; yn sir Benfro, 3; yn sir Faesyfed, 4; ym Morganwg, 6; yn sir Fynwy, 10; sef 30 yn y De. Yn sir Fon, 0; Caernarfon, 1; Dinbych, 0; Fflint, 0; Meirionydd, 1; Trefaldwyn, 6; dim ond saith yn holl Ogledd Cymru.

Ond, tra dywed y Dr. Rees na fu'r Presbyteriaid erioed yn eglwys ar wahân oddi wrth yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr, y mae y Dr. Evans yn cyfrif cynnulleidfaoedd y Presbyteriaid fel hyn:—Môn, 0; Caernarfon, 0; Dinbych, 2; Fflint, 1; Meirionydd, 0; Trefaldwyn, 1; sef pedair yn y Gogledd. Ym Mynwy, 0; Brycheiniog 1; sir Aberteifi, 1; Caerfyrddin, 11; Morganwg, 1; Maesyfed, 0; Penfro, 0; sef pedair eglwys ar ddeg, a chynnifer o gangenau yn y De; tair ar bymtheg yn holl Gymru. Gwir yw i'r rhan fwyaf o honynt ymgolli mewn amser yn yr enwad Annibynol, ac i'r gweddill suddo i Undodiaeth a Sosiniaeth.

Torodd ymrafael mawr allan yn 1735, ac ymraniad mewn amser ym mysg yr Ymneillduwyr ym Merthyr Tydfil, rhwng y Calfiniaid a'r Arminiaid, a throes y blaid olaf, tua chanol y ganrif ddiweddaf, yn Forganiaid trwyadl.

Y mae gan yr Annibynwyr Cymreig yn awr yn agos i wyth cant o gapeli o bob maintioli yng Nghymru, a phrif drefydd Lloegr; a'r Methodistiaid Calfinaidd agos i fil, er mai hwynt-hwy, a'u cymmeryd ar wahân oddi wrth yr Eglwys, yw yr enwad ymneillduol ieuengaf yng Nghymru.

Y Methodistiaid Wesleyaidd a ddechreuasant mor ddiweddar a'r flwyddyn 1804, drwy ymdrechiadau un Edward Jones, Bathafarn, Dyffryn Clwyd; a John Bryan; ac y mae ganddynt, o fewn yr un cylch ag a fesurasom i'r tri enwad rhagrybwylledig, tua phum cant a hanner o gapeli. Ar y cyntaf, yr oedd eu cynnydd yn rhyfeddol dros gryn lawer o flynyddoedd, er na feddent y pryd hyny ddim pregethwyr Cymreig cyffelyb, o ran dyfnder eu duwinyddiaeth a'u hyawdledd poblogaidd, i'r enwadau ereill; i Williams o'r Wern, Christmas Evans, John Elias, a llu o gyffelyb gydoeswyr. Un achos o gynnydd y Wesleyaid o dan yr anfanteision pwysig hyn gyda rhai wedi cymmeryd meddiant blaenorol o'r maes, oedd eu bod yn llai gwrthwynebol o ran eu hymddygiad tuag at yr Eglwys, ac yn bendifaddeu, newyddni eu hathrawiaeth. Tra yn wrthwyneb i Uchel Galfiniaeth yr hen Annibynwyr, y Bedyddwyr, y Methodistiaid, a'r Eglwyswyr Efengylaidd, er ei llarieiddio â Baxteriaeth, Ffwleriaeth ddiweddar; ac o'r tu arall oddi wrth yr hen Arminiaeth Forganaidd; ond, er bod yr enwad wedi cynnyddu yn fawr mewn parchusrwydd a gallu pulpudaidd, nid yw ar ol hyny wedi ymluosogi ond

ychydig, os nad ydyw, fel yr haera rhai, yn ymleihau.

Tua'r flwyddyn 1654, y dechreuodd un Thomas Holmes, Richard Davies, ac ereill, hau syniadau neillduol y "Cyfeillion," neu y Crynwyr, a thyfasant yn gyflym iawn yng nghymmydogaethau Gwrecsam, y Trallwm, a Llanfyllin; yn fuan dros holl Gymru, oddi gerth Mon ac Arfon. Bwriwyd llawer o honynt i garchar yn amser Cromwel, a chyn a wedi adferiad y brenin. Dyoddefasant lawer, heb raid nac achos rhesymol i'w hofni fel cynhyrfwyr a gwrthryfelwyr yn erbyn y Weriniaeth na'r Freniniaeth; ac iddynt hwythau anufuddhau i gyfreithiau y tir. Os gadäwn o'r neilldu eu hymwrthodiad, nid yn unig ag Esgobyddiaeth gyffredinol y mil a hanner o flynyddoedd blaenorol, ond â'r weinidogaeth Gristionogol o gwbl, ac â sacramentau holl Eglwys Crist, a defodau gwasanaeth cyhoeddus Duw, nis gallwn, wedi'r cyfan, lai na rhyfeddu bod brawdoliaeth mor hynod ei moesolder personol, ei rhinweddau teuluaidd a chymdeithasol, ei dyngarwch cyffredinol, ei chyfoeth, a'i chyssylltiad anrhydeddus ag anturiaethau masnachol y wlad, a'i sefydliadau mawrion elusenol, wedi ymddarfod mor llwyr, fel na cheir, meddir, ond o chwech i saith cant o honynt yn weddill drwy holl Gymru.

Cyfrifir yr Undodiaid tua phum neu chwech mil, a'r rhai hyny yn gyfyngedig i'r Deheubarth.

(*I'w barhau.*)

## Y MILFLWYDDIANT AR WAWRIO.

*Ned.* Fe fuost ti, Dai, yn hirwyntog ofnatsan yn dy erthygl ddiweddaf, a bydd mor ddoeth a charedig a bod yn fyrach gyda hon, onide, mor wir a'n bod ni yn ddynion byw bedyddiedig, fe wirir yr hen ddiareb, "Gormod o bwdin a daga gi."

*Dai.* Yr wyf yn addaw, ar fy ngair gwir, Ned, bod yn fyrach y tro hwn, canys y mae yr hen wreigan oddi cartref, ac am hyny y mae pwys baich gofal y ty yn disgyn ar fy ysgwyddau i, fel y *globe* ar *atlas.*

*Ned.* A oes genyt ti eto, Dai, ragor o resymau dros dy haeriadau blaenorol, sef fod yr enwadau yn bwriadu dyfod yn ol i fynwes yr Hen Fam, a thrwy hyny hyrwyddo y Milflwyddiant, pryd y canwn â'r ysbryd ac â'r deall yr hen emyn bendigedig a bythgofadwy hwn:—

> "Darfydded son am bob ymrysou mwy,
> Partïol farn a rhagfarn lawr â hwy,
> A deued hedd, tangnefedd yn eu lle,
> A chariad pur o'r cariad sy'n y ne'."

*Dai.* Oes, y mae genyf lwyth *cart* o honynt, a dyma y nesaf, sef yr enw *vestry* neu *vestry-room.*

*Ned.* A ydyw yr Ymneillduwyr, Dai, mor *impudent* a defnyddio yr enw uchod ar eu tai bach?

*Dai.* Ydynt, y maent yn *wholesale and without shame,* ac os wyt ti yn fy anghredu'i, Ned, fel Tomos gynt, mi af fi â thi at *chapter and verse,* ac yr wyf yn dy gyfeirio di at y *Western Mail* am Mawrth y 6fed, lle y crybwyllir am ddyfodiad merch ieuanc i'w hoedran, neu *attaining her majority,* yn ol dy iaith di, Ned, a dywedir ynddo fel hyn:—"*Early in the afternoon the day school children flocked to the vicinity of Bethlehem vestry-room,*" &c.: *et cum multis aliis.*

*Ned.* Gwarchod pawb ni, Dai bach anwyl i, canys yr wyt ti a minnau yn cofio yn eithaf da taw tai bach y tai cyrddau y gelwid hwynt yn eiu hamser ni, a hen ferch neu wraig weddw fach tua hanner cant oed, fwy neu lai, oedd yn arfer eu cadw hwynt, *yn wir i ti, Dai.*

*Dai.* Pa ham, Ned, yr wyt ti yn gwirio ac yn rhoddi y fath bwyslais ar y ffaith olaf yma, canys yr wyf yn gweled dy fod wedi rhoddi *dash* go drom dani.

*Ned.* My dear Dai, my answer is

this: "A wink is enough to a blind horse." "*Sat pro tem.*"

*Dai.* Yr ydwyf newydd droi, Ned, i Eden's *Churchman's Theological Dictionary*, canys efe yw fy *standard* i ar eiriau o'r ystyr hyn; a dyma'r *definition* y mae efe yn roddi o'r gair "*vestry-room:*—"The room attached to a *Church*, in which the officiating minister clothes himself in the habit in which he is to perform Divine Service."

*Ned.* A ydyw y Jacks bach yma yn *clotho* eu hunain i *berfformo* eu *divine service?*

*Dai.* Y maent yn dywedyd wrthyf fi fod llawer iawn o'r pregethwyr yn Lloegr yn gwisgo gŵn du wrth *berfformo*, ae mi a roddaf i ti enghraifft o un yn gwisgo y gŵn gwyn, y *surplice* yng Nghymru lân, gwlad y gân.

*Ned. Impossible*, Dai, *impossible*, canys Pabyddiaeth rono, meddent hwy, yw yr hen grys gwyn ar gefn yr hen offeiriad, pa un ai hen o hôno ai peidio.

*Dai. Possible*, Dai, *possible*, canys dyna un Doctor mawr wedi bod yn ei wisgo am flynyddoedd lawer mewn Eglwys yn Neheubarth Cymru.

*Ned.* Y mae genyf ryw frith gof i mi glywed am ryw ffrae a fu rhwng un foneddiges a ficer y plwyf.

*Dai.* Oes, oes, genyf finnau hefyd, canys, o herwydd nad oedd hwnw yn foddlawn i ddarllen y Gwasanaeth a phregethu yn Gymraeg loew lân, aeth hithau, fel Micah o Fynydd Ephraim gynt, i gyflogi ryw grwydryn o Lefiad yn *chaplain* iddi yn ei chapel, a phwy debyget ti, Ned, ddygwyddodd y Lefiad hwn fod?

*Ned.* Na wn i ddim ond cymmaint a ddywedaist ti yn barod, sef taw Doctor mawr oedd efe; ond Doctor mawr yn perthyn i ba un o'r enwadau oedd efe, y mae hyny yn ddirgelwch i mi eto.

*Dai.* Wel, Ned, mi ddeudaf wrthyt yn ddystaw bach yn dy glust, taw Doctor mawr yn perthyn i'r Corff oedd efe.

*Ned.* Yr wyf am gael gwybod, Dai, os gweli di fod yn dda, pa ham y darfu i hwnw ymadael ag Ymneillduaeth i ymuno â Phabyddiaeth, canys Pabyddiaeth, meddent hwy, yw pob peth sydd yn perthyn i'r Eglwys. Pabyddiaeth yw ei Gweddïau, Pabyddiaeth yw ei Llithiau (sef pennodau o'r Hen a'r Newydd Destament), Pabyddiaeth yw ei Chredoau, Pabyddiaeth yw ei Herthyglau, Pabyddiaeth yw ei Homiliau, Pabyddiaeth yw ei Chanonau, Pabyddiaeth yw ei Defodau, Pabyddiaeth yw ei Gwyliau, Pabyddiaeth yw ei Sefydliadau, Pabyddiaeth yw ei Threfniadau, Pabyddiaeth yw ei Sacramentau, Pabyddiaeth yw ei Haddurniadau, Pabyddiaeth yw ei Phregethau, a Phabyddiaeth yw pob peth a berthyn iddi hi.

*Dai.* Garw mor dwp a chibddall wyt ti, Ned anwyl i; oni chlywaist ti yr hen ddiareb, "It is money that makes the mare to go"? Arian sydd yn gwneyd i'r gaseg fyned, ïe yn wir. Arian, arian, arian, *for ever*, yw eu cais â'u cân nhw. "Moes, moes, meddai'r groth ammhlantadwy; moes, moes, meddai'r bedd annigonadwy." Ond moes, moes, moes, byth a hefyd, meddai calon derbynwyr y degwm cildwrn yma. *Semper idem.* "Nid oes pendraw ar eu pendro" am arian, ys dywed y bardd.

*Ned.* A wyddost ti, Dai, pa faint o arian oedd ef yn gael o gyflog bob blwyddyn?

*Dai.* Mi a wn, *for a fact*, ar dystiolaeth fy Meibl anwyl i, taw deg siel o arian, a phâr o ddillad, a'i luniaeth, bob blwyddyn oedd y Lefiad gynt yn gael; ond, pa faint oedd y Doctor mawr yn gael, nis gwn yn *exact*, ond yr ydwyf yn credu, os nad yw fy nghof yn fy nhwyllo i, taw tri gini y Sul oedd ef yn gael.

*Ned.* Yr wyf yn gofyn i ti, Dai, yn fy anwybodaeth, ac i'r dyben o gael gwybodaeth gent ti ar y pen hwn, pa un o'r ddau oedd yn cael fwyaf o gyflog.

*Dai.* Pa ham yr wyt ti, Ned, yn gofyn y fath gwestiwn *simple* a gwirionffol i mi yng nghylch y gyflog? Nid oes eisieu myned i'r *Fractions*, na'r *Decimals*, na'r *Practice*, na chwaith i'r *Rule of Three*, na'r *Multiplication*, na'r *Addition*, ond bron i'r *Numeration Table*, i gael gwybodaeth pa un o'r ddau oedd yn cael fwyaf, canys y Doctor oedd yn curo o ddigon, o herwydd ei fod yn cael cymmaint arall a mwy o arian bob Sul ag oedd y Lefiad yn gael bob blwyddyn, oud bario allan y bwyd a'r dillad, o blegid taw pump swllt ar hugain y flwyddyn oedd y Lefiad yn gael, yn ol hanner coron y sicl, ond yr oedd y Doctor yn cael yn glos ar gant a thrigain punt bob blwyddyn, ac felly yn cael mwy na hanner yr offeiriaid ordeiniedig, druain â nhw.

*Neil.* It is an abominable and unpardonable disgrace that such a thing should be tolerated in the Church. Dylid cyfartalu *income* yr offeiriaid, yn lle bod rhai yn cael o fil i bum mil, a mwy o lawer y flwyddyn, a'r lleill yn cael dim ond o gant i ddau, fwy neu lai, a'r olaf, ef allai, ac nid ef allai hefyd, yn gwneyd llawer mwy o waith a daioni i'r wlad na'r blaenaf, canys y mae llawer o honynt yn *absentees* o'u plwyfi, ac yn cadw curates yno ar y *starving system*, a'r rhai sy'n byw ynddynt, nid ydynt ond megys *drones* yn y cwch gwenyn, yn bwyta ac yn difa y mêl, heb gasglu dim o hono.

*Dai.* Taw sôn, fachgen, neu fel ag y dywed "Mynyddog o'r mynyddau," "Taw pia hi, boys," canys os na chawn ni gyfiawnder yn y byd hwn, ni a'i cawn ef yn y nesaf; o herwydd "Yr Arglwydd cyfiawn a gâr gyfiawnder, ac ni wna Efe gam â gwr yn ei fater."

*Ned.* Garw mor *glerical* y mae y Jacks bach yma wedi myned yn y dyddiau rhai'n.

*Dai.* Yes indeed, Ned bach, very clerical in all their vestments and comportments. Y mae yn rhaid iddynt yn awr gael esgidiau *clerical*, llodrau, a chotiau, a gwasgodi, a chrysau, a *wristbands*, a hatiau, a choleri, a *ties* gwynion *clerical*, a'r rhai hyny mor llydain a hirion a iau dwy lath am wddf hwch dew, nes y mae yn beryglus dyfod i gyffyrddiad â hwynt mewn heol dwy droedfedd ar bymtheg o led, fel pe baent yn awgrymu, "Saf di ar dy ben dy hun, draw ym mhell bell, canys sancteiddiach ydym ni na thydi."

*Ned.* Well done, Dai; ie, upon my word and honour, well done, Dai, yr wyt yn llygad dy le, ac yn dywedyd calon y gwir, a buais i, lwdn dwl a *shortsighted*, lawer gwaith, wrth gwrdd ag ambell i ysgogyn balch a ffroenuchel o Jack, yn methu yn fy myw â deall pa un ai un o'r offeiriaid pabyddol yma oedd efe, neu ynte un o dylwyth Cora, Dathan, ac Abiram.

SYLWEDYDD SALA' YDYW.

---

## CHWERTHIN.

"Chwarddwch os ydych yn gall," meddai Martial. Y mae llawer yn credu mai peth ffol ydyw chwerthin. Y mae llawer o ddoethineb mewn chwerthin. Addefa Solomon fod amser i chwerthin yn gystal ag amser i alaru. Dyn yn unig sydd yn chwerthin. Gelwir dyn weithiau yn anifail chwerthinllyd.

Y mae chwerthiniad iachus yn dangos yr ochr heulog o ddyn. Dyg allan i'r amlwg ei dymmer ddedwydd, a dengys o ba fath ddefnydd mae ef wedi cael ei wneyd.

Dywedir nas gellir adnabod dyn yn drwyadl nes iddo chwerthin. Nid yw y gwynebpryd sobr a thrymaidd fel dillad Sul yn dangos beth yw natur y dyn. Gall fod yn gall neu yn ddoeth, yn ddysgedig neu annysgedig, yn ddedwydd neu yn annedwydd, ond gadëwch i ni glywed dyn yn chwerthin, gallwn ddeall pa fodd mae ei galon yn curo. Dywed Lavater, "Gochelwch y dyn nad yw yn

chwerthyn un amser—nad yw yn hoffi cerddoriaeth, neu wyneb siriol plentyn." Yr ŷm yn barod i ddrwgdybio dynion pendrymaidd a hirwepog nad eos dim cymmaint a gwên iachus yn chwareu ar eu gwefusau. Dywed Carlyle nad oes un dyn wedi chwerthin unwaith yn drwyadl yn hollol ddrwg.

Y mae llawer mewn chwerthin. Chwerthin yw yr agoriad sydd yn agor yr holl ddyn. Mae rhai dynion yn gwisgo glaswen ddiflas yn wastad; mae eu gwên mor oeraidd a diflas ag eira Berwyn. Nid yw y dyn nad yw yn analluog i chwerthin yn addas i ddim ond i fradwriaethau, cynllwynion, ac ysbeiliadau. Nis gellir dysgwyl llawer o ddaioni i ddeillio oddi wrth y cyfryw ddyn.

Sylwa yr Archddiacon Hare fod y dynion sydd yn gyfoethog o arabedd a digrifwch y dynion mwyaf calon dyner yn y byd. Rhai o'r fath oedd Fuller, Esgob Earle, La Fontaine, Mathias, Claudius, Charles Lamb. Nid yw y dyn drwg un amser yn ddigrif. Y mae chwerthiniad llawen yn dyfod o galon lawen. Nis gall un dyn heb garedigrwydd fod yn ddedwydd. Marwaidd a diflas fyddai ein holl fywyd cymdeithasol heb ddigrifwch i dywynu arno. Y mae arabedd yn agor calonau dynion, ac mae yn rhoddi bywyd newydd i'r holl gwmni. Y mae rheswm yn ymeangu enaid y philosophydd; y mae drychfeddyliau yn mawrygu y bardd, ac yn anadlu awyr falmaidd y gwanwyn ar bawb o gwmpas.

Y mae llawer o ddoethineb mewn chwerthin, ac yr oedd Martial yn llygad ei le pan ysgrifenodd, "Os y'ch chwi yn ddoeth, chwarddwch." Y mae chwerthin yn iachus—chwerthiniad cryf nes dadseinio yr holl le, y fath a glywir yn tori allan yn wirfoddol ar ol 'stori dda, neu uwch ben *Punch* neu *Judy*. Nid dysgeidiaeth yn unig sydd yn ddoeth. Mae gwaith parhäus i'r meddwl yn treulio y corff. Edrychwch ar y meddyliwr, dyn sydd yn meddwl yn wastad, y mae ei goesau yn rhy weinion braidd i'w gario, a'i groen heb ddim gwaed, ei gorff yn crebachu, a'i ewinau yn llac, a'i ymenydd yn gyffröus. Nid yw hyn yn arwydd o iechyd. Mae ganddo galon fawr, a hòno, ef allai, yn afiach. Mae ef wedi gollwng yn anghof y ffordd i chwerthin. Nid yw efe yn mwynhau bywyd. Nid yw y mêl a'r mefus y mae ef yn gasglu yn ddigon o dâl iddo am y brathiadau y mae ef yn gael. Y mae llawer o'r dynion meddylgar yn hen cyn eu bod mewn cyflawn faint. Y mae mwy o amrywiaeth mewn chwerthin nag sydd yn y rhan fwyaf o weithrediadau dynol; y mae un yn cil chwerthin yn ofalus, pan mae un arall yn ei gymmeryd yn awchus, ac yn chwerthin llonaid ei ben, nes adseinio yr holl le, a'i ochrau yn siglo; chwardda y llall yn uchel a thrwsgwl. Nid oes un chwerthiniad mor ddedwydd a chwerthiniad plant, pan maent yn cael eu difyru. Mae rhai dynion yn chwerthin yn ysmala, dim ond rhan a'r gwyneb—y geneu a'r llygaid, pan mae y llall yn rhoddi ei holl wyneb a'i gorff ar waith; plyga i lawr, a thora allan, a thafla ei ben yn ol, ac a'i sigla yn ol ac ym mlaen, fel Mandarin mewn siop de; neu gwthia ei ddwylaw i bocedi ei lodrau, troa ei liniau i mewn, caua ei lygaid, a dangosa ei ddannedd.

Y mae anianyddwyr yn addef fod chwerthin yn iachusol. Hyrwydda gylchrediad y gwaed, a gyra y gwaed ammhur trwy'r ysgyfaint, ac mae o les mawr i ddynion pruddglwyfus. Dywed Solomon fod calon lawen fel meddyginiaeth i ddyn. Yr ŷm yn darllen am rai dynion doeth, y rhai sydd yn arfer mynychu y *pantomimes* er mwynhau chwerthiniad iachus. Ystyriant y *clown* fel eu meddyg goreu. Dywed Celsus, yr ysgrifenydd henaf ar phisygwriaeth, nad oes dim yn well i ddiffyg treuliaid, yr hyn sydd yn beth cyffredin yn awr, na digrifwch.

Y mae canu hefyd yn arferiad iachus; cryfhâ ac adfywia yr ysgyfaint, a phrysura y cylchrediad. Y mae cantorion proffesedig, os byddant yn gymmedrol, yn hirhoedlog, ac nid yn aml y maent yn dyoddef oddi wrth ddarfodedigaeth ac anhwylderau yr ysgyfaint. Cafwyd prawf o hyn yn Braham, yr hwn a barhaodd yn ei gyflawn nerth i swyno clustiau ei wrandawyr am hanner canrif; hefyd Pasta, Catalani, Mara, Palestrina, a chantorion ereill, y rhai a fuont fyw i oedran mawr.

Mae darllen yn uchel yn dda hefyd ar yr un tir. Mae yn rhoddi gwthi y frest ar waith, ac yn rhoddi maeth i'r frest. Y mae athrawon fel rheol yn hirhoedlog. Y mae gweinidogion crefyddol a darlithwyr cyhoeddus yn byw yn hir.

Yr oedd Cuvier yn ddyn o gyfansoddiad gwanaidd, ac yr oedd y ddarfodedigaeth yn ei fygwth; ond cafodd ei benodi yn broffeswr, ac yr oedd yn gorfod siarad am oriau bob dydd. Yr oedd ef yn credu mai hyn adferodd ei iechyd. Bu fyw nes iddo fyned yn hen. Bu penodiad Dr. Brown i fod yn ddarlithydd ym Mhrifysgol Edinburgh yn foddion i estyn ei einioes. Y mae yn ffaith hefyd fod benywod yn byw yn hwy na'r gwrywod. Dichon mai yr achos yw, fod y gwragedd yn fwy siaradus.

---

## MOLAWD

*I'r Parch. T. Jenkins, Periglor Caerffili, am ei ffyddlondeb dros achos crefydd yn yr ardal.*

Y DYN sy'n cyflawnu ei rwymau crefyddol,
Sy'n gwneuthnr ewyllys sancteiddiol ei Ior,
A'r gwr a gyflawna weithredoedd dyngarol,
Mae'i galon yn chwyddo fel tônau y môr;
Un tyner yw'n Jenkins, ein Rheithor rhagorol,
A bugail gofalus, mae'i yni yn fyw,
Gweinidog dichlynaidd a'i sel yn ysbrydol,
Yn llawn o weithgarwch dros achos ei Dduw.

Ffyddlondeb sydd nodwedd hanfodol i'r Cristion,
A chariad i roddi gwir deimlad i'w waith,
Diwydrwydd diwyro yng ngwinllan fawr Sïon
Sy'n dwyn y gogoniant i ddyn ar ei daith:
Yn araf a phwyllog ond llwyr benderfynol,
A grym ei dduwioldeb yn gyru ym mlaen,
Yng ngwawl y gwirionedd mae'n rheithor yn hollol,
A gwisg ei gymmeriad heb unrhyw ystaen.

Mae dysg ac athrylith yn talu gwarogaeth
I feibion dewr rhinwedd ar feusydd y byd,
Mae hawliau teilyngdod yn galw yn helaeth
Am berlau dysgleirwych i'w rhesu yng nghyd,
I wisgo ein rheithor â choron anrhydedd,
Arddangos gweithredoedd gyflawnodd i'n tref;
Enneinio ei enw a pharch ac edmygedd,
A dyrchu ei foliant fel cenad y nef.

Nid gweithiwr siaradus, amddifad o sylwedd,
Ymffrostgar, a balchder yn llanw ei nod,
A chlychau ei urddas yn tincian gan wagedd,
A seiniau anhynod yn canu ei glod;
Clywch, clywch, y mae udgyrn y llu yng Nghaerffili
Yn chwythu ei foliant mewn cariad a hedd;
Mae'i enw'n gerfiedig ar faner uchelfri,
Pob gweithred yn golofn ac addurn i'w sedd.

Dillynion Efengyl sydd yn ei bregethau,
Fel blodau'n persawru dan wlithoedd y nen,
Mae neithdar iachusol yn disgyn o'i eiriau,
Pan draetha am angeu ein Iesu a'n Pen;
Y cariad tragwyddol yng ngrym Iachawdwriaeth,
Gogoniant ei Brynwr, eangder Ei waith,
A mynydd Calfaria, lle caed buddugoliaeth,
Yw cartref ei enaid, a bywyd ei iaith.

CENYDD.

*Caerffili.*

---

## Adolygiad y Wasg.

A DICTIONARY OF THE ENG*lish Language, abridged by the Editor from that of Dr. Johnson as edited by Robert Gordon Latham, M.A., M.D., &c. Llundain: Longmans.*

TALFYRIAD yw'r gwaith cynnwysfawr hwn o Eiriadur mawr a gyhoeddwyd gan y Meistriaid Longman tua saith mlynedd yn ol, yr hwn a barotowyd gan Dr. Latham ar sail Geiriadur Johnson fel y daeth hwnw allan dan

olygiad y Parch. H. J. Todd. Felly y mae yn cynnwys barn un golygydd enwog ar waith golygydd enwog arall, ac ar waith un a ystyrid am flynyddau yn brif awdurdod ar y pwnc mewn llaw. Dyn gwir ddysgedig yn ol ei oes oedd Dr. Johnson; cawr ydoedd yn ei amser: dyn diwyd a llafurus oedd Todd, Archddiacon Cleveland, ac yr oedd ganddo fanteision mawr fel ceidwad Llawysgrifau Palas Lambeth, ac yn ei gyssylltiad â llyfrgell Eglwys Crist, Caergaint, i'w addasu at y gwaith a ymddiriedwyd iddo: ac y mae Dr. Latham wedi bod yn adnabyddus dros ragor na chwarter canrif fel ymchwiliwr manwl, meddyliwr treiddiol, ac ysgrifenydd ffrwythlawn ar hanes a theithi yr iaith Seisonig. Heb law y geiriadur mawr yr ydym wedi cyfeirio ato, yr hwn sydd yn estyn i bedair cyfrol 4 plyg ac yn gwerthu am saith punt, y mae ei amrywiol lyfrau ieithyddol Seisonig wedi rhoddi iddo enw tra uchel: mae wedi dwyn allan tua dwsin o ramadegau, o'r rhai y penaf a'r cyflawnaf yw ei "English Language," 18s, llyfr ag sydd yn sefyll yn y rhes flaenaf o lyfrau o natur cyffelyb. Felly gellid dysgwyl bod y Geiriadur newydd hwn yn sicr o ennill safle uchel mewn llenyddiaeth Seisonig.

Ymdengys i ni mai prif ragorolion y llyfr hwn yw cywirdeb a threfnusrwydd ei ddeffiniadau; y dysgeidiaeth sydd yn amlwg yn ei farn am olrheiniad tarddiad y geiriau; a bod y geiriau a restrir wedi eu dethol mor ofalus fel y bydd eu derbyniad i'r llyfr yn cyfiawnhau y defnyddiad o honynt gan y rhai a fynont ymgadw rhag llygru eu cyfansoddiadau â geiriau anghoeth.

Dywedir am Arglwydd Macaulay nad oedd efe byth yn defnyddio gair na cheid yng Ngeiriadur Johnson. Er nad yw Dr. Latham wedi cyfyngu ei hunan mor gaeth a hyn, mae wedi bod yn ofalus iawn wrth ychwanegu at waith ei ragflaenyddion; ac fe ymddengys bod ganddo awdurdod cymhwys am bob gair ychwanegol y mae wedi gofrestru. Nid peth hawdd, wrth ddewis a gwrthod, yw tynu y llinell dros yr hon nid gwiw troseddu ar y naill ochr neu'r llall; felly y mae'r llyfr yn cynnwys amryw eiriau nas gellir eu cymmeradwyo, am eu bod yn isel neu yn anarferedig; ond dynodir eu nodweddiad er cyfarwyddo'r darllenydd gan y geiriau *slang* neu *obsolete* neu'r cyffelyb.

Yn y gangen eirdarddiadol o'i waith, mae wedi gwneyd defnydd o'r ymchwiliadau ag sydd wedi cael eu dwyn ym mlaen gan ysgolheigion diweddar yn y deyrnas hon ac mewn gwledydd tramor mewn perthynas i darddiad, hanesiaeth, a pherthynasau geiriau; ac y mae wedi bod yn ofalus i gadw ei lyfr i fyny i sefyllfa bresennol y rhan hòno o lenyddiaeth. Dyma enghraifft o'i ffordd o drin rhai geiriau newyddion:—

**Plátitude**, *s.* [Fr.] A word of recent and ingenious coinage, formed after the model of *latitude*, but implying *flatness* as well as *breadth*. The *plat-* is the *English* word, *not* the Greek; the hybridism of the term subserving its purpose as a contemptuous expression. It has a congener, *platitudinarian*, to match *latitudinarian*.

Mae ei ddeffiniadau yn fanol iawn, ac yn cael eu dynodi yn drefnus â ffugrau a'r isddosraniadau â llythyrenau (*a*, *b*, *c*, &c.) Rhed y ffugrau yn achlysurol i 10 neu 12 neu ragor. Dan y gair "*take*," yn wir, nid oes llai na 64 o ystyron gwahanol yn cael eu dynodi felly, heb gyfrif yr ymadroddion cyfansawdd "*take away*," "*take down*," &c. Mae ganddo 17 o ystyron, sef o *a* i *q*, dan yr ymadrodd "*take up*." Rhoddwn y geiriau "*back*" (yr enw cadarn yn unig) a "*sight*" fel esamplau teg o'r hyn a geir dan eiriau cyffredin:—

**Back**, *s.* [A.S. *bac*, *bæc*.]
1. Hinder part of the body.
   *Turn the back.* Go away.
   *Turn the back on one.* Forsake.
2. Side of the hand which presents the nails and knuckles: (opposed to *palm* and *hollow*).
3. Rear: (opposed to *van*).

4. Place behind: part behind anything.
5. Thick edge of a knife or sword: (opposed to the *cutting* edge).

*Back and edge.* Completely.

**Sight**, *s.* [A.S. *gesiht.*]

1. Perception by the eye; sense of seeing.
2. Open view; situation in which nothing obstructs the view.
3. Act of seeing or beholding; view.
4. Notice; knowledge.
5. Eye; instrument of seeing.
6. Aperture pervious to the eye, or other point fixed to guide the eye: (as, 'The *sight* of a quadrant').
7. Spectacle; show; thing to be seen.
8. Great number, quantity, or mass; a *sight of people. Colloquial* or *vulgar.*

Man gwan y gwaith yn ein barn ni yw yr acennodiad. Bernir gan rai ysgolheigion fod yr acen yn perthyn i lafariaid yn unig, ac nad yw byth yn disgyn ar gydseiniaid. Yn unol â hyn, y llafariaid yn unig sydd yn cael eu hacennodi yng ngwaith Johnson a Todd; ac y mae Dr. Latham wedi eu dilyn yn hyn. O ganlyniad nid yw ei gyfundrefn yn arwyddo natur neu ansawdd y llafariaid; ond dengys yn unig lle mai pwys y llais yn disgyn mewn geiriau o fwy nag un sillaf. Nid oes er enghraifft unrhyw beth i awgrymu bod gwahaniaeth yn sain y llythyren *o* yn y geiriau *módal, módel, cóver, bósom*; neu yn sain *i* yn *míry, mírror, mírthful.* Pe ammheuir yng nghylch cynaniad y gair *epoch*, pa un ai *eepock* neu *eppock* y dylid ei gynanu, nid yw'r Geiriadur hwn yn rhoddi unrhyw gymhorth, gan mai yn yr un modd yr acennodir y sillaf gyntaf yn *époch, équal, épic, éver, évil, érrand, érgo.*

Heb law hyn, i'n tyb ni nid yw Dr. Latham bob amser yn acennodi yr iawn sillaf. Ef allai mai dilyn Todd y mae mewn rhai manau, ac yn cael ei reoli gan y Lladin; megys *accumulátor, declinátor, deliniátor, denominátor, proceéds* (sylweddair); er bod hyn yn groes i'r arfer bresennol; ond nid yw Todd yn awdurdodi *acceleráting, calumniáting, predestináting, eleváted, bitúminiferous, logótype,* na *popularíze;* ac am *desoláte* (perwyddiad), *dísciplinábl*e, *dísciplinábleness, márine, mánure* (sylweddair), *mánuring, speculátist, perturbáte, promulgátor, píscation,* maent yn groes i gyfarwyddiadau Todd, fel ag y maent yn tramgwyddo ein clust ni.

Ond y mae yn dda genym droi oddi wrth yr ychydig ddiffygion hyn at bethau a ellir eu canmol. Un o'r pethau hyn yw argraffwaith celfydd a threfnus y llyfr. Mae'r geiriau a restrir ynddo wedi eu gosod mewn llythyrenau breision duach na'r rhai yn yr esboniadau arnynt, ac y mae'r oll yn hynod o eglur, fel y mae yn bleser i droi y tudalenau.

Y peth olaf y cyfeiriwn ato yw bron y peth cyntaf yn y llyfr, sef y crynodeb hanesol o'r iaith Seisonig ag sydd yn blaenori'r gwaith. Cynnwysir y rhagymadrodd addysgiadol hwn mewn 43 o dudalenau, ac y mae o wir werth i efrydwyr, fel y gellid dysgwyl oddi wrth ragweithredoedd yr awdwr dysgedig. Mae yn llyfr llawn ynddo ei hun, ar bwnc sydd wedi tynu sylw ysgolheigion lluosog y blynyddoedd diweddaf; a chan fod y golygydd dysgedig wedi ymroddi dros ran fawr o'i oes i waith yn y maes hwn o lenyddiaeth, mae'r llyfr yn cynnwys ffrwyth llafur un ag sydd ganddo awdurdod i lefaru.

Nis gellir cyfrif unrhyw lyfrgell gyhoeddus yn gyflawn heb y Geiriadur llafurfawr hwn, os na byddo ynddo gyfargraff o'r pedair cyfrol y mae hwn yn dalfyriad cryno o honynt.

---

## Y DEONGLYDD YSGRYTHYROL

*Rhifyn Chwarterol I. Bethesda: W. M. Owen.*

CYHOEDDIAD misol yw hwn, y rhifynau misol wedi eu casglu yng nghyd ar ddiwedd cwarter blwyddyn. Amcenir i'r cyhoeddiad fod yn gyfrwng gwybodaeth Feiblaidd a chrefyddol, yn fwyaf neillduol i bobl ieuainc ac i'r rhai sydd yn arferol o fyned i'r

Ysgolion Sul—amcan da ag y mae'r golygydd wedi ymdrechu yn deg i'w gyrhaedd. Mae'r rhifyn ger ein bron yn cynnwys anerchiad cychwynol, rhai esboniadau ar wahanol destynau ac ar eiriau Beiblaidd o ystyr neillduol, ac ychydig ofyniadau i'w hateb yn y rhifynau dyfodol. Er nad yw'r tudalenau yn dwyn argraff llaw eglwysig, y mae yn dda genym weled tuedd at gefnogi efrydiaeth o'r Ysgythyrau Sanctaidd, gan fod y drefn newydd o addysgu plant a bleidir gan rai a ddylent wybod gwell yn alltudo'r Beibl a chrefydd y Beibl allan o ysgolion plant tlodion y wlad. Nid hyn oedd trefn Griffith Jones o Landdowror, Howel Harris, a gwladgarwyr Cristionogol ereill a safent i fyny dros eu Meistr, pan oedd yr Eglwys Gymreig yn ei thrymgwsg.

---

AN ESSAY ON DISESTABLISH-*ment, by W. Piercy Dimes. Plymouth: "Western Daily Mercury."*

Y MAE cymmaint o ysgrifenu a siarad anwybodus ar y pwnc hwn, fel nad ydyw ymddangosiad pamphled arall, yr hwn sydd yn ailadrodd cyfeiliornadau a wrthbrofwyd yn fynych, mor hynod ag y gallasem ddymuno. Ar y dechreu, er enghraifft, yr ŷm yn cael yr awdwr hwn yn dynodi gwaddoliadau yr Eglwys fel "eiddo cenedlaethol eglur," yr hyn sydd yn dangos yn ddigon amlwg na ŵyr efe ddim yng nghylch eu dechreuad a'u natur. Y mae gwaddoliadau yr Eglwys yn genedlaethol yn unig i'r un pellder ac yn yr un ystyr ag y mae gwaddoliadau Ymneillduaeth yn genedlaethol. Ni raid i farn y cyhoedd gael ei haddysgu ond cam bach ym mhellach tu hwnt i Mr. Dimes, i honi fod eiddo personol Mr. Dimes yn genedlaethol. Ni wna Communiaeth ag sydd yn marchog mor gynddeiriog dros iawnderau Eglwys, ond gwaith byr ag iawnderau personol, ac a gyhoedda nas gall oddef i Mr. Dimes ei hun ond i gadw eiddo yn ol ei hewyllys a'i phleser ei hun, ac at les y cyhoedd yn gyffredinol. Gwaddoliadau yr Eglwys ydynt ei heiddo hanfodol ei hun; a gelwir hi yr "Eglwys Genedlaethol," nid fel yn perthyn i'r genedl, ond am ei bod yn estyn ei gweinyddiadau i bawb o'r genedl a'u derbyniant. Cawn glywed yn nesaf fod Mr. Dimes yn hawlio llonaid het o arian o'r Bank of England, ar y tir fod yr enw yn profi mai ei eiddo ef ac eiddo pawb ereill ydyw. Y mae yn ysgrifenu, modd bynag, gyda chymmaint o elyniaeth yn erbyn yr Eglwys, fel y mae yn llai rhyfedd nad ydyw yn canfod ffoledd rhai o'i feddylddrychau. Yn y tudalen gyntaf y mae yn siarad am ein hoffeiriaid fel yn gorphwys ar "eu clustogau o loddest a diogi"—dysgryfiad hollol ammhriodol o'r genedlaeth bresennol o weinidogion gweithgar yr Eglwys.

Pan yr ydym yn dyfod at ei draethawd, nid ydyw pethau yn gwella. Ar y dechreu y mae yn adgoffa yr erlidigaethau ar y Pabyddion a'r Ymneillduwyr, ond ymddengys fel pe nas gŵyr i'r Pabyddion a'r Ymneillduwyr erlid yr Eglwys yr un mor ddychrynllyd, pan oedd y gallu yn eu ddwylaw. Nis gallwn chwaith dybied ei fod yn deall llawer o'i bwnc pan y mae yn goganu cymmaint ar "daliadau gwastraffus yr offeiriaid bywoliaethol." Y mae nifer lluosog o'r offeiriaid yn cael eu talu yn waeth na churadiaid; ac ystyriai y cyfreithiwr neu y meddyg ei hun yn berchen bywoliaeth wael pe y derbyniai *average stipend* yr offeiriaid. Y mae gan Mr. Dimes ddull celfyddgar, ond nid teg iawn, o chwyddo cyflogau yr offeiriaid "urddasol," trwy drethu eu "sefyllfa gymdeithasol" yn ol ychydig gannoedd o bunnau: y mae ef hefyd yn cyfrif gwerth y nawdd, ac felly yn gwneuthur y cyfanswm i ymddangos yn ddyeithrol. Er esampl, cyfrifa "sefyllfa gymdeithasol" Archesgob Caergaint yn werth dwy fil o bunnau. Yr ydym yn meddwl y dylasai gael

ei chyfrif yn union y ffordd arall, a bod yn rhaid ystyried cyllid yr Archesgob fel yn werth tua dwy fil yn *llai*, ar gyfrif y sefyllfa uchel y mae yn lanw; canys y mae yn eglur nad ydyw yr Archesgob, â phymtheg mil o bunnau y flwyddyn, mewn gwirionedd mor gyfoethog a pherson mewn sefyllfa isel ac anghyhoedd mewn bywyd ag sydd yn berchen pymtheg cant. Modd bynag, gan fod Mr. Dimes yn barnu yn wahanol, nis gwnawn ond dyweyd ein bod yn gobeithio y bydd iddo, pan yn rhoi cyfrif o'i *income* i'r *Income Tax Commissioners*, gyfrif gwerth ei "sefyllfa gymdeithasol" ei hun gyda'r un haelfrydedd.

Ai gyda'r fath gynllun tebyg y mae yn gallu rhoddi i'r Archddiaconiaid y cyflogau mawrion ag y mae yn briodoli iddynt? Yr ŷm yn addef ein bod dipyn yn ammhëus gyda'i ffugrau, ar ol gweled ei syniadau yng nghylch "sefyllfa gymdeithasol," &c. Ond braidd y gellir dysgwyl cywirdeb oddi wrth awdwr ag sydd yn honi fod "cyflogau yr offeiriaid yn ddiddadleu yn cael eu tynu o logellau y bobl." Bu amser pan y gallasai y fath siarad a hyn greu cynhwrf; ond yn ffodus y mae'r amser hwnw wedi myned, ac y mae y werin yn cyflym ddysgu gwir iawnderau a haeddiant yr Eglwys. Maent yn dysgu ei bod mewn gwirionedd yn un o'r Eglwysi mwyaf gwirfoddol yng Nghred, yn cael ei chynnal yn gyfangwbl allan o'i heiddo personol, ac oddi wrth offrymau ewyllysgar,—nad ydyw hi un geiniog yn rhy gyfoethog at y gwaith Cristionogol eang ag y mae yn ymdrechu gyflawnu trwy hyd a lled y tir,—a'i bod yn cyfiawn deilyngu serch pob un o ddeiliaid y wlad.

---

## Hanesion.

### LLANFIHANGEL Y CREUDDYN.

*Gwyl Gorawl.*—Cymmerodd gwyl gorawl le yn Eglwys Llanfihangel y Creuddyn, ddyddiau Mawrth a Mercher, Mehefin 27 a 28. Nos Fawrth intoniwyd y Gwasanaeth gan y Parch. B. Edwards, ficer y plwyf, a phregethwyd gan y Parch. W. Evans, Llangybi, a'r Parch. J. Pugh, Llanbadarn Fawr. Boreu dydd Mercher ymunodd y corau canlynol:—Llanfihangel y Creuddyn, Llantrisant, Llanafan, Yspytty Cynfyn, ac Yspytty Ystwyth. Intoniwyd y gwasanaeth boreuol gan y Parch. D. Davies, Llangorwen. Darllenwyd y llithiau gan y Parch. W. Evans, Llangybi, a'r Parch. J. Rees, Bangor, a phregethodd y Parch. W. Evans, Rhymney. Yn y prydnawn intoniwyd y *Litany* gan y Parch. J. Lewis, R.D., Llanilar, a phregethwyd gan y Parch. W. Evans, Llangybi. Yn yr hwyr intoniwyd y Gwasanaeth gan y Parch. J. Lewis, R.D., a darllenwyd y llithiau gan y Parch. A. Williams, Goginan, a'r Parch. Lewis Evans, Eglwys Newydd, a phregethodd y Parch. D. Davies, Llangorwen, a'r Parch. W. Evans, Rhymney. Chwareuwyd yr *Harmonium* gan Mrs. Lloyd, Abermagwr. Llafuriodd y Parch. B. Edwards yn ddiwyd i hyfforddi y corau, ac aeth y canu heibio yn foddhaol a chanmoladwy. Yr anthemau oeddynt "Hynod yw Duw yn Iwdah," "Ai gwir yw," a "Marwolaeth y Cyfiawn." Yr oedd yr hin yn ddymunol iawn, a daeth tyrfa luosog yng nghyd nes yr oedd pob man o'r Eglwys yn llawn. Dangoswyd caredigrwydd mawr drwy barotoi ymborth ar gyfer y cantorion a dyeithriaid ereill gan y teuluoedd canlynol:—Y Parch. B. Edwards, ficer; Mr. Evans, Penuwch Fach; Mr. Jenkins, Tanllan; Mr. Jones, Abertrinant; Mr. Steadman, Pendre; Mr. Jones, Abermagwr; Mr. Evans, Alltfedw; Mr. Roberts, Ysgolfeistr; Miss Davies, Cynon Fawr; Mrs. Rowlands, Farmer's Arms; Mr. Rowlands, Cynon Fach; Mr. Griffiths, Lisburne Arms; Mrs. Edwards, Llwynfynwent; Mrs. Jones, Shop; Mr. Davies, Llwyn-du; Mr. Hughes, Llain-ddu; Mrs. Roberts, Frondale; a Mrs. Edwards, Penlan-uchaf.

### NODIADAU Y MIS.

*Mr. Henry Richard a'r Eglwys.*—Nid oes un dyn yn gallu chwythu oer a brwd braidd â'r un anadl yn well na Mr. Henry Richard, A.S., yr *Ex-reverend* o Moorfield. Y mae yn arfer pregethu heddwch am unrhyw bris, cyflafareddiad, &c.; ac ar yr un pryd y mae ef yn cario y rhyfel ym mlaen hyd at y gyllell yn erbyn Eglwys Lloegr a'r ysgolion enwadol. Nid yw yn gadael i un cyfle fyned heibio heb iddo daflu ei *shells* ati, neu at y tirfeddianwyr—gelynion naturiol yr aelod anrhydeddus dros Ferthyr. Gallwn feddwl fod Ty y Cyffredin wedi cael digon ar areithiau Mr. Richard: yr un peth o hyd, cân y grêc-grêc yn y gwair. Y nos o'r blaen gwnaeth floedd-araith ffyrnig yn erbyn yr Eglwys a'i hysgolion pan oedd Bil Addysg

Arglwydd Sandon o flaen y Ty. Gwrthododd y Ty fel arferol i fabwysiadu golygiadau Mr. Richard y tro hwn eto. Nis gallodd er ei holl hyawdledd trymaidd berswadio dim ond 99 i'w bleidio allan o 416. Rhoddodd arweinydd y Rhyddfrydwyr ei bleidlais yn ei erbyn. Ni wnaeth dim ond un o aelodau Gweinyddiaeth Mr. Gladstone roddi ei bleidlais iddo. Yr oedd gorchfygiad Mr. Richard yn drwyadl; hyderwn y bydd hyn yn dipyn o addysg iddo rhag llaw, canys y mae yn amlwg nad i'w efe ddim ond curo ei ben yn erbyn y mur. Mae yn ymddangos mai breuddwyd bywyd Mr. Henry Richard yw dinystrio yr Eglwys a'i hysgolion; ond mae ei holl gynlluniau hyd yn hyn wedi methu. Yn ol tystiolaeth Mr. Henry Richard ei hun, y mae yn ymddangos fod 14,000 o ysgolion Eglwysig yng Nghymru a Lloegr; ac mewn deuddeg mil o blwyfi nid oes un ysgol ond ysgolion yr Eglwys. *Ergo* y mae Mr. Richard yn cael ei flino wrth feddwl fod addysg y to ieuainc dan ofal yr offeiriaid. Mae hyn yn profi fod yr Eglwys yn effro, ac yn gwneyd ei rhan i addysgu y genedl; ond y mae yn well gan Mr. Richard a'i blaid weled y plant yn tyfu i fynu mewn anwybodaeth, serch fod Mr. Dale a Mr. Dixon, y rhai sydd yn perthyn i'r un blaid, yn dywedyd fod yn well ganddynt weled y plant yn myned i ysgolion yr Eglwys na bod heb eu haddysgu o gwbl. Nid oes dim llai nag ugain mil o offeiriaid yn Lloegr; ac yn ol tystiolaeth Mr. Richard, arwyddodd 480 o offeiriaid gofeb i ofyn am ganiatâd i dderbyn cyffesiadau. Gofynodd yn fuddugoliaethus a ydyw dynion o'r fath yn addas i gymmeryd gofal addysg plant? Nid yw hyn ddim werth sylwi arno; dim ond 480 allan o 20,000. Nid oedd dim hanner yr hyn a ddywedodd efe yn perthyn i'r pwnc. Beth oedd a fynai tirfeddianwyr â'r mater o gwbl? Ond methodd yn lân â myned heibio heb roddi cilgwth i'r tirfeddianwyr. Cyhuddodd yr offeiriaid o erlid plant yr Ymneillduwyr trwy wrthod gwobrau a *tea parties* i'r plant. Nid oes achos dywedyd nad oes dim gair o wirionedd yn hyn. Os oedd ef yn alluog i brofi ei bwnc, paham na fuasai iddo brofi hyn pan alwyd arno i wneyd hyn yn y Ty? Ni wnaiff haeriadau ddim o'r tro Mr. Richard, y mae yn rhaid iddo roddi ffeithiau plaen cyn y gallwn ei goelio. Y gwir yw y mae Mr. Richard yn hollol anwybodus am Gymru; nid yn aml y mae ef i'w weled ynddi. Nid yw y Merthyriaid a'r Aberdariaid ddim yn ei weled ond unwaith yn y flwyddyn; ac o ganlyniad y mae ef yn cymmeryd ei barabl o ddrws rhyw gapel neu gilydd. Nid yw Mr. Richard yn foddlawn i arian y Llywodraeth gael eu defnyddio i dalu at gyfranu at ysgolion sydd yn dysgu credoau a phaderau; ond nid oes dim niwed i arian y Llywodraeth fyned i dalu Ysgolfeistr sectol fel y gwnaed yn Nhwyn yr Odyn, pan ddewiswyd Ysgolfeistr sectol.

*Pregethau Marwaidd.*—Cynghorai ysgrifenydd yn Macmillan i'r offeiriaid a'r pregethwyr i astudio yr hyn a eilw y Canon Liddon, yr ochr Shakespearaidd o grefydd. "Astudiwch ddynion a'u moesau; sylwch ar fywyd dynol; meddyliwch pa fodd mae ereill yn teimlo, a'r anhawsder sydd ar eu ffordd; edrychwch o gwmpas am awgrymiadau, fel y dywedodd Deon Caergaint; rhoddwch eich pregethau yng ngwlych yn nechreu yr wythnos, ac adeiladwch yr hanner ymarferol o honi allan o'ch profiadau yn y plwyf. Gochelwch y cysgodau a'r gwrthgysgodau tragwyddol mewn pregethau, megys fod y ceryg yn nwylaw Dafydd pan yn lladd Golïath, yn arwyddo y sacramentau a gordderchadon Iacob yn gysgodau o Ymneillduaeth. Amcanwch at bregethau ymarferol; gofynwch i hanner dwsin o brif ddynion yn eich plwyf, a dywedwch wrthynt beth yw y pwnc yr ydych yn myned i bregethu arno; bydd iddynt deimlo dyddordeb a'u dwyn i'r Eglwys yn ddiffael. Meddyliwch eich bod yn myned i siarad penderfynolrwydd cymmeriad; gall y masnachydd roddi i chwi ffeithiau oddi ar brofion personol am flynyddoedd; gall y siopwr neu y crydd Radicalaidd (mae y rhan fwyaf o gryddion yn Radicaliaid) ychwanegu eich stôr; gall yr ysgolfeistr ac un neu ddau ereill eich cynnorthwyo, yn lle cyffredinolrwydd moel; cewch fwy o fater na fydd eisieu arnoch; gallwch fesur eu galluoedd meddyliol, roddi meddyginiaeth fel gwin y phisygwr ar ol teimlo curiadau y gwaed." Pe buasai i'r offeiriaid ymddiried mwy ar y bobl, a gwneyd cyfeillion mynwesol o honynt, fe fyddai iddynt oddef gael eu trefnu, a bydd iddynt wrandaw yn astud. Gall y person sydd yn byw ar ben ei hun, yr hwn sydd yn myned o'i fyfyrgell i'r pulpud, ac o'r pulpud i'w lyfrgell fod yn Ddifynydd da; ond mae ei saethau ar y suliau yn cael eu gollwng dros benau ei gynnulleidfa; yr ŷm wedi ac yn clywed llawer o bregethau o'r un natur. Cynghora offeiriaid ieuainc i ddarllen yr *Arabian Nights*, er rhoddi eglurhâd ar lyfr Esther neu hanes Daniel, a gwaith Thackery, os yw yn pregethu i bobl *fashionable*; neu weithiau Dickens os yw yn pregethu i'r dosbarth iselaf. Cewch yma ddysgryfiad o'r tad yn dysgwyl bob dydd am ddychweliad y mab afradlon. Yr oedd Crist yn tynu addysg oddi wrth bethau fel yr oeddynt yn ei amser ef. Canlyn ei esampl ddylai yr offeiriaid; cael allan bethau yn gyfatebol i'w ddammegion. Nis gellir cadw y llythyren, ond bydd i'r ysbryd barhau hyd ddiwedd amser. Dylai pregeth fod yn galonog, a'r iaith yn gartrefol, ac yn

**dwyn cyssylltiad â'r hyn oedd wedi bod dan** eu sylw yr wythnos flaenorol. Yng nglŷn â'u treialon a'u gofidiau, ni fydd un perygl iddynt fod yn farwaidd. Rhybuddiodd Esgob Winchester yr offeiriaid i beidio talu cymmaint o sylw i heresiau a sismau, yr rhai sydd wedi cymmeryd lle er ys llawer dydd. "Peidiwch treulio eich amser i ymladd â rhai byw."

*Y Cwestiwn Dwyreiniol.*—Yn ol pob ymddangosiad nid oes un gobaith am gael dadl Seneddol ar y pwnc uchod, yr hon oedd yn cael ei pharotoi trwy Ddyddiau'r Cŵn. Blinodd Mr. John Bright ar ddysgwyl am ddadl. Un diwrnod cerddodd ef a Mr. Henry Richard ac aelodau Cymdeithas Heddwch lawr i Whitehall, i ofyn i Iarll Derby yn dawel beth oedd, a pheth yw, a pheth fydd ei *bolicy* o hyn allan. Ar ol clywed beth oedd gan yr Iarll i ddywedyd, aethant i'w ffordd wedi cael eu boddloni, a rhoddasant ollyngdod i'r Iarll oddi wrth yr holl gamweddau a ddygodd Mr. Freeman, yr hynafiaethydd, yn ei erbyn. Mae y Senedd bresennol yn tynu at ei therfyn. Cymmer ciniaw Maer Llundain le ar yr ail o'r mis hwn. Sibrydir nad yw iechyd Mr. Disraeli yn dda, a'i fod yntau fel Mr. Gladstone yn neillduo fel arweinydd Ty y Cyffredin. Dichon nad oes dim mwy o wirionedd yn hyn nag oedd fod y Weinyddiaeth wedi ymranu. Ni anfonwyd ein llynges i Besika Bay i fygwth Rhwssia na dal i fyny y Sultan yn erbyn ei ddeiliaid. Ugain mlynedd yn ol meddai Iarll Derby darfu i ni gymmeryd y gwaith o gadw y Dyn Claf rhag cael ei lofruddio; ond ni ddarfu i ni addaw ei gadw rhag angeu anamserol o hunan-laddiad. Os yw Ymherodraeth Twrci i ymollwng o herwydd achosion tufewnol, y mae yn amlwg nas gall un gallu allanol ei dal yng nghyd. Nid yw y llynges Brydeinig yn ddigon galluog i wneyd hyn; os yw Twrci yn marw, nid yw yn marw o eisieu Tyrciaid.

---

PENNILL I J. B. BOWEN, YSW., A.S.

Etholwyd Meistr Bowen
Yn farchog dros y sir,[1]
Boed iddo lwydd a iechyd
I gadw'i sedd yn hir;
Boed gwenau doeth Ragluniaeth
Ar deulu hoff Llwyngwair,
A'r nefoedd wnelo'u derbyn
Drwy Fab y Forwyn Fair.

R. H. Dyfed.

[1] Penfro.

---

ESGORODD,

Brigstocke—Gorph. 22, yn Heol y Prior, priod Mr. T. E. Brigstocke, ar fab.

De Rutzen—Gorph. 4, yn Dirleton, priod Albert de Rutzen, ar fab.

PRIODWYD,

Male—Norton—Meh. 28, yn Eglwys Sant Pedr, Belsize Park, Henry Davies Male, â Julianna, merch J. Howard Norton, M.D., Nantglas, Caerfyrddin.

BU FARW,

Beynon—Gorph. 4, yn Heol yr Eglwys, Anne, gweddw Mr. Thomas Beynon, a merch y diweddar Mr. Prydham, cyfferïwr, o'r dref hon, 83 oed

Lewis—Gorph. 17, Melissa Mary, priod Mr. Benjamin Lewis, goruchwyliwr Nwyweithfa Caerfyrddin, 43 oed.

Lloyd—Gorph. 19, yng Nghilfach Wen, Llandyssul, Thomas Charles Lloyd, llawfeddyg, ail fab y diweddar Barch. Thomas Lloyd, o'r un lle, 32 oed.

Walters—Gorph. 12, yn Heol y Farchnad, Llanymddyfri, Mr. Watkin Walters, 74 oed.

Williams—Gorph. 5, Elizabeth, anwyl briod y Parch. B. Williams (Gwynionydd), yn 55 mlwydd oed, ar ol dyoddef cystudd blin am amser maith.

Y LLITHIAU PRIODOL, AWST, 1876.

| Gor. | Suliau a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 2 Sul | 3 Sul gwedi'r Drindod | 1 Sam. ii. hyd 27<br>Actau x. hyd 24 | 1 Sam. iii., neu iv. hyd 19<br>1 Ioan v. |
| 9 Sul | 4 Sul gwedi'r Drindod | 1 Sam. xii.<br>Actau xv. hyd 30 | 1 Sam. xiii., neu Ruth i.<br>Mat. iv. hyd 23 |
| 16 Sul | 5 Sul gwedi'r Drindod | 1 Sam xv. hyd 24<br>Actau xix. 21 | 1 Sam. xvi., neu xvii.<br>Mat. viii. hyd 18 |
| 23 Sul | 6 Sul gwedi'r Drindod | 2 Sam. i.<br>Actau xxiii. 12 | 2 Sam. xii. hyd 24, neu xviii.<br>Mat. xii. hyd 22 |
| 25 Maw | Sant Iago, Apostol a Merthyr | 2 Bren. i. hyd 16<br>Luc ix. 51—57 | Ier. xxvi. 8—16<br>Mat. xiii. hyd 24 |
| 30 Sul | 7 Sul gwedi'r Drindod | 1 Cron. xxi.<br>Actau xxviii. 17 | 1 Cron. xxii., neu xxviii. hyd 21<br>Mat. xv. 21 |

CARMARTHEN:

Printed and published by William Spurrell, at his Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Monday, the 31st of July, 1876.

# YR HAUL.

Cyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIF. 237. | MEDI, 1876. | CYF. 20.

## CYFRES FER O BREGETHAU ER AMDDIFFYNIAD Y FFYDD.

### GWYRTHIAU.—VII.

"Yr ynfyd a ddywedodd yn ei galon, Nid oes un Duw."—SALM xiv. 1.

ARWEINIODD ein hymresymiad ni o gam i gam mewn atebiad i wrthddadleuon, nes gwneyd y casgliad yn eglur bod achosiaeth gwyrthiau mor gredadwy ag achosiaeth unrhyw ymddangosiad naturiol cyffredin, *os* oes Duw yn bod, *ac* yn ewyllysio defnyddio ei allu ar natur i gyflawnu gwyrthiau.

Ond mae y ddau osodiad angenrheidiol yna yn cael eu gwadu. Gwadir nad oes Duw; gwadir ei ewyllys i gyflawnu gwyrthiau; gwadir gan y Deistiaid ei ewyllys, a chan fod yr wrthddadl hon yn galw am sylw yn fwy priodol, pan byddwn yn ystyried dyben gwyrthiau fel arwyddion, ac nid eu hachosiaeth fel ymddangosiadau anghyffredin ac eithradol, ni a'i gadäwn o'r neilldu, ac ai ohiriwn ei ystyriaeth yn bresennol. Tröwn ynte at yr wrthddadl yn erbyn gwyrthiau ar y tir nad oes Duw yn bod. Dyma'r ffurf fwyaf eithafol o anghrediniaeth. Mae yn turio dan wraidd y cwestiwn o achosiaeth. Os nad oes Duw, nid oes achos digonol yn bod a all greu gwyrthiau.

Angenrheidiol iawn yw sylwi yn y lle cyntaf ar y dull ym mha un y codir yr wrthddadl atheistaidd yn gyffredin yn ein dyddiau ni. Nid llawer sydd yn haeru yn noeth nad oes Duw, ac ni ymdrechant chwaith *brofi* nad oes Duw. Y dull o ddadleu yw haeru na *wyddom* fod Duw, nad yw'r profion a ddygir dros ei fodolaeth yn ddigonol.[1] Mae o bwys nodi y gwahaniaeth, canys er mai'r gosodiad olaf yw'r hwn a broffesir ac a amddiffynir, sef nad oes prawf digonol dros y bod o Dduw, mae angen am y gosodiad arall, sef nad oes Duw, i roi nerth i'r wrthddadl yn erbyn gwyrthiau.

Sylfaen eu hymresymiad yw natur eto. Mae natur yn gyfansoddedig, meddant, yn y fath fodd, fel nad yw ei hymddangosiadau (*phenomena*) yn *gofyn* arnom gredu mewn Duw. Mae teyrnasiad deddf yn ddigon i roi cyfrif am y cwbl a welwn heb Dduw. Ar y llaw arall, mae gwyrthiau yn gofyn arnom gredu mewn Duw, canys nis gellir rhoi cyfrif am eu

[1] Mae pleidwyr y farn yma yn hoffi galw eu hunain wrth yr enw Agnosticiaid.

hachosiaeth mewn un ffordd arall. Mae natur a gwyrthiau, gan hyny, yn anghysson â'u gilydd.

Mae yma dwyll-resymeg amlwg. Mae'r casgliad a dynir yn galw arnom i addef fod natur yn gofyn arnom, ïe yn ein gorfodi, i wadu y bod o Dduw, ac nid ei bod yn ddibrawf o Dduw. Un peth yw caniatäu bod natur yn ddibrawf o Dduw, peth arall fod natur yn profi nad oes Duw. Un peth yw peidio gweled unrhyw brofion dros Dduw mewn natur, peth arall yw gweled profion yn erbyn y bod o Dduw mewn natur; eto, mewn geiriau ereill, nid yw natur yn gofyn i ni gredu, dyna un peth; mae natur yn gofyn i ni beidio credu, dyna beth arall. Mae deddf naturiol, fe ddichon, yn rhoi cyfrif digonol heb Dduw am ymddangosiadau naturiol, ond nid yw hyn yn brawf nad oes Duw. Dengys yn unig, os felly, nad yw natur ei hun yn ddigon i benderfynu y cwestiwn o fodolaeth Duw.

Mwy teg yw ymresymu oddi wrth yr hyn sydd eglur at yr hyn nid yw eglur. Mae gwyrthiau yn ddiammheuol yn galw am achosiaeth dwyfol; dylid priodoli natur, gan hyny, i'r un achosiaeth; yr unig atebiad i hyn fyddai profi nas gellir priodoli natur i achosiaeth dwyfol, neu mewn geiriau ereill fod ymddangosiadau naturiol o'r fath ag i'w gwneyd yn ammhosibl credu fod Duw. Ond nid dyma'r tir a gymmerir gan anghredinwyr yr oes; ni ddywedant fod natur yn profi nad oes Duw: gwadant fod profion o'i fodolaeth ynddi.

Amlwg yw, gan hyny, nad yw y tir a gymmerir ganddynt yn ddigon dros y casgliad fod gwyrthiau yn anghredadwy; ond er nad ydynt yn ddigon i brofi hyn, maent, os gwir, yn ddigon i gadarnhau casgliad arall pur bwysig, sef bod yn rhaid i ni ymddibynu ar wyrthiau i brofi y bod o Dduw. Rhaid i bwys y prawf dros ei fodolaeth orphwys ar wyrthiau, canys os gellir rhoi cyfrif am natur heb Dduw, ni ddylid cymmeryd ei fodolaeth eisoes yn ganiataol pan yn dadleu dros gredinolrwydd gwyrthiau.

Yn awr, mae yr Ysgrythyr yn cymmeryd bodolaeth Duw yn ganiataol. Mae perthynas natur ag ef fel ei hawdwr, yn ol ei thudalenau, yn ffaith addefedig cyn dygwyddiad y wyrth; mae y berthynas yma yn esboniad o'r wyrth yn ei hachosiaeth. Nid oes un wyrth yn yr Ysgrythyr er mwyn profi bodolaeth Duw i'r rhai na chyfaddefant hyny yn flaenorol. Pa un, gan hyny, a ellir rhoi cyfrif digonol am natur heb Dduw ai peidio sydd bwnc pwysig, canys ymddibyna ar yr atebiad, pa un a oes genym hawl i gymmeryd yn ganiataol berthynas Duw â natur fel esboniad o wyrthiau, neu nad oes; ac os nad oes hawl genym, yna rhaid profi y bodolaeth o Dduw oddi wrth wyrthiau.[1]

Aroswn yn awr am ysbaid i gymmeryd golwg ar y cwestiwn a godwyd i'n hystyriaeth. Gwelsom fod pob ymddangosiad naturiol yn cael ei ddadblygu a'i olrhain gan wyddoniaeth i weithrediad sylwedd a gallu y naill ar y llall yn ol deddf gysson a digyfnewid. Weithiau, yn wir yn fynych, mae ein cred eu bod felly yn ymddibynu, pan fo elfenau yr ymddangosiad yn aneglur, ar gyfatebiad; ond pa bryd bynag mae'r elfenau mewn gweithrediad yn adnabyddus, amlwg yw fod y tri elfen, sylwedd, gallu, a deddf (*matter, force, and law*), yn ddigon i roi cyfrif am yr ymddangosiadau. Nid afresymol ar yr olwg gyntaf yw casglu y gellir rhoi cyfrif am natur i gyd yn yr un modd.

Tra golygwn ymddangosiadau yn eu cyfeiriad unigol, mae'r casgliad

---

[1] Hyny yw, fel awdwr a llywodraethwr natur, ac nid fel llywodraethwr moesol. Mae'r ddau beth yn wahanol. Nid yw y profion dros lywodraethwr moesol yn dangos ei fod yn un â llywodraethwr natur; am hyny, ni chyffyrddir â hwynt yma.

yn gyfiawn; ond os edrychwn ar natur yn ei chyfanswm, mae yn ammhosibl meddwl fod y casgliad yn iawn—meddwl gall sylwedd, gallu, a deddf roi cyfrif am y cwbl.

Enwaf dri o resymau er cadarnhâd i'm golygiad.

1. Nis gall sylwedd, gallu, deddf roi cyfrif am eu *bodolaeth* eu hunain.

2. Nis gallant roi cyfrif pa ham maent mewn gweithrediad parhäus, ac nid mewn cyflwr o lonyddwch a chyfartalbwysedd; in a state of activity and not of passivity or equilibrium.

3. Nis gallant roi cyfrif am addasiad eu gweithrediadau at ddybenion neillduol, ac yn enwedig at lesoli dynolryw a chreaduriaid ereill. Heb law y pethau hyn mae pethau ereill hefyd o'r rhai ni roddant gyfrif perthynol i wyddorau neillduol (*particular sciences*), ond nid oes angen son am danynt. Digon fydd dangos yn fyr ergyd y tri pwynt cyffredinol a enwyd, tri pwynt sydd hefyd wir yn yr un modd mewn cyssylltiad â gwyddoniaeth yn gyffredinol.

1. Nis gall sylwedd, gallu, deddf, roi cyfrif am danynt eu hunain. Braidd mae yn angenrheidiol gwneyd y sylwad. Nid yw yr ymddangosiadau a welir ar faes natur yn meddiannu gallu creadigol, ac mor belled ag y deallwn, nis gallant chwaith. Maent i gyd yn gynnwysedig hollol o gyssylltiadau (*combinations*). ymddattodiadau (*decomposition*) a thrawsffurfiadau (*transformations*). ond nid byth o greadigaeth neu ddiddymiad (*creation or annihilation*). Os oes cyfrif, gan hyny, i'w roi am fodolaeth sylwedd, gallu, deddf, mae i'w gael trwy ddychymmygu rhyw ddylanwad arall tu allan iddynt, a'r dylanwad hwnw yn medru gwneyd pethau hollol uwch law effaith sylwedd, gallu, deddf. Yn y golygiad yma cyfeiria Natur ei hun ni at Greawdwr; eto ar ben ei hun nis gellir gwasgu y casgliad, canys nid yw yn berffaith eglur fod y meddwl dynol yn gweled fod angenrheidrwydd rhoi cyfrif am fodolaeth sylwedd, gallu, deddf. Mae yn amlwg nad yw eu bodolaeth yn fater o *angenrheidrwydd*, hyny yw, na fuasai ei difodolaeth (*non-existence*) yn cael ei ystyried yn anghredadwy; ond ar y llaw arall nid yw y dybiaeth o'u tragwyddol ddechreuad yn creu unrhyw anhawsder i'r meddwl. Yn wir os cydbwyswn ni y ddau bosiblrwydd y naill yn erbyn y llall, h.y., os credwn iddynt fodoli er tragwyddoldeb, neu os credwn iddynt ddyfod i fodoloeth ar ryw adeg benodol, mi a feddyliaf fod y cyntaf, tra cedwir y drychfeddwl o Dduw o'r golwg, yn hawddach na'r ail i'r rhan fwyaf o ddynion. Ond cyn gynted ag y cawn afael unwaith yn y drychfeddwl o Dduw, mae y syniad fod natur o dragwyddol darddiad neu yn ddiddechreuad yn dyfod yn llawn o anhawsder, ac arweinir ni i gredu mewn creadigaeth. Nid yw'r anhawsderau cyssylltedig â'r syniad o dragwyddoldeb natur, trwy ba rai yr arweinir y meddwl i gredu mewn creadigaeth, yn dyfod i'r golwg nes byddom wedi cael hyd i'r drychfeddwl o Dduw. Os felly, mae yn amlwg nas gallwn yn y modd hwn gael hyd i'r drychfeddwl o Dduw.

2. Nid yw bodolaeth sylwedd, gallu, a deddf, yn rhoddi unrhyw gyfrif pa ham maent mewn symmudiad yn hytrach nag mewn llonyddwch neu gyfartal-bwysedd (*in a state of activity rather than of passivity or equilibrium*). Dyna bwnc yng nghylch yr hwn y gofyn y meddwl dynol am esboniad, nis gall orphwys hebddo. Pan welir unrhyw wrthddrych mewn llonyddwch, megys careg, os na fydd y llonyddwch yn arwyddo symmudiad blaenorol ni theimlir unrhyw raid i ofyn pa ham mae yn llonydd. Mae ei fod felly yn ymddangos yn naturiol, ac nid yw yn galw am esboniad, ond cyn gynted ag y gwelwn y gwrthddrych yn symmud, arweinir ni i ofyn ar unwaith (os na

wyddom o'r blaen) pa ham mae yn symmud, neu pa beth sydd yn achosi y symmudiad? Mae symmudiad neu weithrediad yn gofyn am esboniad o'i achos. Mae symmudiad yn effaith, am hyny rhaid bod achos. Ar y llaw arall nid ydyw llonyddwch neu gyfartal-bwysedd, fel y gwelsom, yn galw o angenrheidrwydd am esboniad. Gan ei bod yn reddf yn y meddwl dynol i ofyn am gyfrif ac esboniad o gyflwr o symmudiad, bydded i ni holi i ba raddau mae gwyddoniaeth yn boddloni ac yn cyfarfod â'r teimlad yma. Cydnabyddiaeth o'r teimlad yma, ac arwydd i'w foddloni, ydyw prif gychwyniad gwyddoniaeth. Pa mor belled y boddlona gwyddoniaeth yr awydd hwn? Mae gwyddoniaeth yn dadddyrwyn ymddangosiadau i gyssylltiadau neillduol o sylwedd a gallu o dan reolaeth deddf, a dywedir yn briodol mai dyma achosion yr ymddangosiadau. Ond yr oeddynt yn achosion mewn gweithrediad cyn i'r ymddangosiadau gymmeryd lle, onid e ni feddiannent y nerth i greu y fath effeithiau yn awr, o herwydd eu bod mewn gweithrediad: yr oeddynt yn achosion; eto o herwydd eu bod mewn gweithrediad, ac nid mewn llonyddwch, mae angen rhoi cyfrif am danynt hwythau hefyd. Pa fodd daeth yr achosion hyn i fod mewn gweithrediad? Yn y modd hyn fe'n harweinir yn ol at restr arall o achosion—y rhai yma hefyd drachefn, gan eu bod mewn gweithrediad, yn gofyn am gyfrif o'u achosion hwythau. Ac felly gam ar ol cam i achosion achosion yn ol o hyd nes bod rhaid i ni aros, nid o herwydd fod yr anhawsder wedi ei symmud a boddlonrwydd wedi ei gyrhaedd, ond o herwydd, mewn gair, fod cadwyn yr achosion wedi myned allan o'r golwg. Nid yw o un gwahaniaeth pa nifer o fachau sydd yn y gadwyn: am y peth a geisiwn—mae mor belled o'n golwg, mor belled o'n cyrhaedd yn y diwedd ag yn y dechreu. Diammheu fod pob bach yn rhoi cyfrif cyflawn am a ganlyn yn ymddibynu arni, ond gan fod y rhai hyn hefyd yn gofyn am gyfrif yn yr un modd a'r lleill, nid yw yr anhawsder wedi ei leihau ddim eto.

Nid ydyw yn atebiad i ddyweyd fod deddfau naturiol yn achosi sylwedd a gallu i weithredu. Deddfau naturiol yw y geiriau a ddefnyddiwn i hysbysu y modd cysson ym mha un mae sylwedd a gallu yn gweithredu, ac yn rhwym o weithredu. Ond un peth yw deddf yn achosi gweithrediad, peth arall hollol yw deddf *o'r dull a'r modd* ym mha un yr achosa weithrediad. Er enghraifft, mae yn ddeddf fod gwres yn toddi ia, ond nid yw yn canlyn o herwydd hyny fod ia yn cael ei doddi: rhaid cael y sylwedd a'r gallu, y gwres a'r ia, i gyssylltiad â'u gilydd, a'r gwres hefyd mewn angerdd digonol cyn toddir yr ia. Gweithreda'r ddeddf yn gysson dan yr un amgylchiadau, ond nid yw deddf yn dywedyd pa fodd daeth y sylwedd a'r gallu i gydgyffyrddiad â'u gilydd. Lle bynag mae ymddangosiad *(phenomenon)* yn achosi un arall yn uniongyrchol, ac ereill wedyn yn ganlynol, dywedir yn gyfiawn mai deddf sydd trwy weithrediad sylwedd a gallu yn achosi y canlyniad cyntaf, a'r canlyniadau olynol, ond nid yw deddf yn rhoi cyfrif pa fodd daeth sylwedd a gallu yr ymddangosiad cyntaf i fodolaeth. Os dywedir mai ymddangosiad blaenorol a'i hachosodd yntau hefyd, ac felly mai deddf oedd yr achos—gwir; gwir hefyd yn ol ac yn ol, nes bo'r achos cyntaf, pen y gadwyn, o'r golwg. Er mor belled yn ol y gallwn ddilyn yr ymddangosiadau blaenorol, mae'r meddwl o hyd yn gofyn am yr achosiaeth cyntaf.

Nid anhawsder chwaith yw hwn yn deilliaw oddi wrth ddeddfau angenrheidiol y meddwl dynol. Mae yr un anhawsder yn ein cyfarfod mewn ffurf sylweddol yn yr hyn a wyddom am *ddiraddiad gallu* (*the degradation*

*of force*): ond beth sydd i ni ddeall wrth ddiraddiad gallu?

Er mwyn creu unrhyw ymddangosiad naturiol, rhaid fod gallu cyfaddas yn bresennol, nid yn unig mewn digonedd o ran mesur, ond hefyd o ran angerddolder. Os lleihëir yr angerddolder trwy unrhyw fodd, ni chanlyn yr effaith bellach, er chwanegu yn helaeth at faint y gallu sydd yn bresennol. I roddi enghraifft yn fras: cymmerwch ffwrnais at doddi haiarn bwrw: yn awr gwyddom fod hyn a hyn o danwydd yn ddigon i doddi hyn a hyn o haiarn, gadëwch iddo fod yn gan pwys; yn lle llosgi y tanwydd yn y ffwrnes, ni a'i cymmerwn ac a'i defnyddiwn i ferwi dwfr mewn peiriant darparedig yn y fath fodd ag i gyfyngu y gwres yn y dwfr heb golli dim o hono mewn agerdd. Byddai y gwres i gyd yn bresennol yno yn y dwfr, sef y gwres digonol i doddi can pwys o haiarn; ond er hyny nis gallem ddefnyddio y gwres sydd wedi ei grynoi yn y dwfr i doddi'r haiarn. Mae yno ddigon o wres, ond nid yw yn ddigon angerddol, o herwydd ei fod wedi ei ddefnyddio yn gyntaf i ferwi y dwfr. Nis gellir ail-grynoi byth y gwres sydd yn y dwfr berw yn ei ddull angerddol cyntefig.

Mae yr un peth yn cymmeryd lle bron ym mhob ymddangosiad. Mae swm y galluoedd yn ddileihâd, ond mae colliant yn yr angerddolder. Er fod cyfanswm y gallu yn bodoli, nid yw bellach yn medru cyflawnu yr hyn a fedrai o'r blaen. Mae ei gymhwysder i greu effeithiau wedi myned yn llai.

Eithriadol iawn yw y gwrthwyneb, sef cynnydd yn angerddolder gallu naturiol, a phan gymmer le, mae yn bur debyg fod y cynnydd yn cael ei ganlyn gan fwy na diraddiad cyfatebol. Beth bynag am hyny, nid yw yr eithriadau achlysurol all fodoli yn ddigon i achosi ammheuaeth yng nghylch y tueddiad cyffredinol i ddiraddiad.

Mae deddf diraddiad i'w weled yn natur, ac mae y cwestiwn yn cyfodi, a ydyw natur yn feddiannol ar ystôr diddiwedd o alluoedd i wneyd i fyny am y diraddiad. Os oes, beth a'i hachosodd? o ba le daeth y dechreuad? canys mae diraddiad yn arwyddo dechreuad nas gall deddfau naturiol roi cyfrif am dano.

Gyda'r amnaid hyn i'r casgliadau pwysig a fwriadwn ei dynu nesaf, ni a derfynwn gan ddywedyd mae ein hamcan fydd profi nad oes neb ond yr ynfyd a ddywed yn ei galon nad oes un Duw.

D. W. THOMAS.

*Gorphenaf* 31, 1876.

---

## EMYN.

DOSBARTHWR pob peth,
  A'n Barnwr i gyd,
Sy'n dewis heb feth
  Rai isel eu bryd;
A rhai heb ddim rhagor
  I'w agor i'r byd
A gludant y Trysor
  Anhebgor o hyd.

Y llestri pridd brau
  A ddryllir cyn hir,
Ond drwyddynt yn glau
  Ceir llewyrch y gwir;
A thanbaid belydrau
  Y golau yn glir,
Fel mellt drwy gymylau,
  Taranau drwy'r tir.

Y cawod ar hynt
  Mewn cwmwl y daw,
Ar olwyn y gwynt,
  Dros foroedd o draw;
Efengyl o enau
  Cenadau di-daw,
Fel mellt a tharanau,
  Cawodau o wlaw.

Eu geiriau fel hyn
  A gerddant drwy'r byd,
A Satan a gryn,
  A'i gestyll i gyd;
Fel cadarn fur cryno
  Hen Ierícho glyd,
Y corn hwrdd a gano,
  I'w cwympo mewn pryd.

Yr udgorn mawr croch,
  Lleferydd eu ffydd,
A'n deffry fel cloch
  O'n trymgwsg ar ddydd;

A llewyrch eu lampau,
Yng nghysgod nos drydd,
Fel dysglaer wybrenau
Y borau y bydd.

*Cyf.* GLANMOR.

---

## HANES TRIGOLION, DEFODAU, AC OFERGOELION EWROP CYN CRED.

*Cyfieithad Glanmor—"Germania" Tacitus.*

(*Parhâd o dudalen* 236.)

### XXXVIII.—Y SUEVIAID (SWABIAID).

YN awr rhaid siarad am y Sueviaid, o ba rai nid un llwyth sydd, fel i'r Cattiaid ac i'r Teucteriaid, canys meddiannant y rhan fwyaf o'r Almaen; eto yn wahanedig i briodol wladwriaethau ac enwau, er eu galw yn gyffredin yn Sueviaid. Arwydd-nod y genedl yw torchi gwallt, ei rwymo yn gwlwm. Fel hyn y gwahaniaethir hwynt oddi wrth yr Ellmyn ereill, ac fel hyn y gwahaniaethir priodorion oddi wrth gaeth-weision. Ym mysg llwythau ereill, pa un ai drwy ryw berthynas â'r Sueviaid neu (peth a ddygwydd yn fynych) drwy eu dynwared, y mae yn arferiad anghyffredin[1] yn ystod ieuenctyd; ym mysg y Sueviaid hyd benwyni; troant i'r gwrthwyneb wallt crych,[2] ac yn aml rhwymant ef yn ol ar frig y coryn yn unig; (gan eu tywysogion y mae yn fwy addurnedig) y fath yw eu gofal am eu person; ond yn ddiniwed:[3] nid chwaith fel y caront, neu eu cerir—yn drwsiedig i uchder penodol, ac er arswyd pan ar fyned i ryfeloedd — ymaddurnant megys i olwg gelynion.

### XXXIX.—Y SEMNONIAID, EU LLWYNI A'U HEBYRTH DYNOL.

Y Semniaid a ddywedant mai hwynt-hwy yw (y llwyth) mwyaf hynafol ac ardderchocaf o'r Sueviaid. Y gred o hynafiaeth a gadarnhëir gan grefydd. Ar amser nodedig, yr holl bobl o'r un waedoliaeth a ymgynnull drwy gynnrychiolwyr i goedwig gyssegredig drwy daroganau a hen dychryn, ac wedi lladd dyn cyhoeddus, gynnalient gyfrinion erchyll defod farbaraidd. Y mae hefyd barchedigaeth arall i'r llwyn. Nid ä neb i mewn iddi ond yn rhwym mewn cadwyn megys iselrodd, ac yn dwyn o'i flaen allu y duwdod; os dichon y codymodd, nid rhydd er dim iddo gael ei godi ac ymunioni; ymdreiglant ar hyd lawr; a'r holl ofergoeledd a olyga hyn megys pe bai dechreuad y genedl oddi yma;[4] yno *y mae* Duw yn rheolwr pob peth, ereill yn ddarostyngedig, ac mewn ufudd-dod. Llwyddiant y Semnoniaid a chwanega awdurdod; cyfanneddant gant o bentrefi Oddi wrth gorffolaeth mawr y dygwydd y credant eu hunain yn benaf o'r Sueviaid.

### XL.—Y LOMBARDIAID, REUDIGNIAID, AVIONIAID, ANGLIAID, A'R VARINIAID, EUDOSIAID, SUARDONIAID, A'R NUITHIAID.

I'r gwrthwyneb, anamledd a ardderchoga'r Lombardiaid, yn amgylchedig gan genedloedd lluosocaf a chadarnaf, diogel ydynt; nid drwy ymostyngiad, ond drwy frwydrau a beiddiad. Wedi hyny, y Reudigniaid, a'r Avioniaid, a'r Angliaid, a'r Variniaid, a'r Eudosiaid, a'r Suardoniaid, a'r Nuithiaid, a ddiogelir gan afonydd a choedydd, ac nid oes dim hynod yn yr un o honynt, heb law eu bod yn gyffredin yn addoli Herthum (Daiarfam) y Fam Ddaiar, a barnant ei bod hi yn ymyraeth ag achosion dynion, yn gofwyo pobloedd. Mae mewn ynys o'r môr lwyn ddihalog, a cherbyd cyssegredig yno, gwisgedig â brethyn, y goddefir i offeiriad yn unig ei gyffwrdd. Efe sy'n deall bod y dduwies yn wyddfodol ym mherfeddion (y llwyn) ac a'i dilyn gyda pharch-

---

[1] Arfer ambell rai o drwsio eu gwallt.
[2] Taflant ef yn ol dros eu hysgwyddau.
[3] Nid o anniweirdeb.

[4] O'r llwyni cyssegredig—o Eden drwy draddodiad llygredig.

edig ofn; yn cael ei dylusgo gan wartheg beinw (gan fuchod). Yna dyddiau gwyl, lleoedd llaweu, lle bynag a anrhydeddir a'i hymweliad a'i llettyad. Nid ânt (i ryfel), ni chymmeraut arfau; pobpeth haiarn roir dan glo, yna heddwch a llonyddwch yn unig a gerir, hyd nes i'r un offeiriad ddychwelyd y dduwies i'r deml yn foddlawn ar ymarweddiad marwolion. Wed'yn y cerbyd a'r gwisgoedd, ac, os mynwch gredu, y dduwies ei hun, a olchir mewn llyn dirgel. Caethweision a weinyddant, pa rai a ddylyncir i'r un llyn. O ba herwydd y cyfyd dychryn dirgelus ac anwybodaeth sanctaidd, pa beth yw yr hyn a welant yn unig pan yn trengu.

XLI.—YR HERMUNDURIAID.

Ac yn wir y mae y rhan yma o'r Sueviaid yn cyrhaedd cilfëydd yr Almaen. Yn agosaf (fel y dilynwyf yn awr y Danube fel y canlynais y Rhine ychydig o'r blaen) y mae talaeth yr Hermunduriaid ffyddlawn i'r Rhufeiniaid; a chan hyny, iddynt hwy yn unig o'r Ellmyn ddim masnach ar lan yr afon, ond yng nghanol y wlad a'r ddinas fwyaf ysplenydd o dalaeth Phætia; tramwyant i bob man, ac heb osgordd, a thra nas dangoswn ond ein harfau a'n gwersyll i genedloedd ereill, i'r rhai'n taflasom yn agored dai a phalasau na thrachwantasant. Ym mysg yr Hermunduriaid y cyfyd yr Albis (Elbe), afon glodfawr a nodedig gynt, yn awr clywir am dani yn unig.

XLII.—Y NARISCIAID, Y MARCOMANIAID, A'R QUADIAID.

Yn ymyl yr Hermunduriaid y trig y Narisciaid, ac yna'r Marcomanniaid, a'r Quadiaid. Penaf gogoniant eu rhinwedd (hyny yw, bri a gwrolder y Marcomanniaid). ac hyd yn oed eu sefydle a ennillwyd drwy wrolder, pan gurasant allan y Boiaid gynt. Y Narisciaid chwaith na'r Quadiaid nis dirywiant; a dyna megys cyffin yr Almaen gan belled ag y'i darlunir gan y Danube. Breninoedd o'u cenedl eu hunain a barhasant ym mysg y Marcomanniaid a'r Quadiaid hyd o fewn ein cof ni. Tylwyth Marchobodus a Thuder *sy* bendefigaidd; yn awr goddefant estroniaid; ond drwy awdurdod y Rhufeiniaid y mae grym a gallu gan y breninoedd. Cynnorthwyir hwynt weithiau ag arfau, yn amlach ag arian, ac ni lwyddant lai.

XLIII.—Y MARSIGNIAID, GOTHINIAID, OSIAID, BURIAID, ARIAID, HELVECONIAID, MANIMIAID, NAHARVALIAID, RUGIAID, SYGIAID, LEMOVIAID, &c.

Tu hwnt, y Marsigniaid, y Gothiniaid, yr Osiaid, a'r Buriaid, a geuant gefn y Marcomanniaid a'r Quadiaid, o ba rai y Marsigniaid a'r Buriaid a goffânt i ni y Sueviaid o ran iaith a gwisgiad. Y dafodiaith Alaidd (h.y., iaith Gâl) a gyhudda'r Gothiniaid, y Banoniaid, yr Osiaid, nad ŷnt yn Germaniaid, a'u bod yn ymostwng i deyrnged. Y Sarmatiaid a ddodant arnynt fel estroniaid ran o'r teyrngedau, ar y Quadiaid ran arall. Y Gothiniaid, am yr hyn y dylent gywilyddio yn fwy, a gloddiant haiarn;[1] a'r holl bobloedd hyn a ymsefydlasant ar ychydig fanau o'r gwastadedd, ond gan mwyaf yn y coedwig ac ar gopäu a chrib mynyddau. O blegid crib parhäus o fynyddau a wahana ac a dyr ymaith Suevia; tu hwnt i hyny y trig llawer o dylwythau, o ba rai enw y Sygiaid a ymleda yn eangaf ar wasgar dros lawer o daleithiau. Digon fydd enwi y rhai galluocaf; yr Ariaid, yr Helveconiaid, y Manimiaid, yr Elysiaid, a'r Naharoliaid. Ym mysg y Naharvaliaid dangosir llwyn crefyddiaeth hynafol. Offeiriad a lywydda mewn gwisgiad benywaidd, ond galwant y duwiau drwy ddeongliad Rhufeinig, Castor a Pholox. Dyna allu y duwdodau; eu

[1] Caethweision yn unig a weithient mewn mwngloddiau gynt.

henw *yw* Alcis—dim delwau, dim ol ofergoeledd estronol. Parchant (addolir) hwynt megys brodyr, megys ieuenctyd. Ond yr Ariaid ffyrnig uwch law nerth, yn yr hyn y rhagorant ar y bobl grybwylledig dipyn yn ol, anferthant fileindra greddfol drwy ddyfais ac achlysur—tarianau duon a chyrff paentiedig; dewisiant nosweithiau dudywyll i frwydrau; cynnyrchant fraw gan wir erchylldra a chysgod byddin ofnadwy; *nid oes* neb o'r gelynion yn gallu goddef golwg dyeithr ac megys uffernol, o blegid ym mhob brwydr y llygaid a orchfygir gyntaf. Tu draw i'r Sygiaid, breniniaethir y Gothiniaid eisoes dipyn manylach na'r tylwythau ereill o'r Ellmyn; eto, serch hyny, nid tu hwnt i ryddid. Draw, oddi yno, oddi wrth y môr, *y mae* y Rugiaid a'r Lemoviaid; ac o'r holl dylwythau hyn yr arwydd yw tariannau crynion, cleddyfau byrion, ac ymostyngiad i freninoedd.

XLIV.—Y SUIONIAID.

Ar ol y rhai'n, gwladwriaeth y Suioniaid, a hwythau wrth y môr, heb law gwŷr ac arfau, a feddant lyngesau. Y mae ffurf eu llongau yn gwahaniaethu yn hyn, fod ffureg ym mhob pen yn dangos talcen parod yn wastad i lanio; ni weinyddir hwynt â hwyliau, ac nis cyssylltant y rhwyfau mewn trefn wrth yr ochrau. Rhwyfiad rhydd a arferant (fel mewn rhai afonydd)gan gyfnewid fel bo achos yn gofyn, o'r ochr yma neu'r ochr yna. Y mae yn eu mysg barch hefyd i gyfoeth, ac am hyny un sy'n ymlywodraethu, yn awr heb ddim eithriadau, nid drwy ddeddf anwadal ufuddhâd, nac arfau plithdraphlith, fel ym mysg Germaniaid ereill, ond yn glöedig dan geidwad, ac hyd yn oed caethwas, o herwydd y cefnfor a wahardd ymosodiad disymmwth gelynion. Heb law hyny, llu o arfogion mewn seguryd yn rhwydd a ymdrythyllant mewn direidi; bid wir, mantais brenin yw peidio gosod ar arfogaeth, na phendefig, na phriodor, nac yn wir wr rhydd.

XLV.—YR ESTYRIAID.

Tu draw i'r Suioniaid y mae môr arall dioglyd, swrth, a bron yn ddiymmod, gan yr hwn, drwy gred (gyffredin) y mae pellen y ddaiar yn wregysedig ac amgauedig, o blegid llewyrch hwyraf yr haul, pan wedi machlud, a bery hyd ei godiad mor ddysglaer fel dyla'r ser. Coel a chwanega fod swn i'w glywed, ffurfluniau rhuthiau duwiau, a phelydrau pen i'w gweled. Gan belled a hyn (a gwir y son) nid oes dim oll ond anian; gan hyny, yn nesaf, tylwyth yr Æstyriad a olchir gan draeth de y môr Sueviaidd, ym mhlith pa rai ceir defod a diwyg fwy tebyg i'r arferion Sueviaid, iaith debycach i'r Frydeinig (hyny yw, y Gymraeg). Addolant fam y duwiau; cariant luniau eirth fel arwydd eu coelgrefydd. Hyny, yn lle arfau a phob amddiffyniadau, a geidw addolwr y dduwies yn ddiogel hyd yn oed ym mysg gelynion. Ceir defnydd weithiau o haiarn; mynych o bastynau. Llafuriant yd a ffrwythau a chnydau ereill yn fwy amyneddgar na dysgwyliad diogi arferol y Germaniaid. Ond chwilotant y môr, ac yn unig o bawb casglant amber, yr hwn a alwant hwy "glesum" yn y beisleoedd, ac ar y traeth ei hun. Ac ni holwyd ac ni chanfuwyd ganddynt, megys barbariaid, pa natur yw, neu pa achos a'i cynnyrcha. Heb law hyny, hir y gorweddai ym mysg ysbwrion ereill y môr, nes i'n moethusder ni roi iddo enw; gyda hwynt nid yw mewn dim defnydd; cesglir ef yn fras, a dygir ef yn ddilun, ond derbyniant ei bris gan ryfeddu. Er hyny gelli ddeall mai sugn-nodd, *gum* coed yw, o blegid rhai pryfed daiar, ac ednod hefyd yn gyffredin a dryloewant (neu a welir trwyddo), pa rai wedi eu maglu gan y nodd, ar sylwedd yn caledu toc, yr amgeuir hwynt; gallaf gredu gan hyny, megys yn nirgelfëydd y

Dwyrain, lle y chwysir allan thus a balm, felly fod y coedwigoedd toreithiog a'r llwyni i'w cael yn ynysoedd a gwledydd y Gorllewin, pa rai, wedi eu gwasgu allan gan belydrau haul gyf agos, ac yn doddedig, a redant i'r môr nesaf, ac a orlifant gan nerth dymmestloedd i'r traethau gyferbyn Os profir natur amber drwy nesâd tân cynneuir ef yn dull ffaglen, a deil fflam dewychus a pheraroglus; toc bach y meddala megys yn byg neu ystor. Tylwythau'r Sitoniaid a gyssylltir â'r Suioniaid. Er yn gyffelyb mewn pethau ereill, gwahaniaethant mewn un peth, mai merch sy'n teyrnasu, yn gymmaint y dirywiant nid yn unig oddi wrth ryddid, eithr hefyd oddi wrth gaethwasaeth. Llyma dertyn Suevia.

XLVI.—Y PENCIAID, Y VENEDIAID, &c

Yr wyf yn ammheu a ddylwn drosglwyddo tylwyth y Penciaid, a'r Venediaid, a'r Ffenniaid, i'r Germaniaid neu'r Sarmatiaid, er bod y Penciaid (a eilw rhai yn Fastarniaid), o ran iaith a gwisgiad, sefydleoedd ac anneddau yn byw fel Ellmyn, yn eu budreddi i gyd,[1] a syrthni eu pendefigion. Drwy briodasau cymmysg fe'u hiselir beth i arferion y Sarmatiaid. Y Venediaid a fenthycasant lawer oddi wrth eu moesau; o blegid faint bynag o goed a myn yddau a gyfyd rhwng y Penciniaid a'r Ffenniaid, ymgrwydrant drosodd i ladrata. Y rhai'n, er hyny, yn hytrach a berthynant i'r Germaniaid, canys adeiladant dai, cariant darianau, ac ymhyfrydant yng ngwasanaeth a chwimdra eu traed, yr hyn oll sy'n wahanol ym mhlith y Sarmatiaid a drigant mewn men march[2] Ym mhlith y Ffenniaid ceir anwarder mawr tlodi budreddus; dim arfau, dim ceffylau, dim duwiau teuluaidd; dail yn ymborth, crwyn yn ddillad, a'r ddaiar yn wely; eu hunig hyder yw eu saethau, pa rai yn niffyg haiarn a lymmant ag esgyrn. Yr un helwriaeth a bortha'r meibion a'r merched yr un ffunud, canys cymdeithiant i bobman, a honant ran o'r ysglyfaeth. Ac nid oes loches well i'w mabanod rhag gwylltfilod a dryghinoedd na math o gwt gwiail. At hwn y rhed y plant; dyma'r fan y derbynir yr hen bobl. Ond cyfrifant hyn yn fwy dedwydd na gruddfan dros feusydd, ymlafurio i godi tai, a throi eu ffortun eu hunain, fel ereill, wrth obaith nac ofn. Yn ddiofal yng nghylch dynion, yn ddiofal am y duwiau, goddiweddasant yr hyn sydd yn dra anhawdd—nad rhaid iddynt wrth gymmaint a dymuniad. Ffugchwedlau yn awr sydd yn weddil, fod yr Hellusiaid a'r Ocsioniaid yn cario gwynebau dynion, cyrff ac aelodau bwystfilod, yr hyn, megys peth heb ei gael, a adawaf yn eiddo cyffredin.

[1] Budreddi yr oll o honynt.
[2] Gwagen un ceffyl. Crwydrent o fan i fan.



---

## ORIAU GYDA'R BEIRDD.

### VI.

Y PARCH. ROWLAND WILLIAMS, D.D.

Hwyrach nad oes lanerch ar finion afon Teifi a anrhydeddwyd gan gymmaint â phresennoldeb enwogion llên a lleyg a chymmydogaeth dawel Llanbedr Pont Stephan. Yn y dreflan hon y treuliodd yr hynafiaethwyr a'r offeiriaid tra adnabyddus, Elieser Williams a William Edmunds ran helaeth o'u gyrfa; y ddau yn yr un gorchwyl gwiwglodus o addysgu ieuenctyd y fro. Yn ei chymmydogaeth, meddir, tua Chellan, y ganwyd yr hynafiaethydd claer ei glod, y Parch. Moses Williams, ac ym mynwent fechan y plwyf cymmydogaethol, Pencareg, y gorphwys yr hyn sydd farwol o'r anfarwol fardd, Daniel Ddu o Geredigion. Ac yn y rhodfëydd clasurol hyn y gwelwyd yn rhodio am rai blynyddoedd, y dyfuddysg a'r myfyrgar Dr. Rowland

in the form of fuel



Williams, tros amser is-benaeth Coleg Dewi Sant.

Ganwyd y Parch. Rowland Williams. D.D., ym mhlwyf Helygen, sir Fflint, lle yr oedd ei hybarch dad yn berson ar y pryd. Yr oedd ei dad, y Parch. Rowland Williams. A.C., Ysgeifiog, yn frodor o Fallwyd. a'i fam, Jane Wynn, yn ferch i'r Parch. Hugh Wynn Jones, A.C., Tre Iorwerth, Mon. Dangosodd arwyddion athrylith yn ieuanc iawn Pad nad ydoedd ond plentyn, meddai wybodaeth dda o'r Lladin. Dygwyd ef i fyny megys ar luniau ei dad, a phan yn ddeng mlwydd oed anfonwyd ef i Ysgol Eton. Gosodwyd ef yn ebrwydd ar y *foundation*, ac yn fuan dringodd i'r safle uchaf yn yr ysgol uchaf yn y deyrnas. Cafodd fathodyn Newcastle—anrhydedd uchaf yr ysgol Dewiswyd ef i adrodd awdl Seisonig o flaen y brenin William y Pedwerydd. Gyda rhagolygon dysglaer o'i flaen aeth y bachgen o Gymru i Brifathrofa Caergrawnt. Coronwyd ei airlaes â llawryf buddugoliaeth ar lanau yr afon Caen. Pentyrwyd anrhydedd ar ol anrhydedd arno, o herwydd ei wir deilyngdod. Yr oedd yntau yn cyflawn lenwi pob swydd, ac yn eistedd yn esmwyth ar bob cadair broffeswrol. Yr oedd yn *ddyn* yn llawn ystyr y gair. Cafodd gymmrodoriaeth yng Ngholeg y Brenin, ac ennillodd Ysgoloriaeth Battie (*University Scholarship*). Penodwyd ef yn athraw clasurol (*classical tutor*) ei goleg. a bu yn is-athraw yn Eton. Adferwyd y Cymro dysgedig a llwyddiannus i Gymru trwy ei etholiad yn is-lywydd yng Ngholeg Dewi Sant yn Llanbedr Pont Stephan, ac yn y swydd bwysig hòno gwnaeth wasanaeth mawr i'w wlad a'r coleg. Yn ystod ei gyssylltiad â'r coleg, penodwyd ef yn gaplan i Esgob Llandaf, ac yn y swydd hòno cynnysgaeddodd y cyhoedd ag amryw bregethau coeth ac athronyddol. Ond dattodwyd y cylymau tynion oedd yn ei gyssylltu â Choleg Dewi Sant. Enciliodd "o swn y 'storm a'i chlyw," a dybenodd ei yrfa ddysglaer, ond nid digymylau, yn neillduedd persondy Broadchalk. a'r gair "Our Father" yn dyferu dros ei wefusau gyda'r anadl olaf. Ni pharhaodd ei afiechyd olaf ond ychydig ddyddiau. Cafodd annwyd trwm tra wrth y gorchwyl o rannu elusenau mewn ffurf o danwydd i dlodion ei blwyf. Ymddadblygodd y *bronchitis* yn *pneumonia*, ac ni thyciodd medrusrwydd y meddygon i arbed einioes un o'r dewraf, cywiraf, a gonestaf o feib Gwalia Suddodd yng ngwlad y Sais gan sisial yn ei gystudd acenion yr hen Omeraeg. Pan â'i draed yn rhydiau'r afon, a'r llais yn floesg ac egwan, adroddodd dair gwaith y Pader, a sibrydodd yr Erthygl o'r Credo, "Credaf yn adgyfodiad y corff a'r bywyd tragwyddol" Dodwyd y rhan farwol o hono ym mynwent Broadchalk hyd foreu yr adgyfodfad. "Yr oedd yn un o honom" oedd cwynfan ei blwyfolion athrist; efe a'n cynnorthwyodd mewn afiechyd a phrofedigaethau; pregethodd Grist i ni, a pharchasom ef am ei ddaioni." Canwyd yn yr Eglwys ei emyn, "When our heads are bowed with woe." &c., ac wrth y bedd ei hoff emyn, "O God, our help in ages past," a dododd llaw dyner goronbleth o flodau o Gymru ar gauad ei arch—*post crucem corona.*

Er nad ystyrid y Parch Rowland Williams. D.D., yn uniongred hollol ar rai pynciau, eto nid oes neb a ammheua am fynyd gywirdeb ei amcanion, uniondeb ei egwyddor, a didwylledd ei ysbryd. Yr oedd yn wr "â'i ymarweddiad yn y nefoedd," yn rhodio gyda Duw. Rhed ei ysbryd defosiynol a'i naws grefyddol yn un wythïen gref drwy ei lythyrau, ei ddyddlyfrau, a'i gasgliad o'r Salmau, myfyrdodau, a gweddïau teuluaidd. Yma y mae dirgeloedd ei galon fawr a thyner yn noeth ger ein bron. ac yr ydym yn maddeu iddo ei ychydig

wyrni athrawiaethol, gwyrni ag yr edrychwyd mwy arno drwy chwyddwydr rhagfarn nag â llygaid cariad "Cariad a guddia luaws o bechodau" Os nad oedd bob amser yn *uniawn* yn ei farn, eto yr oedd yn wastad yn *onest* wrth ei thraethu. Meddyliem mai ei arwyddair ydoedd "y *gwir* yn erbyn y byd," a dadganai yn ddifloesg a digel, ïe i'w niwed ei hun, yr hyn a ystyriai yn *wirionedd*. Tra yn ammheu ei *ddoethineb* eto edmygwn ei *wroldeb*. Ni feddai "gyfrwysder y sarff, ond meddiannai yn helaeth iawn ddiniweidrwydd y golomen." Yr hyn a ddoluriai ei gyfeillion ydoedd ei ddaliadau o barth *ysbrydoliaeth y Beibl*, y rhai nid oeddynt mewn cydgordd ag athrawiaeth Eglwys Lloegr. Cariad at y gwirionedd oedd egwyddor fawr lywodraethol ei oes, ac weithiau yng ngrym a gwres y cariad hwn yr ydoedd yn myned ar gyfeiliorn. "Ei brif amcan ydoedd dwyn dynion at droed yr orsedd hòno, ar ba un yr eistedda Brenin y Gwirionedd, ym mherson Crist." Ei eiriau ar derfyn un o'i weithiau yw. "*O æterna veritas et vera caritas, et cara æternitas, tu es Deus-meus.*" Dadleua ei olygiadau ar natur ysbrydoliaeth a phrophwydoliaeth yn ddiofn yn ei "Bregethau" a'i lyfr ar y "Prophwydi Hebreaidd." "Astudiodd ei bwnc yn ormod oddi ar y safon hon, sef fod gwirionedd mewn meddwl a moes yn dyfod oddi uchod, ac yn anadliad Tad y Goleuni. Felly efe a ganfyddai weithrediadau y Gwir Oleuni ym mha beth bynag oedd aruchel a gwirioneddol mewn ysgrifeniadau secularaidd gan gystled a chyssegredig. Yr oedd y gwahaniaeth yn gynnwysedig mewn gradd yn hytrach nag ansawdd, ac ni chydnabyddai neb y gwahaniaeth yn fwy amlwg nag ef ei hunan." Yr oedd ei olygiadau ar ysbryd prophwydoliaeth yn wreiddiol iddo ei hunan. Ymddangosai fel pe yn ymlwybro rhwng dau eithafnod, ond yn anffortunus yn y defnyddiad o dermau i osod allan ei feddyliau. Yr oedd ei iaith yn achlysurol yn awgrymu mwy nag a drosglwyddai yn uniongyrchol, ac ef allai fwy hefyd nag a fwriadai yr awdwr. Felly camddeallid ef ond odid, a thybid ei fod yn darostwng llenyddiaeth gyssegredig, tra nad ydoedd mewn gwirionedd ond yn amcanu dyrchafu llenyddiaeth gyffredinol. A'r canlyniad fu blynyddoedd blinion o ryfel bapyr, a chewri ar y maes o bob tir yn mesur eu cleddyfau, a da oedd gan y doctor dysgedig yn ddiddadl encilio o swn y rhyfel i dawelwch persondy gwledig; weithiau y mae mewn hedd ym mhell o "swn y boen sy yn y byd."

Fel *athraw*, gwr ydoedd y Parch. Rowland Williams "â'r gair garw ym mlaenaf." Yr oedd o dymmer lled hawdd ei chynhyrfu, ac o duedd barod i ffurfio barn frysiog am bethau a phersonau. Ond o dan wisg arw meddai galon dyner. Triniai rhai ffaeleddau â llaw ysgafn, ond disgynai yn llawdrwm iawn ar ffaeleddau ereill. Y pechodau hyny a darddent o galon ddrwg a llygredig, a ffrewyllai yn ddidrugaredd—pechodau ag oedd yn ffiaidd yng ngolwg Duw, ac yn cynnwys ynddynt eu hunain had eu cospedigaeth eu hunain. Cas oedd gan ei enaid dwyll, rhagrith, a hoced o bob math. Yr oedd yn *dad* i'w ddysgyblion, yn barod â'i bwrs a'i ben i helpu y gwan, ac yn ymhyfrydu mewn dysgu ereill, fel *assistant master* yn Eton, *classical tutor* yng Ngholeg y Brenin, *vice-principal* yn Llanbedr, ac athraw Ysgol Sul yn Broadchalk. Ei fawr bleser oedd cyfranu addysg pa le bynag y byddai a pha sefyllfa bynag a lanwai.

Fel *offeiriad* yr oedd yn fugail tyner a gofalus, yn caru ei bobl, a'i bobl yn ei garu yntau. Ymegnïai i ddyrchafu sefyllfa ei blwyfolion, yn foesol a chymdeithasol. Gwnaeth amryw ddiwygiadau pwysig yn ei blwyf. Sefydlodd gymdeithas gydweithredol, ac ardrethodd leiniau o'r *Glebeland* i'r tlodion, fel y dysgent

I knew Rowland Wms & his father before him — He was best to those who knew him best & who had [illegible] to do with him — But he certainly was a cross grained. crotchetty man. and



gynnorthwyo eu hunain. Yr oedd yn wr hael ac elusengar.

Fel *llenor* ni raid udganu clodydd Rowland Williams. Lleng yw ei weithiau llenorol ar bynciau duwinyddol, clasurol, a hynafiaethol. Cyhoeddodd yn 1855, gyfrol o bregethau a draddododd fel *Select Preacher*, yng Nghaergrawnt, "Rational Godliness after the mind of Christ," yn 1858; "Christian Freedom in the Council of Jerusalem," ac "Adolygiad ar Siars Esgob Llandaf," 1857. Yn 1860 ymddangosodd ei draethawd ar "Ymchwiliadau Beiblaidd" Bunsen, yn yr *Essays and Reviews;* condemniwyd ei olygiadau yn 1864 yn y *Court of Arches*, ac o flaen y Cyngor Barnol ar ol cynghaws faith. Yn 1865 cyhoeddodd Ragymadrodd Beirniadol i waith Desprey ar Lyfr Daniel, yn yr hwn y dymchwelir gosodiadau Dr. Pusey ar dir ieithyddiaeth, ac yn 1867 cyhoeddodd "Bregethau Traethodol Broadchalk." Cyhoeddwyd pregeth a draddodwyd ganddo yn Broadchalk ar Sul y Pasc. ar "Obaith adgyfodiad y meirw." Tynodd ei waith ar y "Prophwydi Hebreaidd" sylw y byd llenorol. Ysgrifenodd dwysged i'r chwartelion Seisonig, ar wahanol bynciau, a chyfoethogodd ddalenau y *British Quarterly* ag ysgrifau yn dwyn cyssylltiad â Chymru, megys Methodistiaeth Cymru, Eglwys y Cymry, a Beirdd Cymru. Ysgrifenodd lawer i'r *Archæologia Cambrensis* ar destynau Cymreig, megys "Rhwymau yr Eglwys Anglo-Saxonaidd i'r Eglwys Brydeinig" a materion ereill o gyffelyb natur. Gwnaeth lawer er dyrchafu cymmeriad Cymru, Cymro, a Chymraeg, yng ngolwg y Seison, ac ni bu ei lafur yn ofer. Tynodd sylw dysgedigion Lloegr, ïe Ewrop at Gymru, ei hiaith a'i phobl. Yr oedd yn wladgarwr o'r iawn ryw, yn wastad tra yn Lloegr yn gyfaill calon i'r Cymro. Ond prif waith llenorol Rowland Williams yw ei draethawd arobryn (*prize essay*) ar "Gristionogaeth a Hindwaeth," gyda'r hwn yr ennillodd wobr Muir yn 1849. Cynnygiodd Muir, o'r *Bengal Civil Service*, bum cant o bunnau am y traethawd a osodai allan egluraf i'r Brahminiaid a'r Buddhiaid, gydmariaeth gyfochrog a dealladwy o'r ddwy gyfundrefn Hindwaidd hyn â Christionogaeth. Treuliodd yr awdwr agos 10 mlynedd ar y gwaith cyn ei ollwng allan i'r byd, ac fe erys y gyfrol yn goffadwriaeth oesol o ddysg a gwybodau y Cymro cenedlgarol hwn. Ond nid gyda rhyddiaith yn unig yr ymlafuriai y doethawr dysgedig o Lanbedr, na, yr oedd yn ymgyfeillachu â duwies yr Awen, ac yn *fardd* godidog. Cyfansoddodd ddarnau prydferth, a chyfieithodd ddarnau o'r poetau clasurol ac o'r beirdd Cymreig i'r Seisoneg. Yr oedd gartref gyda'r Awen ac yn hen gynnefin â barddoni. Cyfansoddodd amryw fân ddarnau lleol tlws, megys i Eglwys Llancrwys, llinellau mewn angladd, a'r cyffelyb; ond ei brif weithiau barddonol ydynt "Orestes;" aralleiriad i'r Seisoneg o "Eumenides;" "Lays from the Cimbric Lyre;" ac "Owain Glyndwr," ei ddernyn olaf. Tra ar ei wely angeu galwodd am brofleni yr olaf, yr oedd eisoes yn y glyn, ac ar ol ymdrech ymegnïol i'w darllen, trodd y lleni o'r neulldu gan ddywedyd, "Nis gallaf eu gweled."

Yn ddiweddar anrhegodd ei weddw y cyhoedd â dwy gyfrol tra dyddorol, o dan y penawd "The Life and Letters of Rowland Williams, D.D.; with Extracts from his Note Books. Edited by his Wife." Ychydig wythnosau yn ol cyhoeddodd yr un foneddiges dalentog lyfr destlus yn cynnwys casgliad o weddïau, myfyrdodau, a salmau o eiddo ei diweddar briod; llyfr ag y mae ei gynnwysiad yn dra dyddorol, ac yn fynegiad cywir o duedd ddefosiynol a gogwydd grefyddol meddwl yr athraw, y bardd, a'r llenor byd-adnabyddus Rowland Williams, D.D. "Y mae efe wedi marw yn llefaru eto."

— certainly not of the best temper always

a very dm... ! ...



Croes y Garn, yr hon oedd yn sefyll yng nghanol crug o geryg; taflwyd hi lawr a thorwyd hi yn dri darn. Yr oedd hon yn gareg wyneb wastad, tair modfedd o drwch, dwy droedfedd o led, a phump o uchder; yr oedd y pen uchaf yn grwn fel yr haul, ac yn cael ei haddurno â chylymau; is law ar bob ochr yr oedd gwynebau a dwylaw dynol. Y Maen Heulog oedd hwn ar y cyntaf, a chafodd ei gyfnewid i Faen y Groes. Felly yr oedd y pagan a'r Cristion yn talu eu defosiynau yma. Y mae yr amserau a'r uchel-wyliau pan oeddynt yn ymgynnull wyth y meini hyn wedi myned ar ddifancoll. Yr oedd y Rhufeiniaid yn casäu y seremonïau derwyddol. Dywed rhai ysgrifenwyr dychymmygol mai Calanmai a Cyntefin (y cyntaf o Fai a'r cyntaf o Orphenaf) oedd eu huchel ddyddiau, ond Cyntefin yw y cyntaf o Fehefin. Ystyr y gair Hefin yw ieuanc. Nid yw yr enw Gorseddau ar fynydd Mostyn yn rhoddi dim cymhorth. Gair eglwysig yw gorsedd, yn tarddu o côr neu gydgan cwmni o gantorion. Gelwir cyfarfodydd beirdd a thelynwyr yn orseddau. Y mae y cylchau derwyddol yn lluosog ar wastadedd Caergaradog; saif y cylchoedd ar ganol gwastad hyfryd yn agos i ben bryn. Y mae y cylch hwn yn 180 troedfedd o drawsfesur, yn cynnwys tri ugain o geryg, 30 yn sefyll ar eu penau. Enw Cymreig Stonehenge oedd Myrddin Emrys. Avenbury Wiltshire yw y gofadail dderwyddol fwyaf ardderchog yn Lloegr. Adeiladwyd y pentref o fewn y cylch â'r ceryg oedd yn cyfansoddi y cylch. Amgylchynir y cwbl gan ragfur o ddaiar 60 troedfedd o led, a ffos o'i fewn yr un lled; ei drawsfesur yw 1400 o droedfeddi, ei amgylchedd yn 4800, a'i arwynebedd yn 22 o erwau, trwy ganol pa un y rhed yr heol fawr o Gaerbaddon i Marlborough. Y mae y cylch cyntaf yn 1300 o drawsfesur, yn cynnwys cant o geryg o 15 i 17 o droedfeddi ysgwâr. Yn 1742 nid oedd yno ddim ond 60; 17 yn sefyll yn syth, a 43 ar y llawr. O fewn y cylch mawr hwn yr oedd dau gylch llai.

Yr oedd y beirdd, medd Iolo Morganwg, yn wastad yn ymgynnull yn yr awyr agored pan oedd yr haul uwch y terfyngylch, lle y ffurfient gylch o geryg yn ol yr hen ddull. Galwent y cylch yn Gylch Cynghrair. Yn y dyddiau hyn ffurfir y cylchoedd o geryg bychain: ni fuasai i'r rhai a ffurfiodd Stonehenge foddloni ar y fath geryg. Careg fawr yw Cromlech yn sefyll ar ddwy neu fwy o rai syth: allor leol oedd hon. Gelwir rhai o'r rhai hyn Llech y Gawres, yr hyn sydd yn profi fod offeiriadesau derwyddol. Dywed Mr. Fenton i groes neu eglwys gael ei chodi ger llaw y Cromlechau. Y mae Eglwys Yspytty Cynfyn yn sefyll o fewn cylch derwyddol er tynu meddwl y cyhoedd oddi wrth y defodau derwyddol. Yn Llanhamlach, tair milltir o Aberhonddu, ar y ffordd i'r Fenni, y mae Ty Illtyd. Mae yma olion derwyddol ar ben bryn a elwir Maenest neu Maenast. Y mae yn cael ei gyfansoddi o dair careg syth; y mae un ar y pen, ac un arall yn y gwaelod yn wyth troedfedd o hyd a phedair o led. Yr oedd amryw gerfiadau ar y ceryg hyn. Yr oedd careg syth yn sefyll ger llaw a elwid Maen Illtyd. Symmudodd un Mr. Walbeof, Arglwydd y Faenor, hi, yr hwn a'i defnyddiodd i adeiladu ty. Bernir mai llygriad oedd Maen Illtyd o ryw enw arall. N.B.

Rhodda George Owen ddysgrifiad o Gromlech yn Pentre Ifan, sir Benfro. Careg anferth yw hon, yn sefyll ar benau tair careg arall; mae yn fwy ac yn uwch na Maen Arthur, rhwng Henffordd a'r Gelli, neu Llech yr Ast, yn sir Aberteifi, ac yn fwy nag un a welais, oddi gerth rhai ar wastadedd Caer Caradog—y Chorea Gigantum, un o ryfeddodau Lloegr. Y mae y gareg ar yr hon y saif y gareg hon mor uchel fel y

gall dyn ar geffyl farchogaeth oddi tani heb blygu ei ben. Y mae yn ddeunaw troedfedd o hyd, naw o led, a thair o drwch. Mae y cyfan yn fwy na all ugain o ychain ei llusgo. Saif saith o'r ceryg hyn mewn hanner cylch fel newydd loer, dwy gareg bob ochr. Dichon iddi gael ei chodi ar ol buddugoliaeth fawreddog.

(*I'w barhau.*)

---

## Y MILFLWYDDIANT AR WAWRIO.

*Ned.* Pa le y buaist ti, Dai anwyl i, y ddau fis blaenorol yma, sef Mehefin a Gorphenaf? A fuaist ti yn y Dwyrain draw, ar faes y rhyfel waedlyd a chigyddlyd sydd yn cael ei chario ym mlaen yno yn awr—yn cynnorthwyo y Tyrciaid yn erbyn y Serviaid, neu ynte, *vice versa*, i'r gwrthwyneb? Rho wybod.

*Dai.* Naddo ddim, Ned bach i, canys nid wyf fi ond sawdiwr gwael a gwirion iawn, fel ag y gwyddost ti; ond mi fuais yn bur fusi ar faes neu feusydd ereill: yn crynoi, yn golchi ac yn cneifio y defaid a'r ŵyn yma, ac wedyn yn lladd, yn cynauafu ac yn cywain y gwair adref i'r ydlanau a'r ysguboriau, i ddiddosrwydd.

*Ned.* A oes genyt ti, Dai, ychydig bach o amser seibiant yn awr, i ddwyn ym mlaen ragor o resymau dros destyn dy erthyglau blaenorol?

*Dai.* Oes, y mae genyf, Ned, hamdden rhwng y ddau gynauaf yma, sef y gwair a'r medi, a chyn myned o honof fi, a'r hen wreigan a'r plant bach yma i'r Ffynnonau, neu ddwr y môr; a dyma rai eto o lawer o honynt, sef yr enwau a'r teitlau a honant ac a fabwysiadant yn ddigywilydd ddigon, megys, "ordination," "Canon," "Rector," "Archbishop," B.A., M.A., B.D., a D.D.; a dyna ddigon, myn tad anwyl i, ïe, dyna ddigon i droi ar ystumog dynion gweinion a *delicate* fel nyni.

*Ned.* Gwarchod pawb a'r hen wrachod ni hefyd, Dai bach i, canys yr wyf yn gofyn i ti mewn difrifoldeb a phrysurdeb, a ydyw y penbyliaid penfeddal mor haerllug a diegwyddor a defnyddio y rhai uchod?

*Dai.* Ydynt yn wir y maent, Ned bach, ac mi roddaf i ti y "chapter and verse," fel ag y dywedwn ni, ac mi a ddechreuaf yn y dechreu gyda'r gair "ordination." Edrych di, Ned, i'r "*Western Mail*" am ddydd Mawrth, y 1af o Awst, a thi a gei weled yno ar y 5med tudalen, ac ar ddiwedd y 6fed golofn, hanes y Wesleyan Conference a gynnaliwyd yn Nottingham, y dydd Llun o'r blaen, ac ar ddiwedd yr hanes hwnw, ti a ddarlleni y geiriau canlynol:—"The public examination of the candidates for *ordination* was held this evening." Am y gair "ordination," dyma fi eto yn troi i Eodie's *Theological Dictionary*, yr hwn a ddywed am dano fel hyn:—"The act wherby ministers of the Christian religion are set apart for their office by men who have public authority given unto them in the Church to call and send ministers into the Lord's Vineyard;" ac â hyn y cytuna y 23 erthygl o'n Heglwys ni. A phwy, gofynaf, yn enw pob rheswm a synwyr, yw y "men unto whom public authority is given," ond esgobion Eglwys Lloegr, a hyny cyn bod son gannoedd o flynyddoedd meithion, am na Munzer, tad y Bedyddwyr, na Brown, tad yr Annibynwyr, na Wesley, tad y Wesleyaid, na Whitfield a Chalfin (parch da i'w enwau), tadau y Methodistiaid; llawer llai am y *small fries* ereill, megys y Plymouth Brethren, y Crynwyr, yr Undodiaid, a'r Seintiau Diweddaf, pa rai nad ydynt ond megys er doe, ac a ddiflanant fel afalau Sodom, cicaion Ionah, coden fwg, llwydrew y boreu, neu furlwm ar ddwr. Dywed ym mhellach:—"The only form of ordination mentioned in Scripture is that of imposition of hands accompanied with prayer." Digon gwir fod yr

Ymneillduwyr yn gweddïo digon ar ddewisiad a sefydliad unrhyw weinidog i'w capeli; ond nid oes ganddynt ddim "imposition of hands," neu ddim "arddodiad dwylaw," fel ag y geilw St. Paul hyny, ac o ganlyniad, nid yw eu *hordination* nhw yn ysgrythyrol, na chwaith yn gyfreithlawn. A dywed hefyd, "The only Orders which the English Ritual acknowledges, are Bishops, Priests, and Deacons; those being supposed to be of Apostolic institution;" a dywed drachefn, "the three Orders of Bishops, Priests, and Deacons, are all conferred by Episcopal authority."

*Ned.* Nid oes son ganddynt hwy, Dai, am na Phriests na Deacons, a llawer llai am Fishops, &c.

*Dai.* Dy anwybodaeth dygn a'th gamsynied dybryd di yw hyn, canys y maent yn defnyddio, nid yn unig y teitlau uchod, ond hefyd y teitl uchaf o'r cwbl, sef Archesgob, fel y caf fi brofi i ti yn ol llaw, os byddi yn amyneddgar.

*Ned.* Hoo-boob murder, Dai, yr wyt bron â'm lladd a'm llethu i'r llawr wrth haeru y fath gelwydd noeth a hyn yna.

*Dai.* Nid celwydd mo hono, ond gwirionedd gloew glân bob darn. Ond cyn myned i brofi y gwirionedd hwn, gad i mi sylwi ar y teitl "Canon" yn ol y drefn. Gyda golwg ar hwn, edrych di i ddechreu yr hanes hwnw yn yr un "*Western Mail*," a thi a ganfyddi y defnyddiad hwn o hono:—"The special service, to which Canon Morse invited the conference yesterday afternoon, was attended by four ex-presidents, nearly 200 ministers, and about 900 persons." Ac wedyn, nes ym mlaen dywed, "About 100 persons took tea at the Canon's house afterwards, and expressed their admiration of the catholicity displayed." "Canon," meddai Eden, "is the name of certain members of the foundation in cathedrals and collegiate churches. It is equivalent to Prebendary, for which it has been recently, by authority, substituted." Ond nid oes ganddynt hwy na chathedrals na chollegiate churches i'r Canons neu'r Prebendaries hyn fod yn aelodau o honynt, ac o ganlyniad, y mae y teitl yn cael ei fabwysiadu ganddynt yn ammhriodol. Y trydydd teitl yw "Rector," yr hwn sydd wedi dyfod yn ddiweddar i arferiad gyda hwynt.

*Ned.* Taw â dy lol, Dai, ni chreda i ddim o honot ti, pe bait ti â'th bum bys ar y Llyfr, yn ol yr hen ddywediad ac arferiad, canys y mae yr eondra yna yn anghredadwy ac yn anfaddeuadwy.

*Dai.* To the chapter and verse at once, Ned, i'r dyben o brofi ein pwnc, ac na fydd yn anghredadyn ond credadyn wedi hyny. Tro di, os gweli fod yn dda, i'r "*South Wales Daily News*" am ddydd Llun, y 10fed o Orphenaf diweddaf, a thi a gei weled yr hanes canlynol ynddo yng nghylch marwolaeth gwraig un pregethwr teithiol yn ei absennoldeb tua'r wlad fach tu hwnt i'r afon gul yna, and it runs thus:—"We learn that a telegram has been received by the officials of Eb-n-z-r chapel, of which the Rev. Dr. R., now on his visit to the American Churches, is [*nota bene*, Ned] the Rector," &c. "Rector," meddai Eden, "is the title of the more ancient Order of the Church—has the right to all the ecclesiastical dues in his parish, and is also a title sometimes given to heads of Colleges," &c. Ond pa enaid byw a glywodd erioed fod y Dr. hwn yn perthyn i unrhyw *order* yn yr Eglwys, na hawl ganddo i unrhyw eiddo Eglwysig (megys y degwm) yn ei blwyf, neu ei fod yn ben ar un math o goleg o efrydwyr yn y byd? Neb; ac o ganlyniad, nid yw yr arferiad hwn o'r teitl ond y *nonsensical absurdity* mwyaf a groesodd feddwl dyn erioed. "*Insanta mens in corpore sano*" yw hyn i gyd.

*Ned.* I call that, Dai, the height of impudence.

*Dai.* Pa beth a ddywedi di, Ned, pan y profaf i ti mor olen a'r haul ganol dydd haf, eu bod yn galw eu gweinidogion yn *Archbishops;* ac i wneud hyn i dy *satisfaction*, yr wyf yn dy gyfeirio i'r "*Western Mail*" am ddydd Mawrth, y 1af o Awst, lle y rhoddir hanes *career* dyn ieuanc a anwyd ac a fagwyd yn Llanelli, ac wedi manylu ar y rhan foreuol o'i fywyd, dywedir fel hyn tua'r canol am dano:—"He then became assistant minister with the late lamented and well-known Dr. Thomas Binney, at the King's Weigh House Chapel, Fish-street hill, and afterwards was appointed co-pastor with Dr. Binney, filling this capacity for three years, thus making his association with the Archbishop of Dissenters, four years in all."

*Ned.* Good morning, Dai, and with his hat in one hand and his stick in the other, Ned makes his exit, muttering the following gibberish best understood by himself:—"Dafad ddu, dafad wen, dafad ddu, a dau corn; carlibws carlabws, dail cabbage, dail tattws, menyn a mêl. Amen."

*Dai.* Hallo, Ned, Hallo, come back, come back, I have one thing more to tell you before parting, and this is it: they make use of the titles B.A., M.A., B.D., and D.D.

*Ned.* Bosh! pshaw!! ridiculous!!! unbearable and unpardonable this abominable humbug is.

*Dai.* Y mae genyf fi *antidote* i'r *fit* fach yna a gefaist ti, Ned, sef taw nid â'u penau ond â'u pocedi y maent yn ennill y teitlau hyn.

*Ned.* A'u haur a'u harian, ac nid â'u dysgeidiaeth a'u gwybodaeth, yr wyt ti yn feddwl, Dai?

*Dai.* Ië, yn gymhwys felly, canys trwy dalu tair punt, pum punt, neu ddeg punt i ryw grach o goleg yn yr America, neu ar y Cyfandir, heb un math o arholiad, y maent yn cael y teitlau uchod, pa rai yr wyf fi yn alw "yn deitlau botwm plwm."

*Ned.* A gaf fi, Dai, dreio fy llaw i roddi esboniad llythyrenol, gwreiddiol, a gwirioneddol ar y teitlau hyn?

*Dai.* Cei, faint a fynot ti, Ned bach.

*Ned.* Wel, dyma dreial teg arni hi, *my boy*. B.A. yw big ass, M.A. yw mute ass, B.D. yw big d-v-l, a D.D. yw d— dwl. "*Nemo mortalium omnibus horis sapit.*"

SYLWEDYDD SALA' YDYW.

---

## HANES YR EGLWYS YNG NGHYMRU O DEYRNASIAD ELISABETH HYD ORSEDDIAD VICTORIA.

(*Parhâd o dudal.* 246.)

*Barn y gwahanol enwadau am awdurdod y swydd weinidogaethol, &c.*

MANTAIS fore Anghydffurfiaeth oedd bod ei phlanwyr yn ddynion mewn urddau rheolaidd, pe amgen digon o waith y cawsai le neu lonydd i ymwreiddio. Yr oedd gan yr oes hòno syniad mor wahanol i'n hoes ni am urddas "y swydd offeiriadol."

Yr oedd yr holl Eglwys Orllewinol, yn gystal a'r Ddwyreiniol, yn honi olyniaeth Apostolaidd. "Olyniaeth Apostolaidd yn wir!" medd y darllenydd, "dyna destyn gwawd Anghydffurfwyr presennol Cymru;" ïe, dyna arfer dynion, cablu pethau ni wyddant. Ac nid ystyriant fod y Presbyteriaid a'r Esgobyddion yn honi yr un *olyniaeth*, ond ar dir gwahanol. Yn ol syniad y Presbyteriaid nid oes neb yn meddu awdurdod ysgrythyrol fel gweinidog yn yr eglwys ond yr hwn sydd wedi ei ordeinio drwy arddodiad dwylaw yr henuriaid—henuriaid wedi derbyn eu hordeiniad gan weinidogion rheolaidd, yn olrhain eu holyniad oddi wrth eu rhagflaenwyr i fyny at yr Apostolion, ac at yr Arglwydd Iesu ei hun, Pen mawr yr Eglwys; ac fel hyn y mae yr ysgol newydd Bresbyteraidd o'r Methodistiaid Calfinaidd, hwynt-hwythau yn honi urddau drwy arddodiad dwylaw "yr henuriaid." Henuriaid, daliwch

sylw, o ordeiniad esgobyddol. Ond y mae y "to" presennol o bregethwyr Methodistaidd wedi yfed yn ddwfn iawn o syniadau gweriniaethol gyda golwg ar lywodraeth eglwysig a gwladol.

Am yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr nid ydynt yn credu mewn *olyniaeth* o gwbl, ac ymffrostiant nad ydynt fel ereill, yn rhwymedig wrth gredoau dynol, fel y galwant gyffesiadau gosodedig ffydd, ond seiliant eu hawdurdod weinidogaethol ar ddewisiad. galwad, a phenodiad cynnulleidfaol. Daliant fod pob eglwys neillduol neu unigol yn berffaith annibynol ar bob eglwys arall gydoesol neu ragflaenol; nid yn unig ar yr Eglwys Gristionogol Gatholig neu gyffredinol, ond ar bob eglwys arall o'r un enwad; yn meddu perffaith awdurdod hunanlywodraethol. Y mae yn canlyn, mai gan yr eglwys, ac nid gan ei gweinidogion, y mae awdurdod i ordeinio gweinidogion yn eu mysg.[1] Ond am y gyneglwys, y mae yn anwadadwy i'r Apostolion gael eu hordeinio gan Ben yr Eglwys, ac nid gan eu cyd-ddysgyblion, a bod yr Apostolion wedi cymmeryd arnynt i ordeinio esgobion a henuriaid ym mhob eglwys drwy arddodiad dwylaw yn enw yr Arglwydd Iesu; ac ar yr honiad mai iddynt hwy yr ymddiriedwyd agoriadau Teyrnas Nefoedd. A bod y rhai a ordeiniwyd felly wedi arfer yn olynol yr un awdurdod dybiedig, drwy holl Gred, dros bymtheg can mlynedd, fel y cytuna'r Presbyteriaid yn gystal a'r Esgobyddion. A'r unig wahaniaeth rhyngddynt yw hyn, bod y Presbyteriaid yn credu fod pob gweinidog o olyniad Apostolaidd yn esgob i bob dyben a pherwyl; tra y mae'r Esgobyddion yn apelio at arferiad oesol yr eglwys gyffredinol, yn dal fod esgobion o radd uwch yn *llywodraeth* yr eglwys, ac yn cynnrychioli coleg yr Apostolion, er bod yr holl henuriaid yn sefyll ar yr un tir cyffredin o ran awdurdod i weinyddu sacramentau ac ordinhadau yr Efengyl, ac na urddir neb yn offeiriad heb arddodiad dwylaw yr henuriaid gwyddfodol: felly cyfarwydda'r rhuddell, "Yr Esgob gyda'r offeiriaid[2] cyd-ddrychiol a ddodant eu dwylaw ar ben pob un a fo yn derbyn Urdd Offeiriadaeth." Felly y gwnai'r Apostol Paul a henuriaid Lystra.—2 Tim. i. 6; 1 Tim. iv. 14. Nid chwaith i eglwysi Creta ac Ephesus y rhydd yr apostol ei gyfarwyddiadau; ond i Titus a Timothëus, megys swyddogion wedi eu dirprwyo â'r un awdurdod ag a feddai efe ei hun, gyda golwg ar ordeiniad gweinidogion. A henuriaid yn unig a ddewisir yn esgobion. Nid yw tiriogaeth ddim mewn un modd yn beth hanfodol i'r swydd esgobol, gallwn yn hawdd gredu i ddoethineb apostolaidd roddi awdurdod esgobol, hyny yw, arolygol i henuriaid eglwysig dinasoedd mawrion canolog; megys Philippi, Ephesus, &c., i sylfaenu eglwysi cangenol, ac ordeinio gweinidogion iddynt.—Act. xx.; Philip. i.

Y mae gweinidogion y Wesleyaid yn sefyll ar eu penau eu hunain, heb

---

[1] Y mae eu syniadau egwyddorol yn gwbl gysson gyda golwg ar lywodraeth eglwysig a gwladol, fod awdurdod llywiawdwr yn deilliaw oddi wrth ei ddeiliaid, ac awdurdod bugail yn deilliaw oddi wrth ei braidd. Serch hyny, nid gan ei ddysgyblion y gosodwyd Crist yn ben yr eglwys fel y dywed Efe, "Nid chwi a'm dewisasoch I, ond myfi a'ch dewisais chwi, ac a'ch ordeiniais chwi," &c.—IOAN xv. 16. Ac felly, nid gan yr eglwys, y corff cynnulleidfaol o ddysgyblion, yr ordeiniwyd yr Apostolion. Ac am y saith diacon cyntaf y dywed yr esboniwr Presbyteraidd, Barnes. "Er fod y saith diacon wedi cael eu dewis gan yr eglwys, eto, derbynient eu commissiwn uniongyrchol a'u hawdurdod oddi wrth yr Apostolion.—ACTAU vi. 6.

[2] Nid yw *offeiriad* ond enw arall am *henuriad*, a ddefnyddir yn gyffredin i wahaniaethu un mewn cwbl urddau esgobol oddi wrth ereill. Gan fod yr Iuddewon a'r holl genedloedd wedi arfer erioed i alw gweinidogion crefydd yn offeiriaid, naturiol oedd iddynt alw gweinidogion yr eglwys Gristionogol ar yr un enw mewn ffordd o anrhydedd.

ordeiniad esgobol, henaduriaethol, na chynnulleidfaol. Yn eu cynnadledd yn 1836, gan nad oedd Wesley wedi ordeinio neb o honynt, pleidleisiasant eu hunain yn weinidogion, ac yna cymmerasant arnynt urddo ereill. Ac y maent wedi cau allan o'u cynnadledd hyd heddyw holl aelodau ereill y corff, a'r holl bregethwyr lleol; pa faint bynag eu gwybodaeth. eu dawn, a'u duwioldeb, megys "lleygion;" ac yn awr mewn dadl a phetrusder mawr a ddylid gollwng "gwŷr lleyg" i mewn i rai o'u cynghorau!

Ni ŵyr "y dorf grefyddol" ddim o hanes y prif oesoedd; am olyniaeth. nac ordeiniad rheolaidd yn eu plith eu hunain. Ond y mae y rhai a ysgrifenasant hanes gwahanol enwadau a bucheddau eu henwogion, wedi bod yn gyffredin yn ddynion digon eu dysg a'u gwybodaeth hanesyddol i weled bod yr awdurdod weinidogaethol yn tarddu yn wreiddiol o ffynnonell Apostolaidd, a bod yr Eglwys Gyffredinol ar y ddaiar wedi cadw yr awdurdod hòno i redeg yn y sianel esgobyddol, drwy yr hir oesoedd, hyd ddyddiau diweddar Anghydffurfiaeth. Ac am hyny cymmerant boen mawr i gyfiawnhau Ymneillduaeth, megys peth angenrheidiol ac anhebgorol yn ei adeg; drwy ddarlunio a lliwio y Cymry megys un o'r cenedloedd mwyaf paganaidd, ofergoelus, anwar, a didduw, dan haul, cyn rhyw lai na chan mlynedd yn ol; drwy son mwy na mwy am anwybodaeth, diogi ysbrydol, ac annuwioldeb yr hen bersoniaid erlidgar Cymru gynt. Yna eu dal yng ngwyneb doniau llachar, duwioldeb mawr, llafur diflino, a dyoddefiadau sylfaenwyr Ymneillduaeth; a'r arddeliad dwyfol oedd yn dilyn eu gweinidogaeth, a'u dirfawr boblogrwydd. Ië, appelir at wyrthiau lawer a rhyfeddodau; tröedigaethau a gwaredigaethau rhyfeddol; dygwyddiadau hynod, megys fod corff ambell un o'u cymmwynaswyr yn aros yn anllygredig, er gorwedd flynyddau meithion yn y bedd. Ac o'r tu arall am y barnau ofnadwy a syrthiasant ar eu herlidwyr gynt. Rhai a ddarostyngwyd o gyfoeth moethus i dlodi truenus; rhai a drengasant yng ngwallgofrwydd anobaith. a damnedigaeth; rhai a laddwyd gan anifeiliaid; rhai a ysgubwyd ac a foddwyd gan lifogydd disymmwth pan ar hynt erlidiol; rhai y bu i'w haelodau ffraenu a chwympo oddi wrth eu cyrff tra eto yn fyw; rhai a fwytawyd gan bryfed. fel Herod gynt; gyda llawer o bethau rhyfeddol ereill, a gredir yn dimmheu gan filoedd.

Yn awr beth a ddywedwn ni wrth y pethau hyn? Wel, bu Mr. Baldwyn Brown, gweinidog parchedig Ymneillduol yn Llundain, mewn dirfawr lafur yn ddiweddar, yn ceisio cadarnhau ei sefyllfa eglwysig. drwy haeru mai Ymneillduwyr neu Anghydffurwyr oedd y Prophwydi—moliannus nifer Prophwydi Israel gynt! Nid rhaid dweyd na fu y Parch. Baldwyn Brown ddim yn alluog i brofi fod cymmaint ag un o'r Prophwydi sanctaidd wedi sylfaeni sect Ymneillduol. wedi cymmaint ag ymneillduo oddi wrth yr Eglwys Iuddewig ei hun. nac anghydffurfio â gwasanaeth a defodau yr Eglwys Sefydledig y pryd hyny; ond i'r gwrthwyneb, eu bod yn arfer ordinhadau Moses a'r Tadau; ac nas gellir profi nad oedd Elïas y Thesbiad, er enghraifft, ddim yn offeiriad o lin Aaron yn gystal a phrophwyd. Ond yr ydym yn diolch i Mr. Brown yn ddiffuant am ddodi yn ei ddwylaw allwedd gwaredigaeth, o'r benbleth fawr yng nghylch awdwrdod weinidogaethol bugeiliaid Ymneillduol; ac yr ydym yn mawr lawenhau. pan yn gallu edrych ar John Elïas, Christmas Evans, Williams o'r Wern, a llu o'u cyffelyb. fel dynion yn sefyll ar yr un tir uchel a'r prophwydi gynt—dynion wedi cael eu codi. eu donio. a'u harddel gan Dduw, i gyfarfod amgylchiadau neillduol yn hanes yr

eglwys filwriaethus ar y ddaiar; ond, tra yr ydym yn estyn deheulaw cymdeithas garedicaf iddynt, fel meibion ysbrydol Lefi, eu camsynied mawr fu "ceisio'r offeiriadaeth hefyd," a thrwy hyny rwygo'r undeb y gweddïai ein Harglwydd bendigedig mor daer am dano, cyn esgyn i'w ogoniant. A rhaid i ni alaru na ddangosodd awdurdodau eglwysig y dyddiau annedwydd hyny, mwy na hwythau, ond ychydig iawn o'r cariad sydd yn dyoddef pob dim, yn credu pob dim, yn gobeithio pob dim, yn ymaros pob dim, &c.

Bellach deuwn at achosion cynnydd mawr Ymneillduaeth ddiweddar. Yma hefyd yr ydym yn mawr ganmol gweithgarwch dilynwiw yr Ymneillduwyr. Ni adawsant un gareg heb ei throi; gwnaethant ddefnydd rhagorol o'r holl offerynau oeddynt yn eu cyrhaedd. Y mae'r Bedyddwyr yn honi mai hwynt-hwy a ddechreuasant gynnal ysgolion Sul; rhaner y glod rhyngddynt hwy a'r Methodistiaid, dan arweiniad Charles o'r Bala. Haerir mai y Wesleyaid a osodasant y wasg gyfnodol gyntaf ar droed yng Nghymru. Ni wyddom ragor na bod yr Eglwys wedi mawr esgeuluso'r Wasg Gymreig, ac mai dyma un o wendidau cyfansoddiadol yr Eglwys. Achos arall o lwyddiant Ymneillduaeth oedd ei bod yn darparu canwyllbren cyhoeddus i oleuedau a gadwesid byth bythoedd dan lestri gweigion a gwelyau esmwyth graddau a golud ereill Bu yn ddigon llygadog i weled fod Natur addoladwy mor ddall, yng ngolwg doethineb y byd hwn, fel y mae yn aml yn cyfranu ei rhoddion mwyaf ysblenydd i feibion a merched heb eu geni o "waed," ac heb edaf o gyfoeth treftadol amdanynt, a gwnaeth ddefnydd parod o honynt; a rhoes waith i bob dawn segur oedd yn ymofyn am swydd. Cymmerodd feddiant o holl bentrefi'r bychain anghysbell y wlad, a phob sefydle poblogaeth newydd, yn hir cyn i'r Eglwys ddeffro at ei dyledswydd. Ond yn benaf dim y mae ymledaeniad Ymneillduaeth i'w briodoli i bregethu, pregethu teithiol, cymmanfaol, cynhyrfiol a nerthol; a'r pwys mawr a ddodant ar aelodaeth yn eu plith fel peth hanfodol i grefydd a duwioldeb, ac o ganlyniad, fel peth anhebgorol er-iachawdwriaeth. A pha le bynag y mae yr Eglwys yn arfer moddion cyffelyb, yno y mae "cynnulliad pobloedd." Ac y mae hi yn ailfeddiannu ei thir yn raddol fel hyn er's hanner can mlynedd. Y mae yn cyflawnu rhyfeddodau: nid adeiledir Eglwys newydd na lenwir hi yn fuan; nid agorir hi heb gasglu torfëydd; nid ydys byth yn cynnal cyfarfod pregethu offeiriadol, neu ddiolch am gynauaf, heb lenwi Eglwys y plwyf neu ardal. Peth a digon o *fywyd* ynddo y mae y dorf yn ymofyn am dano, ac ar weithio yn effro y mae rhagolygfa yr Eglwys yn gorphwys; a dyweded rhai pobl sy'n caru esmwythder a fynont, ni wneir dim gwaith heb "drwst" yn ol barn y byd. Ac nid oes dadl na eangid dylanwad yr Eglwys yn fawr yng Nghymru pe sefydlid pregethu teithiol, ac y cynnelid cymmanfa Eglwysig flynyddol, cydgynnulliad Ysgolion Sul, a chorau Eglwysi cymmydogol, ym mhob ardal drwy Ogledd a Deheudir Cymru.

*Y Diweddglo.*

Wrth dynu i derfyn ein bras hanes ar yr Eglwys yng Nghymru yn ystod y tair can mlynedd ddiweddaf—cyfnod dygwyddfawr a gorlawn o addysg i oesoedd a ddeuant, gyda theimladau cymmysg o alar ac o lawenydd—rhaid i ni gydnabod, "ar gydwybod a gair," fod achosion oddi fewn yn gystal ag oddi allan i'r Eglwys, wedi cydweithio yn anfwriadol, ond nid llai effeithiol, i greu y ffaith fawr o "Ymneillduaeth Cymru." Yn y cyfamser yr oedd darpariaeth ddilynwiw yr hen gyfundrefn blwyfol wedi myned yn annigonol i gyfarfod cynnydd mawr a

phrysur y boblogaeth. Yr oedd yr hen Eglwysydd plwyfol hefyd wedi myned yn adfeiliedig, oerion, ac anneniadol, gyda phrinder mawr o Wasanaethau enaid-gynhyrfiol, teilwng o fawredd Dwyfol ac o gyfrifoldeb dynol; yn enwedig diffyg cyffredinol o Wasanaeth hwyrol ar y Suliau; yr hyn a yrai lawer i'r capel, er bod hwnw yn bob peth ond archadeiladaidd—rhywbeth oddi faes tebyg i felin ddwr neu bandy yng nghil nant. Eto, megys peth anwahanedig oddi wrth gofion dyddiau heulog a blodeuog mebyd, y mae darlun yr hen Eglwys wengalchog, ei hen bulpud uchel Puritaniaidd, ei hen berson penwyn patriarchaidd, ei lais gwrol a'i ddarlleniad Cymreig meistrolaidd; ac â'r hwn yr oedd yr hen blwyfolion diniwed a dirodres yn ymgynghori am bob peth perthynol i'r byd hwn a'r nesaf; yr hen glochydd yspectolog, cariadus gan yr holl blwyf; yr hen loft-ganu gyda'i salmyddiaeth, a thant a phib ei chynghanedd; wedi eu hargraffu fel swyn ar y galon. A'r peth cyntaf a ddaeth i gloddio dan yr hen drefn oedd y "Diwygiad Efengylaidd," fel ei gelwid; ac a barhaodd i weithio yn egnïol ac effeithiol mewn manau dros flynyddoedd, gan ddwyn niferi yn ol oddi wrth Ymneillduaeth mewn rhan neu yn gwbl, nes i'r "symmudiad Uchel-Eglwysig" ei orweithio a'i lethu i raddau, fel y gwelir heddyw. Rhaid i ni addef bod y blaid Efengylaidd a'r blaid Uchel-Eglwysig, er i'w gelynion cyffredin ddannod eu bod wedi eu hieuo yn anghymharus, wedi cyflawnu mewn byr amser waith rhyfeddol i'r Eglwys ac i'r byd; ïe, wedi achub yr Eglwys yng Nghymru rhag cwbl ddifodiad. Gwahanu y ddwy blaid yw amcan a gobaith y Dadsefydlwyr a'r Dadwaddolwyr—troi y naill at Ymneillduaeth, a'r llall at Babyddiaeth; tori ymaith law ddeheu ac aswy yr Eglwys. Ond y mae y gareg o'r mur, a'r trawst o waith coed, y capelydd, eu caniadaeth leisiol ac offerynol, a gwisgiadau pregethwyr Ymneillduol yr oes hon, yn profi eu barn am surni y grawnwin anghyrhaeddadwy, a bod y tir sydd wedi hir wahanu rhyngddynt a'r Eglwys yn myned yn gulach beunydd drwy feithriniad addysg a gwybodaeth grefyddol. "Rhydd i bawb ei farn, ac i bob barn ei llafar."

---

## GOLWG AR GWRS Y BYD.

### HUNANLADDIAD ESGOB MEATH.

Nid yn aml yr ydym yn darllen am hunanladdiadau yn cael eu cyflawnu gan esgobion; ond y mae yn flin genym gofnodi hunanladdiad Dr. Samuel Butcher, yr hwn a derfynodd ei einioes y mis diweddaf. Ar foreu y 18fed cyssegrodd fynwent newydd i'r milwyr. Wedi newid ei ddillad achwynodd ei fod yn oer: ymosododd *bronchitis* arno: yr oedd yn llawer gwell nos Wener, ond gwaethygodd yn sydyn a thorodd ei wddf ag ellyn mewn gloes wallgofus. Dywed y meddygon i'r gwaed redeg i'r pen, nes peri gwallgofrwydd: bu fyw am ychydig amser, a daeth ato ei hun i'w iawn bwyll. Ysgrifenodd yn dawel mewn atebiad i'w deulu y gair "gwallgof." Yr oedd Dr. Butcher yn cael ei barchu yn fawr gan glerigwyr ei esgobaeth. Yr oedd ef yn ysgolhaig hynof a phroffeswr duwinyddiaeth yng Ngholeg Dublin, yn aelod o'r Irish Royal Academy, cyn iddo gael ei ddyrchafu i wisgo y *mitre.* Yr oedd ef yn fab i'r Islyngesydd Butcher. Cafodd ei eni yn 1811, felly yr oedd yn drigain a phump oedd. Addysgwyd ef yng Ngholeg y Drindod. Yn 1832 cafodd ei ethol i Ysgoloriaeth. Graddiwyd ef yn 1835, ac wedi hyny gwnawd ef yn gymmrawd. Daliodd y swydd o Broffeswr mewn Hanesyddiaeth Eglwysig yn ei goleg o 1850 i 1852, wedi hyny cafodd ei benodi i fod yn Regius Professor.

Cafodd ei gyssegru i esgobaeth Meath yn 1866. Dr. Butcher oedd y 90fed a lanwodd y swydd o'i sef-

ydliad yn y chweched ganrif. Y mae yr esgobaeth yn werth 4068p., ac mae Esgob Meath yn noddwr i 34 o fywoliaethau.

CANON NEWYDD TY DDEWI.

Ychydig amser yn ol bu llawer o achwyn yn y papyrau ar Esgob Ty Ddewi am benodi y Parch. David Lewis i fywoliaeth a chanoniaeth Ty Ddewi. Yn ystod y mis diweddaf daeth canoniaeth arall yn wag trwy farwolaeth y Canon Thomas o Steynton; ac mae yr esgob wedi penodi y Parch. David Williams, D.G., ficer Llanelli, i'r ganoniaeth wag. Nid ŷm yn credu fod gan neb achos i achwyn yn erbyn penodiad Mr. Williams, canys y mae ef yn deilwng o ddyrchafiad. Y mae yn weithiwr difefl, ac mae ol ei lafur i'w weled heddyw ym mhlwyf Llanedi a phlwyf poblog a phwysig Llanelli. Bu ef yn foddion i adgyweirio Eglwys Llanedi, ac adeiladu amryw Eglwysi ym mhlwyf Llanelli. Nid yw dyrchafiad Mr. Williams yn brawf nad oes yn yr esgobaeth lawer offeiriad gweithgar yn deilwng o'r unrhyw anrhydedd, a gwaith anhawdd oedd i'r esgob ddewis o blith amryw â hawl ganddynt i gydnabyddiaeth o'u diwydrwydd a'u ffyddlondeb yn eu swydd sanctaidd a phwysig.

NEILLDUAD MR. C. W. NEVILL.

Yn 1874 ennillodd y Ceidwadwyr fuddugoliaeth ogoneddus ym mwrdeisdrefi Caerfyrddin a Llanelli pan etholwyd Mr. Nevill gyda mwyafrif gorchfygol. Cyn hyn yr oedd cynnrychiolaeth y bwrdeisdrefi yn cael ei ystyried yn dreftadaeth i'r Radicaliaid. Er cymmaint o siarad fu gan y cryddion Radicalaidd, maerod, exmaerod, a henaduriaid Rhyddfrydol yn erbyn cymhwysder Mr. Nevill, ni fu er ys blynyddoedd addasach dyn. Dywed y papyrau Radicalaidd mai bai Mr. Nevill yw, ei fod yn actio Sion-bob-Ochr, fel yr hen ddyn hwnw â'r asyn, yn methu yn lân â boddloni un blaid. Beiir Ceidwadwyr Caerfyrddin am eu difrawder a'u llwfrdra yn gadael i'r sedd gael ei chario yn ei chrynswth i wersyll Radicaliaeth. Dywedir fod Cymdeithas Gyfansoddiadol i gael ei sefydlu. Gwell hwyr na hwyrach. Ond pa ham na fuasai i'r gymdeithas gael ei sefydlu bedair blynedd yn ol, pan amcanwyd ei chychwyn? Bai y Ceidwadwyr yn wastad yw oedi: oediad yw lleidr amser. Y mae yr un peth i chwi chwareu crwth a thelyn i neidr fyddar a chael rhai dynion i symmud mewn un achos. Fe ddaw Etholiad Cyffredinol o amgylch eto yng nghwrs amser; ond pwy a'i gwel? Gobeithiwn na fydd yr etholwyr Ceidwadol fel plant Israel ym Mwlch Michmas —heb na gwaewffon na chleddyf.

DADL AR Y BIL ADDYSG.

Ymladdodd pleidwyr addysg secularaidd yn y Senedd hyd y diwedd yn erbyn mesur Arglwydd Sandon. Yr oedd ein cydwladwr heddychol, Mr. Henry Richard, Mercurius Ymneillduaeth, ar ei wadnau hyd y diwedd; a phan welodd nad oedd dim yn tycio gwrthdystiodd yn ei erbyn, ac y buasai iddo ef a'i gyfeillion ei daflu yn ol i wyneb Arglwydd Sandon. Y mae yn amlwg, oddi wrth y dadleu a fu, nad oes gan wrthwynebwyr y mesur ddim un arweinydd doeth. Ceisiwyd profi fod y Byrddeu Ysgol wedi bod yn fendith ac o les mawr i'r cyhoedd. Wel, mae gwahaniaeth barn ar y pwnc. Sefydlwyd Byrddau lle nad oedd dim un angen am danynt o gwbl. Dygwyd y Byrddau hyn i fodolaeth o eiddigedd yn erbyn Eglwys Lloegr. Dadleuwyd i Act 1870 ffurfio peiriant cyffredinol i'r wlad, i gymmeryd lle yr hen beiriant gwirfoddol. Er gwaethaf pob ymdrech sydd wedi cael ei wneyd i ddiwreiddio yr Ysgolion Enwadol, y maent yn llwyddo ac yn cynnyddu yn barhäus.

Y mae cyfundrefn y Byrddau Ysgolion mewn penbleth. Sefydlwyd y Byrddau er llanw bylchau, ond nid

oes dim llawer o fylchau heb gael eu cau. Nid bai y Rhyddfrydwyr yw fod drysau yr ysgolion enwadol yn agored heddyw. Ni fwriadwyd Act 1870 erioed i ddifodi yr ysgolion enwadol. Y mae hyn yn amlwg i bawb—mai cynnorthwy oedd y byrddau i fod ac nid i'w disodli. Ni fwriadwyd i'r ysgolion enwadol gilio o flaen y Byrddau fel Indiaid Cochion America o flaen y dyn gwyn. Nid ym yn synu nac yn rhyfeddu dim wrth weled pleidwyr y Byrddau mewn gloesion wrth weled nad oes dim un gobaith y gallant ladd yr ysgolion enwadol.

Y WASG EGLWYSIG.

Yr un achwyniad sydd yn barhäus am y Wasg Eglwsig; hyny yw, nad yw yn cael ei chefnogi fel ag y dylai gan Eglwyswyr Cymru. Fel hyn mae yr Eglwys yn esgeuluso yr offeryn mwyaf nerthol i oleuo y bobl. Gwiriondeb plentynaidd yw dywedyd fod y bobl yn gallu darllen Seisoneg; ac mae y sawl sydd yn haeru hyn, fel y clywais offeiriaid Cymreig yn gwneyd, yn gwbl ddifater yng nghylch y werin Eglwysig.

FICERIAETH ABERTAWY.

Y diwrnod o'r blaen cymmerodd ymchwiliad le yn y dref uchod er cael gwybod pa un a oedd yn ofynol cael offeiriad Cymreig i lanw ficeriaeth Sant Mair, dan lywyddiaeth y Canon Williams, Llanelli. Nid oes dim un ammheuaeth nad oes gwir angen am gael offeiriad o Gymro i lanw y swydd bwysig hon. Y mae llawer o glod yn ddyledus i'r esgob am gydsynio â dymuniad y plwyfolion Cymreig. Y mae y capeli Cymreig yn llawnion o wrandawyr: pa ham na wneir ymdrech i gael rhai o honynt i'r Eglwys? Y mae penodiad Seison anghyfiaith i fywoliaethau Cymreig wedi bod yn felltith i'r Eglwys yng Nghymru. Pa fodd y gall dynion, estroniaid i iaith y bobl, weinyddu cysur i'r plwyfolion pan ar ymylon byd arall? Er fod y rhan fwyaf o'r Cymry yn gallu parablu Seisoneg, yr iaith Gymraeg yw iaith addoli y Cymro. Dygodd y Parch. Mr. Campbell, curad Sant Mair, reswm dyeithr ym mlaen i brofi nad oedd angen am Gymro. Priododd y gwr parchedig amryw o gyplau, ac yr oeddynt oll yn gallu ysgrifenu eu henwau yn Seisoneg, a chafodd allan nad oedd pobl wrth briodi yn arwyddo y *Register* yn Gymraeg! Nid yn aml y clywsom reswm mor blentynaidd a hwn, dylasai gwr sydd yn cymmeryd gofal plwyf Cymreig wybod nad yw y Cymry er ys canrifoedd lawer, yn ysgrifenu eu henwau yn Gymraeg.

MR. JOHN BRIGHT.

Er cymmaint yw galluoedd Mr. John Bright fel siaradwr a gwleidyddwr, nid yw hyd yn hyn wedi dysgu llywodraethu yr aelod bychan yna sydd ganddo. Dywedodd yn amser un o etholiadau Aberhonddu nad oedd teulu Tredegar wedi gwneyd dim eriod ond dyfod yma gyda William y Concwerwr. Y mae Morganiaid Tredegar yn hanu o hen foncyff Cymreig trylen; yr oedd y teulu yma cyn fod son am William y Concwerwr. Ychydig amser yn ol canmolodd yr offeiriaid am eu gweithgarwch, ond edifarhaodd am hyn, ac mae ef yn awr yn eu cyhuddo o fod yn gul, rhagfarnllyd, ac erlidgar. Cyhuddodd weinidog eglwysig yn swydd Warwick o fod yn erlidiwr ar *small scale.* Heriodd y person ef i brofi ei haeriad; ond nid yw ef wedi gwneyd hyn. Y mae miloedd o blant yr Ymneullduwyr yn myned i ysgolion yr Eglwys; ond nid ydynt hwy na'u rhieni eiroed wedi breuddwydio eu bod dan erlidigaeth nes mae rhyw archgynhyrfwr yn eu perswadio. Ceisia cwacs berswadio dynion iach eu bod yn glaf, ac mae y cwacs politicaidd yn gwneyd yr un peth.

CYNNYDD ADDYSGIAETH.

Y mae yr ystadegau a roddodd Arglwydd Sandon o flaen Ty y Cyffredin yn dangos fod addysg wedi

gwneyd cynnydd aruthrol o fewn ychydig flynyddoedd. Nifer yr ysgolion sydd yn cael eu cynnal trwy gyfraniadau gwirfoddol ydyw 17,323, ac mae yn yr ysgolion hyn 2,772,690 o blant. Nifer ysgolion y Byrddau ydyw 1922, yn cynnwys lle i 387,000 o blant. Y mae yr ysgolion enwadol wyth am bob un o'r lleill. Y mae y ffugrau hyn yn siarad cyfrolau am weithgarwch pleidwyr yr ysgolion enwadol, dylai hyn roddi taw bythol ar gleger y Byrddwyr. Y cyfrif am y flwyddyn hon yw 1,707,055p. 13s 8c. gyferbyn â phob plentyn, 11c. yn fwy na'r flwyddyn o'r blaen. Cynnyddodd yr ysgolion yn y pum mlynedd diweddaf o 6279 i 13,217: dylai pob un sydd yn cymmeryd dyddordeb gael ei foddloni.

---

## MYFYRDOD MEWN MYNWENT.

*Tra yn eistedd un hwyrnos haf ar feddfaen adfeiliedig ym mynwent hynafol Llanfihangel Ysceifiog, Mon, rhedai drwy fy meddwl y llinellau canlynol:—*

AR faen gwyredig, creithiog,
Hen feddfaen ger y Llan,
Eisteddaf yn drymlwythog
Is gwên newyddloer wan,
Ger adail gyssegredig
Hynafol, lwyd ei gwedd,
I wrandaw pregeth bwysig
Gan ddwfn ddystawrwydd bedd!

Y cerfiad ar y gareg,
Mudanol bellach yw,
Ni ddywed sill ychwaneg
O hanes wrth y byw:
Ysbeiliwyd enw'r marw
Gan Amser, deyrn dihedd,
Ac mwyach 'does ond delw
'R ysbeilydd wylia 'i fedd!

Fy meddwl chwim hofrana
Uwch dyfnfor hanes cudd,
Ond mal colomen Noah
Dychwela'n ol yn brudd:
Enhuddwyd hanes difyr
Yr holl farwolion hyn
Yng nghwympiad eu holynwyr
A'u cload yn y glyn.

Ha! Henaint, gwylaidd blygu
O'th flaen wna'm henaid i,
Mae'n gallu gwir edmygu
Dy urddasolrwydd di;



A'r fynwent hon ar unwaith
A'th ddengys yn ddigoll,
Ymdaenaist megys rhwydwaith
Arddunol drosti oll.

Ac O! 'r dystawrwydd treiddgar
Deyrnasa ar bob tu,
Ni flinir cwsg yr adar
Ar gangau'r ywen ddu,
A'm henaid effro, ofnus,
Yn gwrandaw'n aiddgar iawn
Ar fud hyawdledd grymus
Y fath ddystawrwydd llawn.

Yn nyfnder y fath heddwch
Mae swn fy anadl fyw
Yn disgyn mewn treiddgarwch
Mal udgorn ar fy nghlyw!
A dwg fi'n llaw dychymmyg
I'r bwysig farn a ddaw,
Pan gwelir udgorn llachar
Mewn coeth, angylaidd law.

Ddiystyr, fud farwolion,
Chwi fuoch ddydd eich bri,
Ef allai uwch ben meirwon,
Yn debyg fel 'r wyf fi,
Yn dyfal syn fyfyrio
Yng nghylch yr adeg pryd
Caech chwithau eich anghofio
Yn hollol gan y byd.

A minnau'r awron welaf
Yr Angeu gyda'i gledd
Yn prysur nesu ataf,
I'm taraw i fy medd!
Cynghoraf bob ymwelydd
Eill dd'od uwch ben fy nghell,
Bydd ddyfal, ddyfal beunydd
I geisio byw yn well.

ERYR BERW.

*London House, Bangor.*

---

## NODDIADAU EGLWYSIG.

AMRYW fisoedd yn ol darllenais araith y Parch. Canon Williams, Llanelli, mewn perthynas i'r dull y rhoddir noddiadau Eglwysig; ac os wyf yn cofio yn iawn condemniodd y noddiadau preifat. Mae y noddiadau hyn wedi ac yn bod heddyw yn anfri i'r Eglwys. Y mae llawer o gyfnewidiadau wedi cymmeryd lle yng Nghymru er ys cwarter canrif yn ol. Ac nid oes un ammheuaeth nad yw'r Esgobion presennol, mor bell ag mae yn bosibl, yn gwneyd cyfiawnder â'r offeiriaid yn eu hesgobaethau. Mae gwahaniaeth dirfawr yn awr yn yr Eglwys oddi wrth yr hyn oedd hanner

canrif yn ol. Yn y flwyddyn 1838, pasiwyd cyfraith nad oedd i un offeiriaid gael ei benodi i fywoliaeth Gymreig, heb fod yn adnabyddus ag iaith y plwyfolion; ond ni chafodd y gyfraith hon nemawr o sylw yr amser hwnw. Un o'r troseddwyr penaf oedd y diweddar Dr. Vowler Short, Esgob St. Asaph; nid oes dim hanes iddo erioed gefnogi unrhyw beth Cymreig. Yn 1847, pennododd ei frawd yng nghyfraith (Sais) i fywoliaeth gyfoethog Gresford. Mae'r plwyf hwn yn cynnwys un cwmmwd cyfan o Gymry; Cymraeg oedd iaith y plwyfolion. Yr oedd Deon Horseley, ficer Gresford, yn fab i Esgob Horseley, Llanelwy; daliodd y fywoliaeth, yr hon oedd yn werth 700p. y flwyddyn, am ddeugain mlynedd. Llanwyd ei le gan gurad tlawd am ddeng mlynedd ar hugain. Cyfanneddodd y Deon yr holl amser yn Edinburgh, a daliodd hefyd ficeriaeth Llanfair Caereinion, gwerth 638p., a chorberigloriaeth Llanfair Talhaiarn, gwerth 350p. Nid oedd ef yn gwybod dim un gair o Gymraeg, ac nid yn aml y gwelwyd ef yn ei blwyfydd. Unwaith yn ei oes y talodd ef ymweliad â Llanfair Caereinion, pan ddarllenodd ei hun i fewn. Ar ei ffordd yno benthyciodd 1000p ar y fywoliaeth yn y Trallwm. Yr oedd yr un peth yn cael ei wneyd yn gyffredin. Yr ŷm yn cael ar awdurdod y diweddar Barch. Joseph Hughes (Carn Ingli), na fu un Esgob Cymreig yn Llanelwy o'r flwyddyn 1727, hyd benodiad y Dr. Hughes. Yr oedd y Deoniaid oll yn Sieson o 1706, a'r Corgeiniaid o 1733. Yr oedd yr holl swyddi segur a'r rheithorau, oddi gerth un, yn nwylaw Seison, gwerth 4000p. y flwyddyn! Pan ysgrifenodd Mr. Johnes ei draethawd yn 1835 yr oedd teulu yr Esgob Luxmore yn derbyn y swm o 15,000 y flwyddyn. Yr oedd y Luxmore diweddaf yn Ddeon St. Asaph, Prebendari Henffordd, segur swydd, Rheithoriaeth Bromyard, Darowen, ficeriaeth Bradley. Yr oedd y Deon hwn yn derbyn o arian yr Eglwys bob blwyddyn 6356p. Faint o waith wnaeth y dyn hwn am y swm anferth hon? Y mae lle i ofni y bydd i lawer un roddi cyfrif manwl yn y byd a ddaw. Nid oedd dim llawer o'r offeiriaid oedd wedi dysgu ychydig Gymraeg ac yn gofalu am eneidiau y Cymry, ddim ond difyrwch.

Ysgrifenodd offeirad o Gymro bregeth Gymraeg i Sais oddi ar y testyn, "A Nimrod oedd heliwr cadarn." Nid oedd y bregeth ddim ond desgrifiad o hela llwynogod ac ysgyfarnogod, pa le yr oeddynt i'w cael, a pha fath gŵn oedd y rhai goreu i hela. Yr oedd y pregethwr yn ddifrifol iawn wrth ei thraddodi; ond yr oedd ei wrandawyr bron hollti gan chwerthin Darllenodd un o Ddeoniaid Gogledd Cymru y llinellau

> "Ymddyrcha, O Dduw'r nef uwch ben,
> Daiar ac wybren hefyd,"

fel y canlyn:—

> "Ymddyrcha, O Dduw'r nef uwch ban,
> Dwy iâr ac wy brân hefyd."

Nid ŷm yn rhyfeddu i'r Cymry fyned i'r capeli yr oes aeth heibio, a gadael yr Eglwys. Nid oedd llawer o'r offeiriaid ddim yn alluog i siarad â dynion am faterion ysbrydol; dim un gair o gysur i ddyn ar ei wely angeu.

Yn ddiweddar cadwyd ficeriaeth Llangattwg, Castell Nedd, yn wag yn hir, i alluogi mab y ficer diweddar i ddysgu Cymraeg. Meddyliwch am fynyd am ddyn yn ceisio dysgu iaith mewn ychydig fisoedd, i'r pwrpas i ddysgu ereill yn ffordd y bywyd. Gwrthododd yr Esgob, a hyny yn briodol iawn, ei benodi o gwbl.

Y mae yn dda genym ysgrifenu nad oes ond ychydig o achos i achwyn ar y tir yma yn awr; nid yw y bai yn gorwedd wrth ddrysau yr Esgobion fel ag yr oedd gynt. Ni fu gwell Esgobion ar y fainc esgobol er ys hir amser, ac yn teimlo cymmaint dros lwyddiant yr Eglwys, na'r pedwar Esgob presennol.

CRAIG Y FOELALLT.

## SEINTIAU CYMREIG.

### ILLTUD.

GANWYD Illtud Sant yn Armorica, Llydaw. Yr oedd ef yn fab i Bicanus, ac yr oedd ei fam yn chwaer i Emyr Llydaw, ac yn nai i Sant Garmon. Y mae llawer o Eglwysi Cymru wedi cael eu cyssegru i'r Sant hwn: Llanilltud Fawr, Morganwg, Llanilltud Faerdref, yn yr un sir; Pembre, sir Gaerfyrddin; Ilston a Castell Newydd, Morganwg; a Llantrisant, yng nghysswllt â Sant Tyfodwg a Sant Gwynno. Dywedir mai efe oedd Sant amgeleddol Llanharri a Llantrithyd, Morganwg; Llanhileth, sir Fynwy; Llantood, neu Lantwyd, sir Benfro; Llanilltud, Castellnedd; Capel Illtud, dan Dyfynog, a Llanilltud, dan Llanfachreth, Meirion. Yn ol Cressey, y mae gwyl Illtud yn syrthio ar y 7fed o Chwefror; nid oes dim i ddangos pa bryd y bu ef farw. Yr oedd ei dad Bicanus yn disgyn o deulu enwog, ac yr oedd yn filwr o fri. Hynododd ei hun ar faes y gwaed, ac yr oedd yn cael ei hoffi gan y brenin a'r frenines. Priododd Rienguled, merch Aubland, Brenin Prydain. Yr oedd hon yn un o'r benywod mwyaf rhinweddol a glandeg yn y wlad. Ganwyd iddynt fab yr hwn a fedyddiwyd yn Illtud. Penderfynodd ei rieni roddi iddo addysgiaeth dda. Ar ol iddo dderbyn addysg elfenawl, ymunodd â'r fyddin; ond cymmerodd ofal i gadw yn ei gof yr hyn a ddysgodd. Nid oedd neb mor hyawdl i drafod pynciau philosophyddol ag ef. Pan glywodd am arddercbogrwydd llys ei gefnder Arthur, cododd chwant arno i fyned i'w weled; cymmerodd long a hwyliodd i Brydain, a phan diriodd, canfyddodd fyntai o filwyr. Cafodd dderbyniad caredig. a chafodd ef a'i wraig eu boddloni yn fawr, ac aethant at Pawl, brenin Morganwg. Arosodd yn y llys a chafodd ei benodi yn llywodraethwr ar dy y brenin, a chadwodd drefn dda. Penododd Pawl ef yn benllywydd ar ei fyddin; nid oedd neb i'w gael mor ddoeth a deallgar ag ef. Un diwrnod cymmerodd y brenin ei deulu allan i hela ar diriogaeth Sant Cadog, ac anfonodd genad at Cadog, gyda gorchymmyn. sarig, iddo anfon ciniaw iddynt onid e buasai iddynt ei gymmeryd trwy drais. Anfonodd Cadog yr hyn oedd yn ddigon iddynt. Eisteddodd y cwmni i lawr i fwyta; ond nid oeddynt yn alluog i'w fwyta, o herwydd eu trahäusdra yn gofyn yn y fath ddull i'r Abad: llyncodd y ddaiar hwy i fyny. Nid oedd Illtud yn y fan a'r lle, nac yn gwybod dim am y neges: dychrynodd yn fawr wrth weled y wyrth; a hwyliodd ei gamrau at Sant Cadog, a gofynodd iddo ar ei liniau am gynghor a chysur am ei gamweddau. Cynghorodd Cadog ef yn gyntaf i roddi o'r neilldu ei wisg filwrol, a cheisio gwisg offeiriadol, a chyflwyno ei fywyd o hyn allan i wasanaethu ei Greawdwr. Ufuddhaodd yn ostyngedig; aeth i lys Pawl a chafodd ganiatâd i neillduo. Yr oedd y brenin a'r frenines yn teimlo yn flin am hyn; aeth oddi yno i lan yr afon Ddawan, efe a'i wraig, a'i wasanaethwyr. Cymmerodd hyn le yn yr haf, a chododd fwth, a thodd ef â brwyn i ddiddosi eu gwelyau. Y noson hôno ymwelodd angel ag ef, yr hwn a orchymmynodd iddo roddi heibio bob peth daiarol, ac ymroddi i fuchedd newydd, ac ymlid y Diafol ymaith; cynghorodd ef i roddi heibio ei wraig er ei bod yn un lân. "Pan gyfodi yn y boreu dos i ddyffryn coedog ar yr ochr orllewinol, lle y cei balas, ac y mae y lle yn gyflëus ac yn ffrwythlawn." Boreu dranoeth anfonodd ei wraig i edrych a oedd y meirch yn ddiogel, a hi a aeth yn noeth a'i gwallt yn hongian yn annhrefnus. Pan welodd hi, casaodd hi a phenderfynodd ei gadael. Gwrthododd Illtud ei chymmeryd yn ol, a rhoddodd ei dillad iddi ac ymadawodd. Aeth yn ei flaen nes iddo ddyfod i ddyffryn Hodnant. Nid oedd dim mynyddoedd o amgylch, dim ond

gwastadedd ffrwythlawn a choed, yn y rhai yr oedd llawer o anifeiliaid gwylltion. Yr oedd yn lle hyfryd.

Aeth Illtud at Dyfrig, Esgob Llandaf, yr hwn a orchymmynodd iddo benydio, eillio ei farf a thori ei wallt, a chyssegrodd ei goryn, a gwisgodd wisg offeiriad, a dychwelodd yn ol i'w le ei hun. Yn gyntaf adeiladodd anneddle, a nododd yr Esgob Dyfrig y fynwent allan, ac adeiladodd eglwys o feini o anrhydedd i'r Drindod. Ar ol hyn gwyl.odd a gweddïodd yn ddibaid, a rhoddodd o'i dda i'r tlodion; gweithiodd â'i ddwylaw ei hun. Yr oedd yn arfer ymolchi ganol nos a chyn gweddi foreuol mewn dwfr oer, ac wedi hyny elai ar ei ddeulin i weddïo. Nid oedd yn meddwl am ddim ond yr Ysgrythyrau Sanctaidd.

Pan oedd Gwilym yn frenin Lloegr, a Robert ab Hammon yn teyrnasu ym Morganwg, gwrthwynebodd y Cymry Gogleddol y brenin yn ffyrnig, ac ar ol hyny cododd y Deheuwyr, ac anrheithiwyd y meusydd, a llosgwyd y trefydd a'r cestyll.

Daeth y gelyn allan o'r coed i niweidio y Seison a'r Normaniaid, gan ysbeilio meddiannau, ac ar ol hyny enciliasant yn ol i'r coed. Yn y cyfamser codwyd byddin ym mhlith y Cymry o dair mil, er anrheithio Morganwg. Wrth glywed hyn gwnaeth offeiriaid Côr Illtud a'r plwyfolion godi gwrthglawdd ar lan y môr. Daeth y gelyn at y porth yn ddiarwybod yn y nos. Cymmerodd brwydr le rhwng y ddwy fyddin yn y nos, a syrthiodd llawer. Pan oedd yr ymladdfa yn myned ym mlaen, ymddangosodd gwreichionen o dân rhwng Eglwys Sant Illtud a Chastell y Brenin, Meirchion: dysgleiriodd y goleu fel mellt, a dangosodd arwyddion angylaidd i amddiffyn y Catholiciaid. Yr oedd y goleuni yn myned fwyfwy, fel yr oedd y frwydr yn myned ym mlaen. Halogwyd Nuddfa Duw a Sant Illtud. Gorchfygwyd y tair mil gan nifer fechan. Cawsant eu llwyr orchfygu.

Nid yw hyn ond ychydig o lawer o'r chwedlau mynachaidd a ysgrifenwyd am y sant enwog. Nid oes dim llawer o amser er pan y bu un o offeiriaid Pabaidd Caerdydd yn pregethu ar y Seintiau Cymreig—ar yr holl ofergoelion a'r gwyrthiau a gyflawnasant yn fyw ac yn farw. Y mae yr hen draddodiadau anwireddus yma yn ddigon i gyffroi llwch y saint yn eu beddau.

---

## BUGEILIAID Y BANAU.

*Iwan.* Y mae yn dda genyf ddywedyd fod un o bleidwyr rhyddid —un sydd yn barod i bleidio Osborne Morgan, i bleidio dadgyssylltiad a diwaddoliad—wedi cael ei ethol dros furdeisdrefi Caerfyrddin a Llaneli, sef Mr. Keppel Stepney.

*Hywel.* Nid oedd dim diolch iddo gael ei ethol, nid oedd neb yn ei erbyn. Nid yw Mr. Stepney. er ei fod yn cynnrychioli teulu hynafol ac enwog, yn cynnrychioli eu hopiniynau hwy: nid yw yn beth tebyg y buasai un o'r Stepneyaid wneyd pawen cath o honynt eu hunain, i ddadymchwelyd Eglwys Lloegr.

*Dewi.* Pawen cath i bwy y mae ef yn gwneyd ei hun?

*Gwilym.* I ddadgyssylltwyr Llanelli a Chaerfyrddin. Collodd rhai o honynt *job* dda y tro yma, nid oedd dim un siawns am bregethu politiciaeth i neb, dim degwm lecsiwnyddol, dim galwad am bregethwyr politicaidd a Balaamiaid i regu y Tories.

*Dewi.* Gobeithio y bydd i Mr. Stepney ac ereill lwyddo i ddwyn cydraddoldeb crefyddol o amgylch, ni fydd dim heddwch nes ceir hyn. I lawr â merch Eglwys Rhufain a'i gau athrawiaethau.

*Hywel.* Gau athrawiaethau yn wir. Y mae y rhan fwyaf o'r Sectau yn credu yr un athrawiaethau ag Eglwys Lloegr, benthycasant eu credoau o ffurfwasanaeth yr Eglwys; y mae yr Ymneillduwyr mwyaf goleuedig, megys Newman Hall, yn defnyddio

Gwasanaeth yr Eglwys; nid yw yn beth tebyg y buasai i'r Parch. Newman Hall ei ddefnyddio os yw yn gyfeiliornus. Nid oes neb ond dynion cul, main, crebachlyd, ac anwybodus, yn condemnio ac yn collfarnu ffurf-wasanaeth. Y mae yr holl ymrafeilio, a'r holl elyniaeth grefyddol yn lladd Cristionogaeth, a gwneyd dynion yn anffyddwyr: "A welwch chwi fel mae y Cristionogion hyn yn caru eu gilydd." Nid oes dim son am dwyll masnachol yr oes, am falchder a gwastraff yr oes, pan mae Mammon yn cael ei addoli yn lle Duw. Y mae lle i ofni fod crefydda wedi dyfod yn ffasiwn, a dim arall. gwneir hugan o grefydd i gario twyll ym mlaen. Dyn crefyddol oedd Banner Oakley, yr hwn a anfonwyd i lafur penydiawl yn ddiweddar; yr oedd y dyn hwn yn arfer cario llyfrau defosiynol yn ei bocedi pan oedd ef yn twyllo dynion o'u hariau. Edrychwn ar yr holl dwyll masnachol sydd yn ein plith—y pwysau a'r mesur bach.

*Gruffydd.* Nid wyf yn credu fod un genedl mor grefyddol a ni y Cymry, nid oes un ammheuaeth nad oes llawer o broffesu crefydd yn y wlad.

*Gwilym.* Nid wyf yn gwadu nad oes llawer o broffesu, hyny yw, yn aelodau o'r seiet; ond nid yw hyn yn gwneyd dyn yn fwy crefyddol. Nid llawer o ddwyn crefydd i ymarferiad sy'n y wlad yn ein hoes ni, nis gall neb ymddiried braidd yn ei frawd. Edrych ar ymddygiadau y rhai sydd wedi cael eu magu yn y seiet ar ol myned oddi cartref. Yr oedd Dafydd Jones, Dolaubach, hen flaenor y Methodistiaid, yn arfer dywedyd fod pobl yn gadael eu crefydd ar ol wrth groesi y Mynydd Du, o Langeitho i'r Gweithiau. Yn ol y traethawd a ysgrifenodd y Parch. John Williams, diweddar genadwr Cymreig yn Llundain, gellir dywedyd yr un peth am gannoedd o Gymry yn y Brif Ddinas. Y mae rhywbeth allan o le yn rhywle; nid yw yr addysg y mae llawer o ddynion ieuainc yn gael, yn gadael fawr o'i hol arnynt. Y mae arnaf ofn fod gormod o waeddu heddwch pryd nad oes heddwch. Ymyrir â materion gwladol a gadewir i'r bobl geulo ar eu sorod.

*Iwan.* Dos a rho ddarlith i rai o'r offeiriaid diwaith, y rhai sydd yn cymmeryd byd da, ac yn gwneyd dim am eu harian.

*Gwilym.* Nid llawer o offeiriaid diwaith sydd yng Nghymru yn awr; yr wyf yn adnabod rhai o'r dosbarth a nodaist, wrth gwrs. Ym mhlith cynnifer gallwn ddisgwyl am gael rhai *drones*, ac yn treulio mwy o'u hamser ar eu ffermydd.

*Dewi.* Ië, mynychu gwleddoedd *parties* yn nhai y cyfoethogion. Nid ydynt un amser i'w gweled yn nhai y tlodion.

*Gwilym.* Maent yn fwy aml yn nhai y tylodion, ac yn cyfranu at eu hangenion, na'r gweinidogion Ymneillduedig. Grogi geiniog a ddaw oddi wrthynt hwy. Os yw y personiaid yn bwyta ac yn yfed yn nhai y cyfoethogion, nid ydynt fel mae arfer rhai yn llwyr fwyta tai gwragedd gweddwon a'r tlodion.

*Iwan.* A glywsoch chwi, fechgyn, fod 'ffeiradon yn gwrthod gadael plant yr Ymneillduwyr i fyned i'r *school treats?*

*Hywel.* Y mae yn wir i'r cyhuddiad gael ei wneyd, ond y mae'r offeiriad a gyhuddwyd o wneuthur hyny wedi herio Mr. John Bright i brofi ei bwnc.

*Dewi.* Yr oeddech yn beio gwŷr Brycheiniog am dori eu haddewidion yn amser yr etholiad; ond mae moch Sir Benfro yn llawer gwaith eu hegwyddor, dygasant anfri dychrynllyd ar eu penau am fradychu eu hegwyddorion trwy bleidio James Bevan Bowen, yn lle Mr. William Davies.

*Gwilym.* A wyt ti yn gwadu hawl aelodau eich henwad chwi i farnu fel y gwelont yn dda?

*Dewi.* Ni ddylent bleidleisio yn

groes i'r enwad. Gwnaeth etholwyr sir Benfro hyny.

*Gwilym.* Y mae yn amlwg fod pabau yn nes atom na Rhufain, ac mor drawsarglwyddiaethol a'r hen Bio Nono ei hun. Y mae y pabau yn dal na ddylai neb weithredu yn groes i'r Eglwys; ac mae Sectwyr Cymru yn haeru yr un peth. Dyma ryddid *with a vengeance*, peidiwch son am ryddid cydwybod mwyach. Nid oes dim un prawf i etholwyr sir Benfro dori eu haddewidion, ond gwnawd hyny yn *wholesale* yn sir Frycheiniog. Dangosodd pobl sir Benfro eu hannibyniaeth ar Jack-yddiaeth.

*Iwan.* Dyna dy farn di.

*Gwilym.* "Rhydd i bob barn ei llafar."

*Gruffydd.* Hen arwyddair da yn ddiammheu.

*Gwilym.* Pa ham na wnewch chwi ganiatäu hyn i bobl os yw ef yn dda?

*Iwan.* Y mae Defodaeth yn sicr o ladd Eglwys Lloegr. Pan ddaw yr amser o amgylch ni fydd dim llawer o waith i gael gwared o honi. Welsoch chwi araith y Parch. Heber Evans, yng Nghaerdydd, ar y pwnc? Dyna fachgen ffamws, dylai gael ei wneyd yn Ddoctor Divinity.

*Hywel.* Beth oedd a fynai ef â Defodaeth yn Eglwys Lloegr? buasai yn llawer rheitach iddo ef ofalu am ei fusnes ei hun. Nid oedd dim ond haerllugrwydd troednoeth; nis gellwch yn eich byw adael un cyfle i lithro o'ch dwylaw heb droedio yr Eglwys. Ein henwad ni, ein Sect ni, ein pobl ni oedd y cwbl yng Nghymmanfa Caerdydd. Os wyt ti am wneyd Doctor of Divinity neu Ddoctor of Civil Laws o'r gwr parchedig, nid oes llawer o drafferth cael cynffon i'w enw. Yr ŷm yn awr mewn perygl o gael gormod o ddoctoriaid yng Nghymru. Cewch faint a fynoch o deitlau yn Germani. Gwelais garden pa ddydd â'r prisiau arni. Cyn y buasai i ddyn er ys llawer dydd gael teitl yr oedd yn rhaid iddo fod yn ddyn dysgedig—wedi enwogi ei hun mewn rhyw ddull neu gilydd; ond mae cryddion a theilwriaid, dynion dinod, hollol anadnabyddus oddi allan i gylch eu henwad, yn cario teitlau, fel byddai cryts yn cario dernyn grot wrth eu *watches*. Cyn bo hir fe gawn fugeiliaid, ffermwyr, dyrnwyr, ac ysgubellwyr yn dwyn teitlau.

*Iwan.* Y mae rhai offeiriaid Eglwys Lloegr heb fyned erioed trwy Gaergrawnt neu Rydychain yn dwyn teitlau.

*Hywel.* Mi warantaf bod llawer un i'w cael yn ddigon plentynaidd i harddu eu henwau â theganau *Cheap Jacks* athrofëydd Germani. Buasai yn anrhydedd i ddyn gael teitl os oedd yn ei deilyngu; ond pan mae dynion yn eu prynu am arian, maent yn gwneyd eu hunain yn sport i'r cenedloedd. Nid yw teitl o'r fath yma yn dyrchafu dim o honynt y filfed ran o fodfedd yng ngolwg dynion dysgedig.

---

## Adolygiad y Wasg.

HANES BYWYD A THEITHIAU *Dr. Livingstone. Rhan I. Llundain a Chastell Newydd ar Dain: Adam a'i Gyf.*

Y MAE hanes gwledydd pell yn ddyddorol bob amser; ond y mae swyn neillduol yng nglŷn â theithiau Livingstone, ac y mae ymdrechion ein cydwladwr Stanley (Rowlands) wedi ychwanegu at y dyddordeb a deimlwyd gan ein darllenwyr yn anturiaethau y gwr enwog a dyngorol a'i rhagflaenodd i ganolbarthau Affrica. Y mae bras hanes Livingstone yn adnabyddus i drigolion Cymru; ond yma y ceir manylion ei waith—ei beryglon, ei ddyoddefiadau, ei amynedd a'i galonogrwydd parhäus. Bydd y llyfr cyflawn yn gostfawr, tua 30s., am ei fod yn cael ei argraffu mewn llythyrenau breision, ar bapyr da, a phlyg mawr. Yn ol ymddangosiad y

**rhai gyntaf, mae yn haeddu cymmeradwyaeth**; ond mae eisieu mwy o ofal, er mwyn gochelyd y gwallau rhy aml a welir yng ngwaith y cyssodydd.

---

## DIFIAU DERCHAFAEL.

HENFFYCH! orfoleddus ddydd,
Aleliwia;
Crist, ein Pen, yn esgyn sydd,
Aleliwia;
Marw fu, ond byw yw E',
Aleliwia;
Dring yn awr i'r drydedd ne',
Aleliwia;
Egyr oesol byrth y gwawl,
Aleliwia,
Iddo, gyda bloedd o fawl,
Aleliwia.
Goresgynwr uffern yw,
Aleliwia;
Brenin y gogoniant byw,
Aleliwia.
Ei goroni mae'r holl ne',
Aleliwia;
Eto caru'r byd mae E',
Aleliwia;
Er dychwelyd at ei Dad,
Aleliwia,
Ei ddaiarol braidd ni wâd,
Aleliwia.
Codi mae ei ddwylaw fry,
Aleliwia,
Ol yr hoelion ynddynt sy,
Aleliwia.
Clywch ei olaf fendith fawr,
Aleliwia,
Ar ei Eglwys ar y llawr,
Aleliwia;
Eiriol mae, o oes i oes,
Aleliwia;
Dadleu haeddiant gwaed y Groes,
Aleliwia;
Parotoi y mae ein lle,
Aleliwia;
Blaenffrwyth gobaith yw Efe,
Aleliwia.
Arglwydd, er i'n golwg ni,
Aleliwia,
Uwch law'r dysglaer ser diri',
Aleliwia,
Dyro ini ffydd yn hael,
Aleliwia,
Ddring i'th geisio ac i'th gael,
Aleliwia.

*Cyf.* GLANMOR.

---

# Hanesion.

### Y SENEDD.

Y MAE Senedd 1876 wedi myned drosodd, a dywedir wrthym mai Senedd ddiffrwyth oedd. Nid oedd y cwbl ddim ond gwastraff ar amser, a'r cwbl o herwydd camdrefn y Weinyddiaeth a seguryd y Prif Weinidog. Tyma beth mae papyrau Rhyddfrydol am i ni gredu. Mae y papyrau hyn yn meddwl fod y cyhoedd yn barod i gredu a llyncu pob peth a gyhoeddir ynddynt. Gwnawd ymosodiadau pleidiol ar y tri rhaniad cyntaf o'r Senedd bresennol; y cyntaf oedd y Teitlau Breninol, y nesaf oedd Pryniad Camlas Suez, a'r Mesur y Llongau Marsiandiol; gwastraffwyd yr amser fel hyn hyd y Pasc. Brwydr fawr y sessiwn ddiweddaf oedd brwydr Bil Addysg Arglwydd Sandon, yr hwn sydd yn awr wedi pasio. Un adran dda yn y mesur hwn yw nad ydym yn myned i gael rhagor o Fyrddau Ysgol heb ddim o'u heisieu. Bydd i hyn arbed symiau mawrion o arian i'r treth-dalwyr. O hyn allan bydd y gallu i orfodi plant fyned i'r ysgol yn nwylaw yr awdurdodau lleol, a rhoddir cymhorth ychwanegol i'r Ysgolion er eu gwneyd mor bell ag mae yn bosibl i gynnal ei hunain. Yr oedd y darbodaethau hyn yn y mesur ar y cyntaf. Derbyniwyd y cynllun yn ffafriol gan bawb fel cam yn yr iawn gyfeiriad. Torodd y storm allan pan gynnygiodd Mr. Pell yr adran i gael gwared o Fyrddau Ysgol lle y mae digon o ysgolion yn barod; ond cyrhaeddodd ei heithafion pan gynnygiodd Arglwydd Montague fod yr adran 25, am yr hon y bu cymmaint o siarad, i gael ei diddymu. Mae yr adran newydd yn gorfodi Bwrdd y Gwarcheidwaid i dalu am ysgol plant tlodion, ac ar yr un pryd yn caniatäu i'r ysgol a welont hwy fod yn dda; y mae hyn yn hollol deg. Mae gan y tylodion gydwybodau yn gystal a'r cyfoethogion; ond y mae yn ymddangos nad yw y Radicaliaid Secularaidd yn cydnabod fod gan y tylodion gydwybodau o gwbl, os ŷm ni i farnu wrth y gwrthwynebiad beiddgar a ddangoswyd i'r adran yn y Senedd. Gorfu i Arglwydd Hartington arwain ei fyddin, ïe byddin garpiog Radicaliaeth fel milwyr Falstaff, yn erbyn y mesur; ond bu yn aflwyddiannus. Gyrodd yr adran Mr. John Bright a Henry Richard i dymmerau drwg. Profwyd yn y ddadl hon nad oes dim un cydymdeimlad rhwng y Radicaliaid a'r Rhyddfrydwyr. Bygythir yn awr i ffurfio plaid Radicalaidd —Cowen, Chamberlain, Dilke, Bright, Henry Richard & Co. Bwriadant fyned i ogof Adulam o hyn i ddechreu'r flwyddyn. Bydd i'r neillduad yma gryfhau y blaid Geidwadol yn y Senedd. Bydd y cynghrair yn gyffelyb i eiddo yr *Home Rulers.*

Cafwyd amryw ddadleuon brwd ar y Rhyfel yn y Dwyrain, a *pholicy* y gyfraith mewn cyssylltiad â hi. Yr oedd atebiad Mr. Disraeli yr olaf iddo draddodi yn Nhy y Cyffredin, ac un o'r rhai mwyaf nerthol a draddododd: tarawodd bob hoel ar ei chopa, nes llethu ei wrthwynebwyr yn llwyr. Ceisiodd yr Home Rulers a'u har-

weinydd, Mr. Butt, wthio eu hachos o flaen y Ty droion. Condemniodd Mr. P. J. Smith y cwbl, nid yw ddim amgen na ffug, hud a lledrith. Yr oedd hyawdledd Mr. Smith yn deilwng o Plunkett a Grattan. Rhoddwyd gallu i'r Iwerddon i gau y tafarndai ar y Suliau er gwaethaf Major O'Gorman, yr hwn sydd yn barnu y dylai pob dyn yfed gymmaint a all gario. Gwrthodwyd cynnyg Mr. Osborne Morgan i agor Mynwentydd yr Eglwys, a'r etholfraint i'r benywod.

Y PRIF WEINIDOG.

Mae Mr. Disraeli wedi croesi rhiniog Ty y Cyffredin am y waith olaf, ac mae ef yn awr yn Iarll Beaconsfield, ar ol bod yn aelod o'r Ty Isaf am ddeng mlynedd ar hugain. Gwrthododd yr anrhydedd yma amser yn ol. Derbyniwyd y newydd am ei ddyrchafiad gan bapyrau pob plaid gyda llawer iawn o foddlonrwydd. Nid oedd neb yn gwybod dim am ei ddyrchafiad ym mlaen llaw: synwyd y byd.

---

ESGORODD,

FRANCIS—Awst 15, yn Heol Ioan, priod Mr. W. Francis, ar ferch.

GROOM—Awst. 2, yn Streatham Park, Streatham, Surrey, priod Mr. Alfred Stephen Groom, a merch henaf Mr. W. Spurrell, ar fab.

JONES—Awst 9, priod y Parch. D. R. Jones, The Lodge, Rhiwabon, ar ferch.

PROSSER—Awst 9, yng Nghalltyferin, priod Mr. W. W. Prosser, ar ferch.

PRIODWYD,

ANDREWS—PRATT—Awst 3, yn Eglwys Sant Pedr, gan y Parch. L. M. Jones, William, mab Mr. J. Andrews, o'r dref hon, ag Alice Emily, merch Mr. Pratt, Warrington.

BRODRIBB—STIBBS—Gorph. 27, yn Eglwys Hanham Abbots, gan y Parch. W. Fry, Mr. J. P. Brodribb, ag Anna Maria, merch Mr. E. Stibbs, Hanham, Caerodor.

BURY—BAGNALL—Awst 3, yn Eglwys Sant Pedr, gan y Parch. L. M. Jones, Mr. J. O. Bury, Wrexham, â Sarah Jane, merch Mr. James Bagnall, Caerfyrddin.

REES—THOMAS—Awst. 1, yn Eglwys Sant Pedr, gan y Parch. L. M. Jones, Mr. T. Rees, mab y diweddar Mr. Valentine Rees, â Sarah, merch y diweddar Mr. Rees Thomas, o'r dref hon.

THORNTON—EDMOND—Awst 6, yn Eglwys Cydweli, gan y Parch. T. Griffiths, Mr. G. H. J. Thornton, â Lucy Jane, ail ferch y diweddar Mr. O. C. Edmond.

BU FARW,

DAVIES—Awst 1, yn Fountain Villa, Sarah, priod y Parch. T. Davies, a merch y diwedd Mr. T. Thomas, Gwindy a Fforest, 88 oed.

GOULSTONE—Gorph. 25, yng Nghlafdy Caerfyrddin, Frederick Goulstone, ŵyr i Mr. Goulstone, gynt cyfferïwr enwog o'r dref hon, 59 oed.

JOHNES—Awst 19, John Johnes, o Dolau Cothi, Ysw., gynt yn Gofiadur Bwrdeisdref Caerfyrddin, Barnwr Llys Sirol, a Chadeirydd Brawdlys Trimisol sir Gaerfyrddin, 76 oed. Llofruddiwyd Mr. Johnes yn ei lyfrgell yn Nolau Cothi gan was Gwyddelig a fu tuag ugain mlynedd yn ei wasanaeth.

JONES—Awst 7, yn annedd ei mab, Mr. T. Jones, Heol y Cai, Martha, gweddw Mr. Henry Jones.

JONES—Awst 4, yn Ysgol Pontyfon, Charles Richard, unig fab Mr. James Jenkyn Jones, o'r dref hon, 19 oed.

SHANKLAND—Awst. 19, yn Heol y Bont, Cydweli, Mr. Rees Shankland, gynt yn lieiniwr o'r dref hon, 75 oed.

THOMAS—Awst 21, yn Heol Dam, Sophia, priod Mr. W. Thomas, a merch y diweddar Mr. Jonathan Harries, argraffydd.

Y LLITHIAU PRIODOL, MEDI, 1876.

| Medi | Suliau a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 3 Sul | 12 Sul gwedi'r Drindod | 1 Bren. xxii. hyd 41<br>1 Cor. xii. 28 a xiii. | 2 Bren. ii. hyd 16, neu iv. 8—38<br>Marc vi. 14—30 |
| 10 Sul | 13 Sul gwedi'r Drindod | 2 Bren. v.<br>2 Cor. i. 23 hyd ii. 14 | 2 Bren. vi. hyd 24, neu vii.<br>Marc x. hyd 32 |
| 17 Sul | 14 Sul gwedi'r Drindod | 2 Bren. ix.<br>2 Cor. ix. | 2 Bren. x. hyd 32, neu xiii.<br>Marc xiv. hyd 27 |
| 21 Maw | Sant Matthew, Ap., Efeng., a Mer.* | 1 Bren. xix. 15<br>2 Cor. xii. 14 a xiii. | 1 Cron. xxix. hyd 20<br>Marc xv. 42 a xvi. |
| 24 Sul | 15 Sul gwedi'r Drindod | 2 Bren. xviii.<br>Gal. iii. | 2 Bren. xix., neu xxiii hyd 31<br>Luc i. 57 |
| 29 Gwe. | Sant Mihangel a'r holl Angylion | Gen. xxxii.<br>Actau xii. 5—18 | Daniel x. 4<br>Dad. xiv. 14 |

* Credo Sant Athanasius i'w arfer.

---

CARMARTHEN:

Printed and published by WILLIAM SPURRELL, at his Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Thursday, the 31st of August, 1876.

// YR HAUL.

Cyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

**Rhif. 238.** HYDREF, 1876. **Cyf. 20.**

## CYFRES FER O BREGETHAU ER AMDDIFFYNIAD Y FFYDD.

### GWYRTHIAU.—VIII.

"Yn y dechreuad y creodd Duw y nefoedd a'r ddaiar."—Gen. i. 1.

Wrth ddiraddiad gallu (*degradation of energy*) deallwn, fel y dywedwyd eisoes, fod galluoedd natur, sydd yn gweithredu i ddwyn unrhyw ymddangosiad i ben, yn lleihau yn eu hangerddolder, ac yn analluog i gyflawnu yr un peth drachefn. Wedi eu treulio unwaith, mae angen am adnewyddiad o ffynnonell newydd cyn medrant gyflawnu gwaith o'r un fath eto ag o'r blaen. Mae treuliad yn myned ym mlaen yn barhäus trwy holl faes natur; mae adnewyddiad parhäus yn eisieu. Mae o bwys i ni sylwi fod tri pheth pwysig yn deillio oddi wrth ddeddf diraddiad.

1. Mae yn amlwg nad yw natur yn gyfundrefn hunangynnaliol. Fe ddichon fod ei chylchoedd (*cycles*) yn dychwelyd o hyd, ond nid yr un yw'r gallu sydd yn symmud y cylch newydd a'r hen. Gallu newydd ydyw wedi ei gymmeryd o safle uwch, ond ar ol ei dreulio mae yn analluog i wneuthur yr un gwaith, ac i achosi yr un effaith trosodd drachefn.

2. Tueddiad terfynol natur sydd yn rhedeg tua chyflwr o lonyddwch disymmud a chyfartalbwysedd. Pa bryd bynag y cydbwysa dau allu eu gilydd fel ag i fod mewn cyfartalbwysedd, nis gellir ansefydlu y cyfartalbwysedd ond trwy ddygiad i mewn o allu newydd o angerddolder mwy. Yn awr, gan fod pob gallu mewn natur yn lleihau mewn angerddolder, mae yn canlyn fod eu nerth i ansefydlu cyfartalbwysedd, h.y., i greu symmudiad, yn lleihau hefyd. Mewn geiriau ereill, mae mwy yn barhäus o'r gallu a fodola mewn natur yn cael ei gloi i fyny mewn amgylchiadau, heb unrhyw allu yn aros i'w rhyddhau drachefn. Diwedd pethau yn y cyflwr hwn fydd o angenrheidrwydd tawelwch ac arosfa gyflawn.

3. Bu, ac mae eto i raddau, ystôr o allu yn natur o angerddolder mwy na dim a welwyd mewn cyssylltiad ag amgylchiadau naturiol. Nis gellir, gan hyny, roi cyfrif am dano fel effaith natur. Rhaid ei fod yn tarddu o ryw ffynnonell arall. Un ffynnonell yw yr haul, neu o leiaf yr ymddangosiadau hyny, beth bynag allant fod, sydd yn gwneuthur yr

haul yn achos goleuni a gwres. Mae mesur anferthol y gallu aduewyddol a'i angerddolder a dderbyniwn yn feunyddiol o'r haul yn ein dallu rhag gweled a nodi y cyflymdra gyda pha un y diraddir gallu yn ein byd. Os caniataol cymhariaeth fechan, mae yn debyg i'r derbyniad beunyddiol gan gyfoethog afradlawn o fil o bunnau allan o'r *bank*. Mae'r swm i'w gael bob dydd, ac mae ganddo ddigon i wario, ond mae'r swm wreiddiol yn treulio; ac er fod ganddo am dymmor ddigon bob dydd, mae'r ystâd yn toddi ymaith er cymmaint yw, ac er fod ei lygaid yn cael eu dallu rhag gweled hyny. Mae y diwedd a methdaliad yn sicr o ddyfod yn y pen draw. Y rheswm ei fod yn medru myned ym mlaen mor hir, oedd o herwydd fod rhyw un arall o'i flaen wedi bod yn casglu ystôr o drysor. Yn yr un modd mae diraddiad gallu mewn natur yn profi nas gall natur fyned ym mlaen am byth i dreulio, a bydd rhaid iddi ddiweddu mewn llonyddwch marwol. Mae y ffaith fod natur yn aros mewn gweithrediad ac yn meddiannu moddion i'w treulio yn arwyddo fod rhyw achos ar wahân a thu allan i natur ei hun wedi cyfranu i natur ar y dechreu y gallu i weithredu fel y mae yn gweithredu. Dyma allu hefyd nas gallai natur byth o honi ei hun ei meddiannu.

Mae y pethau hyn mewn natur yn galw yn uchel ac yn groew am esboniad, ond nid ydyw natur yn medru rhoi atebiad. Mae un o ddau beth yn aros; naill mai *sylweddol*, neu *feddyliol* yw yr achos yr ymofynwn am dano: nid *sylweddol* yw os na fu natur yn gweithredu gynt mewn ffordd wahanol i'r modd ym mha un y gweithreda yn awr; os nad oedd symmudiad yn deillio oddi wrth lonyddwch gynt mewn ffordd na wna, ac yn ol deddf nas gall wneyd yn awr. Byddai y fath syniad yn dymchwelyd y sylfaen ar ba un y gorphwys gwyddoniaeth; canys pwy fedrai ddyweyd pa mor fynych y gallasai y fath droseddiad o ddeddf fod wedi cymmeryd lle. Os unwaith, pa ham nad yn fynych? Amlwg yw, ynte, mai nid *sylweddol* ond *meddyliol* yw yr achosiaeth a geisiwn. *Rhaid* mai meddyliol yw.

Ond dichon fod rhai yn barod i ofyn pa ham y cesglir y *rhaid* hwn, sef mai meddyliol yw. Atebwn yn 1af, o herwydd ar ol cau allan sylwedd, gallu, a deddf naturiol, nad oes yn aros un gallu arall ond meddyliol. 2. O herwydd fod y meddwl dynol yn achosi arddangosiadau cyfatebol i'r achos cuddiedig a geisiwn. Perthyna i'r meddwl dynol achosi symmudiad, lle na byddai dim ond llonyddwch heb ei ddylanwad llywodraethol. Os ydyw, gan hyny, yn adnabyddus fod y gallu meddyliol yma yn bodoli ac yn meddiannu y briodoledd a berthyna, er mewn ystyr a gradd uwch, i achos gweithrediad natur, onid rhesymol yw'r casgliad mai *meddwl* yw'r achos a chwiliwn am dano?

Os *sylweddol* yw y meddwl hefyd yn ol daliadau y sylweddolwyr (*materialists*), hyny yw, os casgliad yw o sylwedd, gallu, a deddf, rhaid caniatäu nad oes dim cyfatebiad i'w weled. Nid yw'r cyfatebiab chwaith mor eglur os yw'r meddwl yn ddarostyngedig i dynged neu orfodaeth yn ol syniad y gorfodwyr (*necessitarians*); canys, er fod ymddangosiadau gweithrediad dynol (*the phenomena of human action*) yn arwyddo y gall meddwl feddiannu y fath ddylanwad cychwynol, eto, gan mai gorfodaeth sydd yn achosi symmudiad y meddwl, mae'r cyfatebiad yn llai tarawiadol ac amlwg. Ar yr un pryd mae y prif bwnc yn aros yn ddigyfnewid, ac nid yw ergyd ein hymresymiad yn cael ei bylu gan olygiadau sylweddolwyr na gorfodwyr. Mae ymddangosiadau natur o hyd yn arwyddo bodolaeth rhyw allu tu draw i natur i roi cychwyniad i'r peiriant ar y dechreu, ac mae y

gallu hwn yn wahanol i sylwedd, gallu, a deddf naturiol. Y mae cyfatebiad dylanwad dynol yn angenrheidiol, nid o herwydd ei fod yn berffaith neu ammherffaith fel cyfatebiad, ond er mwyn gwneyd yn hawddach ac yn eglurach debygolrwydd y gallu adnabyddus hwn i feddwl deallgar a goruchddynol.

Yn y modd hyn neu ryw fodd cyffelyb mae'r ystyriaeth o natur ym mhob oes wedi arwain dynion i gredu yn y bod o Dduw. Weithiau carent leoli y gallu goruchnaturiol a weithredai yn natur, a'i roi i drigo mewn gwrthddrychau naturiol eu hunain, ac felly credent mewn amldduwiaeth. Bryd arall, wrth weled ymddangosiadau yn ymddibynu ar eu gilydd, carent ethol rhyw un gwrthddrych mawr naturiol, er enghraifft yr haul, a chredent fod pob gallu goruchnaturiol yn trigo ynddo. Bryd arall esgynai i dir uwch, a dychymmygai fod un ysbryd mawr yn bodoli, yn annibynol o bob peth, eto yn treiddio trwyddynt, yn eu llanw a'u bywiocäu. Pa un bynag o'r syniadau hyn a goleddai, mae ei ffydd yn y goruchnaturiol yn tystiolaethu yr un fath, fod angen yn y meddwl dynol am gred mewn rhywbeth tu hwnt i natur cyn medrai roddi cyfrif am weithrediadau natur. Dichon nad oeddynt yn gweithio allan eu rhesymau yn gyffredin yn ol y dull blaenorol. Yr oedd y cam oddi wrth weithrediad at weithredydd *byw* yn rhy hawdd ac at law iddynt aros i chwilio am unrhyw esboniad arall. Meddwl, a meddwl yn unig, oedd y ffynnon i ba un y teimlid fod yn rhaid priodoli ymddangosiadau naturiol yn y pen draw. Dangoswyd fod y syniad ag oedd at law ac yn hawdd yn esboniad angenrheidiol ac anwrthwynebol mewn golygiad wyddonol. Mae ymresymiad cyffredin dynion, er yn ddigon cymylog yn fynych, yn sylfaenedig ar ryw egwyddor angenrheidiol a gwirioneddol, a pho mwyaf y pwysir ac y chwilir y casgliadau, mwyaf cadarn yw y sylfaen ar ba un y gorphwysant.

Mae y cam nesaf yn hawdd a bron yn anocheladwy, sef y cam oddi wrth gred mewn Duw fel achosydd ymddangosiadau naturiol i'r gred ynddo fel Creawdwr natur. Mae y drychfeddwl o sylwedd diddechreu yn gorwedd yn llonydd gan ddysgwyl cychwyniad oddi wrth Dduw i'w roi mewn symmudiad yn fwy annhebygol na'r drychfeddwl o fyd wedi ei greu a'i roi mewn symmudiad ar yr un pryd gan Awdwr Dwyfol. Felly oddi wrth Dduw fel achosydd symmudiad cyfododd yn naturiol y syniad o Dduw fel achosydd bodolaeth, neu Greawdwr.

Yr ydym yn awr wedi gweled nad yw sylwedd, gallu, a deddf yn rhoddi cyfrif am eu bodolaeth eu hunain. Wedi gweled yn yr ail le nad ydynt yn rhoi cyfrif pa ham maent mewn symmudiad ac nid mewn llonyddwch,

iii. Gallwn ystyried yn nesaf nad ydynt yn rhoi cyfrif am addasiad eu gweithrediad i ddybenion neillduol, ac yn enwedig i lesâd dyn ac anifail. Mae yr ymresymiad oddi wrth fwriad (*the argument from design*) yn un pur adnabyddus,[1] ond yn ddiammheu arferid camddefnyddio'r dull yma o ymresymiad am oesoedd, a hyny i'r fath raddau ag i arwain i esgeulusdod o'r achosion sylweddol ac anianyddol. Cwyna Bacon fod yr athronydd yn myned trwy y byd ag arwyddair Aristotle yn ei enau, "Nis gwna natur ddim yn ofer," gan ei gymhwyso i esbonio pob trefniant yn natur. "Pe gofynech," meddai, "beth yw dyben eiliau, yr ateb fyddai, i amddiffyn y llygaid. Pe gofynech beth yw achos caledwch crwyn anifeiliaid, atebid mai'r dyben oedd eu hamddiffyn rhag yr oerfel. Pe gofynech beth yw achos dail ar y coed, atebid, i amddiffyn y ffrwythau. Pe gofynech beth yw achos cymylau

[1] Gellir cyfeirio y darllenydd at *The Reign of Law*, llyfr diweddar wedi ei ysgrifenu gan y Dug Argyle.

yn yr awyr, atebid, i ddarparu gwlybaniaeth i'r ddaiar. Yn y modd yma ni feddyliai neb fod achos anianyddol dros galedwch crwyn anifeiliaid, sef effaith yr awyr agored a'r tywydd, yn gystal a'r achos dybenol (*final cause*) yn amddiffyniad yr anifail rhag y tywydd. Ac yn yr un modd mewn perthynas i bob un o'r lleill a enwyd. Y diwedd oedd esgeuluso ymchwiliad i'r achosion naturiol trwy dalu sylw i'r achosion dybenol."

Y mae llywodraeth achosion dybenol wedi rhoddi lle i achosion anianyddol erbyn hyn, trwy gynnydd a lledaeniad gwyddoniaeth; a lle y gwelid o'r blaen weithred greadigol gan Awdwr natur i ateb rhyw ddyben neillduol, gwelir yn awr yr achosiaeth yn deillio oddi wrth weithrediad sylweddol, a chyssylltiad effeithiau galluoedd naturiol a direswm. Ond eto nid yw athrawiaeth achosion dybenol yn cael ei diddymu. Mae addasiad sylwedd gwreiddiol natur i ddadblygiad cywrain ac annherfynol trwy achosion sylweddol ac anianyddol yn aros fel prawf o fwriad yn natur. Mae yr athrawiaeth wedi myned dan addysg, mae wedi ei chyfyngu trwy ddarganfyddiad achosion sylweddol, ond nid yw wedi ei diddymu. Y mae ei phrawf wedi ei symmud gam yn ol, ond mae mor angenrheidiol ag erioed yng ngolwg rheswm. Mae darganfyddiad yn ein dysgu yn bresennol fod bwriad creadigol yn gorwedd ym mhellach yn ol na bwriad y crefftwr dynol yng ngweithrediad unrhyw beiriant; ei fod mewn cyssylltiad llai agos â'r canlyniad, ac yn ymddangos yn foreuach yn y cynllun; ond nid yw bwriad creadigol yn cael ei gymylu o herwydd hyn, ond yn hytrach ymddengys yn fwy cywrain, galluog, a mawreddog.

Yn awr mae'r ymresymiad oddi wrth fwriad ym maes natur â chanddo swydd neillduol, ac mae yn rhoddi chwanegiad at ein casgliad blaenorol. Dangoswyd dan yr ail osodiad ein bod, wrth ddilyn gweithrediad natur i'r pen draw, yn dyfod o hyd i ddylanwad meddwl goruchnaturiol, yr hwn a elwir Duw; a bod cyssylltiad hwn â'r pen cyntaf (nas gall natur achosi ei hun) yn arwain yn naturiol i'r gred mai Duw hefyd yw awdwr bodolaeth natur. Dengys ein trydydd pen (sef yr amlygrwydd o fwriad yn natur) fod Duw wrth achosi bodolaeth a gweithrediad natur yn golygu mewn rhan o leiaf lesiant a dedwyddwch creaduriaid byw, ac yn enwedig dynoliaeth. Yn y modd yr eangir ein syniadau am gymmeriad a phridoleddau Duw, y rhoddir i ni hefyd ryw gipolwg ar ei amcanion wrth achosi natur i fod yr hyn yw.

Ar y tri rheswm a driniwyd, mae lle i ni roi hyder, a chymmeryd ein safle. Dangoswyd mai nid gwir y gellid rhoi cyfrif am natur heb y drychfeddwl o Dduw. Mae ymddangosiadau naturiol yn galw am y gosodiad o'i fodolaeth. Nid oes modd rhoi cyfrif am danynt o gwbl heb y tybosodiad o'i fodolaeth. Nid i wyrthiau, gan hyny, y gadewir y swydd o brofi fod Duw; ond os cymmerwn ei fodolaeth yn ganiataol oddi wrth ryw reswm arall mae yn foddion i esbonio gwyrthiau.

Dyma'r hyn oedd angenrheidiol yn union yn ein hymresymiad cyn esbonio gwyrthiau. Cyn y gallai gwyrthiau fod yn gredadwy rhaid oedd dychymmygu fod meddwl goruchddynol yn bodoli, ac yn abl i lywyddu sylwedd a galluoedd natur; ac felly y gallai cyssylltiadau ac ymddangosiadau ereill gymmeryd lle heb law y rhai a ddeilliant oddi wrth weithrediad sylwedd, gallu, a deddf, o honynt eu hunain. Gwelsom hefyd yn awr fod yn rhaid i ni gael yr un tybosodiad o feddwl goruchnaturiol, cyn rhoi cyfrif pa fodd y gall ymddangosiadau naturiol gymmeryd lle. Y mae ymddangosiadau naturiol a gwyrthiau, gan hyny, yn galw am yr un gosodiad er rhoi cyfrif am eu dygwyddiad, ond gyda chymmaint a

hyn o wahaniaeth, fod ymddangosiadau naturiol yn olrheiniadwy i ddylanwad llywodraethol Duw trwy lawer o ddolenau cyfryngol, ond gwyrthiau trwy ychydig ddolenau ar y mwyaf. Er hyny, pa un ai ychydig neu lawer sydd o gyfryngau rhwng yr ymddangosiadau a bys Duw, gwahaniaeth yw mewn gradd ac nid rhyw. Yn y golygiad hwn yr oedd pob ymddangosiad dechreuol megys gwyrth, ac oni bai y gwahaniaeth mewn dyben a phwrpas, gellid ystyried (fel y gwneir yn fynych) mai yr un peth yw pob ymddangosiad dechreuol a gwyrth.

Mae ein hymresymiad yn wir yn ein cario tu hwnt i'r hyn oedd eisieu arnom ei brofi; canys dengys nid yn unig fod gwyrthiau yn eu golygiad o "weithredoedd nerthol" yn gredadwy, ond fod gweithredoedd nerthol nas gellir eu gwahaniaethu oddi wrth wyrthiau *wedi cymmeryd lle*, ac mai oddi wrthynt hwy y deillia pob ymddangosiad a welwn o'n hamgylch yn y byd naturiol. Cyn gall yr ammheuwr fod yn gysson, rhaid iddo roi yr un mesur o ffydd i bob peth a feddianna yr un priodoleddau; rhaid iddo wrthod fel anghredadwy ymddangosiadau dechreuol (*initial phenomena*) yn llawn cymmaint a gwyrthiau; neu yn hytrach, gan y byddai gwneuthur hyn yn gadael holl ddilyniad ymddangosiadau canlynol yn ddiachosiaeth (syniad ammhosibl i'r meddwl gwyddonol) rhaid iddo wrthod pob ymddangosiad, canys arwydda pob un yn ol yn y pen draw wyrth neu weithredydd goruchnaturiol.

I gasglu yng nghyd ein hymresymiad mewn perthynas i *achosiaeth* gwyrthiau yn fyr,—

Gwelsom (1) nad oes dim anghyssondeb angenrheidiol rhwng gwyrthiau a natur, ond dichon yn hawdd fod y ddau yn deillio oddi wrth yr un Awdwr yn gweithredu yn yr un ffordd.

(2) Fod y cyfryngiaeth neillduol i ba un y priodolir gwyrthiau yn yr Ysgrythyr yn ddigon i esbonio eu heithriadaeth oddi wrth drefn gyffredin natur.

(3) Fod natur ei hun yn ein gorfodi i ddychymmygu y cyfryw awdwr, a'i allu i gyfryngu a llywyddu cyn y gallwn roi cyfrif am yr ymddangosiadau mwyaf cyffredin.

Yn yr holl olygiadau hyn nid oes dim i wneyd gwyrthiau yn anghredadwy. Rhydd y casgliad hwn hefyd daw ar y gwrthddadleuon a godir yn erbyn gwyrthiau fel *gweithredoedd rhyfeddol;* o herwydd eu bod yn groes i brofiad. Mae dull achosiaeth gwyrthiau yn wir yn wahanol i ddull achosiaeth ymddangosiadau cyffredin o fewn cylch ein profiad, canys mae y cyntaf yn uniongyrchol a'r llall yn anuniongyrchol yn ymddibynu ar gyfryngiad dwyfol, ond trwy hyn symmudir gwyrthiau ar unwaith tu allan i gylch ein profiad, ac nis gellir eu gwrthod o herwydd eu gwahaniaeth oddi wrth neu eu hanghyssondeb â phrofiad.

Eglur yw fod gwyrthiau, gan hyny, yn gredadwy fel ymddangosiadau ac fel effeithiau, neu yn iaith yr Ysgrythyr, fel rhyfeddodau a gweithredoedd nerthol, os caniatëir, neu os gellir profi, fod Duw wedi gweled fod yn dda ddefnyddio er eu hachosi yr un gallu ar natur a ddefnyddiodd i gychwyn ymddangosiadau naturiol ar y dechreu. Caiff hyn fod yn destyn ein myfyrdod yn nesaf, pan yn ystyried gwyrthiau yn eu golygiad o arwyddion, a llywydded Duw ein meddyliau i ddeall a derbyn y gwirionedd fel y dadguddir ef i ni yn yr Ysgrythyr; ac er gwaethaf anghrediniaeth yr oes mae achos genym i fod yn ddiolchgar fod yr hen wir yn sefyll; canys gellir dangos fod yr hen wirionedd a gynnwysir yn y geiriau cyntaf o'r Ysgrythyr yn berffaith gysson â'r wyddoniaeth buraf a diweddaraf,—"Yn y dechreuad y creodd Duw y nefoedd a'r ddaiar."

D. W. THOMAS.

*St. Anne's, Awst* 31, 1876.

## YSGOL SUL EGLWYS LLANDDEWI BREFI.

Tyred, Awen, mewn gwisg gymhen,
Mewn per odlau traetha'th lên,
Boneddiges ydyw'r testyn,
Llawforwynig Brenin hen;
O wlad Gwynfa y daeth yma,
Trysor hardd i ddynol ryw,
Ac os gofyn neb ei henw,
Ysgol Sul Llanddewi yw.

O mor werthfawr ei gwasanaeth,
O'r fath faeth a ddaw o'i bron!
Rhoddi didwyll laeth trugaredd,
Heb ddim tâl a wna yn llon;
Yr hen bobl sugna'i bronau,
Ie'nctyd llon a ddônt yn llu,
'Nghyd â'r plant, pob un yn gwaeddi,
"Ymborth enaid rho i mi."

Dau o'r gloch prydnawn dydd Sabbath
Ydyw'r amser iddynt gwrdd,
Sain y gloch sy'n galw arnynt,
"Dewch, mae'r gwleddoedd ar y bwrdd;"
Yna pennill roddir allan,
Cenir hwn gan fawr a mân,
A phob athraw yn ei gylchdro
Anerch wna yr orsedd lân.

Yna'r Beiblau a agorir,
Pawb yn llonydd yn eu lle,
Awr a dreulir yn bur brysur
I ddarllen am y ffordd i'r ne';
Yn y gongl ar y ddeheu
Mae'r hen bobl mewn llawn waith,
'N tynu mêl o glwyfau'r Iesu,
Ac o'i ruddiau llwydion llaith.

Yn y canol y mae'r ie'nctyd
Yn dwfn dreiddio mewn i'r Gair,
Pawb yn effro, 'r athraw'n plymio
Dyfnder cariad Baban Mair:
Ar yr aswy mae'r plant bychain,
Gyda'u hathrawesau mwyn,
Wrth sillebu enw'r Iesu,
Edrych wnânt yn llawn o swyn.

"Tri o'r gloch," medd y gloch fechan,
Adrodd llafur 'nawr sydd raid,
Salmau a phennodau dd'wedir
Gan bob dosbarth yn ddibaid;
Dweyd adnodau ar eu goreu
Wna'r plant bychain bob yr un,
Gwraig Lot bechodd, Iesu wylodd,
Do, bu farw dros bob dyn.

Ar ol casglu yr holl lafur,
Holi'r bennod, canu hymn,
Ar bob un gofynir nodded
'R Hwn fu farw ar y bryn;
Rho dy fendith ar yr Ysgol,
Rho dy wenau yn yr hwyr,
Arddel waith dy weinidogion,
Maddeu ein pechodau'n llwyr.

Minnau dd'wedaf wrth derfynu,
Diolch wyf i lawer un
Am gynnorthwy wrth ymdrechu
Dringo creigiau serth a blin;
Ond y cymhorth mwyaf gefais
Hyd yn hyn ar ddaiar Duw,
Cofied plant Ysgolion Cymru,
Ysgol Sul Llanddewi yw.

D. L.

---

## LLEN Y WERIN.

### DAFYDD RHYS Y TELYNOR A'R TYLWYTH TEG.

Yr oedd un Dafydd Rhys yn byw rhywbryd yn rhywle yng Ngogledd Cymru. Nid oedd un telynor a allasai gystadlu ag ef mewn eisteddfod, yn neuadd y barwn, neu yn y deildy. Yr oedd yn sicr o gario y dorch, a swyno clustiau pawb a'i clywai. Chwareuai ereill eu telynau, ond nid oedd un delyn nac un telynor yn gyffelyb i Dafydd Rhys a'i delyn. Nid ydoedd dim cymmeradwyaeth iddynt: torai rhai eu tannau, a thaflent eu telynau o'r neilldu mewn tymmerau drwg. Yr oedd tywysogion, arglwyddi, a phendefigion yn foddlawn i'w wneyd yn wr cyfoethog ond iddo chwareu ei delyn yn eu neuaddau; ond nid oedd nac aur nac ariau yn ddigon galluog i dynu Dafydd o Gymru lân, gwlad y gân. Yr oedd yn wladgarwr o'r bon i'r brig. Yr oedd mwy o anrhydedd yn ei aros. Un prydnawn tesog a hyfryd yn yr haf, pan oedd yr haul yn encilio yn y gorllewin, fel yr oedd yn cerdded wrtho ei hun mewn cwm, yn myfyrio ar ardderchogrwydd natur, a'r blodau gwylltion amryliw, yng nghanol ei fyfyrdodau cyffyrddai yn awr ac eilwaith â thannau ei delyn. Cyffrowyd ef yn ddisymmwth wrth weled, yr hyn a feddyliodd, blentyn bach tlws. Daeth y bachgen bach â'i lygaid llon ym mlaen at Dafydd gan ddawnsio, a gofynodd i'r telynor i'w ganlyn i neuadd ei dad, lle yr oedd llawer wedi ymgynnull gan obeithio clywed Dafydd a'i delyn. Nid oedd ef yn hoffi canlyn pleserau, a myned gyda hwn a'r llall, ond teimlai yn analluog i wrthod, pa un a oedd ef am fyned neu peidio; yr

oedd yn rhwym o fyned. Heb ofyn un cwestiwn, ymaith ag ef i fyny i'r cwm, ac yr oedd yn gorfod rhedeg i gadw i fyny â'i arweinydd. Trodd y ddau i fyny i lwybr, yr hon a'i harweiniodd i fynydd, lle eu gorchuddiwyd gan niwl; ymosododd cant o fleiddiaid â geneuau gwyrgam arno; gofynasant iddo pa un ai uchel neu isel oedd ef am deithio trwy yr awyr, uwch law y gwynt neu tan y gwynt. Dywedodd llais mwynaidd wrtho am beidio myned yn rhy uchel: "cymmered dyn manol talentog fel chwi gynghor i beidio myned yn rhy isel." Nid oedd Dafydd am fyned trwy'r drain a'r dyrysni i gribinio ei wyneb a rhwygo ei lodrau. Dewisodd y canolwynt, ac mewn winciad teimlodd ei hun yn codi, ac ymaith ag ef tywy'r niwl. Ar ol teithio cryn bellder, teimlodd ei hun yn disgyn tua'r ddaiar, a phan gyffyrddodd ei draed y llawr ciliodd y niwl, a chafodd ei hun yn sefyll yng ngwaelod grisiau o farmor, ac aeth at ddrws, yr hwn a agorwyd, a gwelodd yr olygfa fwyaf annaiarol a welwyd erioed. Yr oedd y cwbl yn dysgleirio cymmaint nes gorfu iddo orchuddio ei wyneb. Dygwyd cadair o ifori ac aur iddo i eistedd. Ym mhen ychydig amser yr oedd yn analluog i edrych o'i gwmpas. Gwelodd nifer o fodau annaiarol, ac nid oedd y talaf ddim mwy na phlentyn dwy flwydd oed. Yr oedd eu cyrff o ffurfiad iachus, eu gwynebpryd yn deg a dysglaer, a'u penau yn cael eu gorchuddio gan wallt modrwyog. Yr oeddynt yn gwisgo dillad gwyrdd goleu, a gwregysau o flodau o amgylch eu lwynau. Ar y blodau hyn yr oedd gwlith yn hongian. Dechreuodd Dafydd chwareu ei delyn, a'r corachod ddawnsio, ac ni welodd un llygad marwol y fath olygfa, meddai Dafydd. Yn awr ac yn y man dygid iddo wlybwr i'w yfed mewn cwpan aur. Bob tro yr oedd ef yn yfed, yr oedd yn rhoddi yni newydd iddo chwareu, ac ni phrofodd ddim mor hyfryd. Aeth canol nos heibio, ond nid oedd argoel blino ar y corachod. O'r diwedd dygwyd llaeth mewn cwpanau bychain, ddim mwy na chwpan mesur; ac ar ol hyn aeth y telynor i'w wely. Dangosodd ei arweinydd bychan y ffordd iddo. Yr oedd y gwely wedi cael ei wneyd o aur ac ifori. Taflodd Dafydd ei hun i mewn, ac yr oedd yn fuan ym mreichiau cwsg. Synodd ac arswydodd Dafydd boreu dranoeth pan ddihunodd, pan gafodd ei hun bron â rhewi, yn crynu o'i ben i'w draed, a phob aelod iddo yn gwynegu, yn lle gwely manblu oddi tano, nid oedd yno ddim ond tywarchen oeraidd, ac nid oedd yno ddim un gareg o'r palas hardd yn agos i'r lle. Gadawodd pob teimlad anghysurus ef pan feddyliodd iddo chwareu ei delyn i fodau heb law daiarolion, ac iddo gael yr anrhydedd o chwareu o flaen brenin a brenines y tylwyth teg. Yr oedd Dafydd yn falch iawn o hyn, a chafodd lawer cornaid o gwrw melyngryf wrth dân y dafarn ar hirnos gauaf am adrodd y 'stori am ei anturiaeth gyda'r tylwyth teg.

Dichon mai effaith ysbrydion daiarol a barodd iddo weled yr olygfa yma, ac i'r amgylchiad ei oddiweddyd pan ar ei ffordd adref o ryw noswaith lawen.

## HUNAN-DDIBYNIAD Y GWEITHIWR.

Nid oes dim un rheswm pa ham na all y gweithiwr fod yn ddibynol arno ei hun. Cynnildeb yw y cam cyntaf i ddyn fod yn annibynol. Nid yw y dyn sydd yn wastad yn ymyl angen ddim gwell na chaethwas. Y mae ef yn rhwym i ereill, ac mae yn rhaid iddo dderbyn eu telerau. Mae ef yn gorfod ymddibynu ar y gwynt a'r gwlaw, rhew ac eira; ar ei feistr, a phryd arall ar fwrdd gwarcheidwaid y tlodion a'r swyddogion. Nid sefyllfa gysurus iawn yw i ddyn â

theulu mawr fod ychydig ddiwrnodau yn glaf ac mewn eisieu. Mae gan y dyn sydd wedi cynnilio tipyn wrthglawdd yn erbyn y blaidd. Mae ei ystôr yn allu ac yn galondid iddo fyned ym mlaen rhag llaw; cadwa ei hunan mewn parch, a gall gadw ei ben i fyny heb ofni y *relieving officer*. Edrycha ym mlaen gyda hyder a gobaith, ac nis gellir ei brynu neu ei werthu. Mae miloedd yn ein gwlad â thlodi ar eu sodlau yn barhäus; nid yw eu hennill yn eu galluogi i gynnilo dim mwy nag sydd yn ddigon i gadw eu cyrff a'u heneidiau yng nghyd. Mae cannoedd o weithwyr a chrefftwyr mewn sefyllfa dda. Edrychwn ar huriau y glowyr y tair blynedd diweddaf, fel esampl; adwaenwn rai teuluoedd yn ennill o ddeg i ugain punt y mis: gwastraffwyd yr huriau a enillwyd; aeth rhai o honynt i'r *Rum and Puncheon*, ac ereill am ddanteithfwyd, megys *pickled salmon*, &c., ac ereill yn eu gwario am ddillad braf, dillad costus a diles. Y mae pob un yn ceisio myned tu hwnt i'w gymmydog, ac yr ŷm yn gweled hyny yn barhäus yng ngwyliau blynyddol ein capeli a'n heglwysi. Yn awr pan mae'r amser drwg wedi dyfod oddi amgylch, nid oes dim un geiniog i'w chael. Dylai pob un, ar ben ei hun, wneyd ei oreu tuag at ddysgu y bobl i fyw yn fwy cynnil. Y mae llawer yn ymddibynu ar feistri y gweithwyr, canys y mae yn arferiad i dalu yn hwyr nos Sadwrn, ac felly y mae gwragedd y gweithwyr yn aml yn gorfod cymmeryd olion pobl ereill. Dylent gael eu talu mewn amser rhesymol. Yr ydym wedi gweled rhai dynion yn gorfod sefyll hanner diwrnod cyfan i ddysgwyl am eu cyflogau. Dylent hefyd gynnorthwyo cymdeithasau cyfeillgar y gweithwyr, megys yr Odyddion, Coedwigwyr, Iforiaid, Bugeiliaid, &c. Y mae y cymdeithasau hyn wedi ac yn parhau i wneyd lles annhraethol yn y wlad. Y maent yn foddion i gadw bara ym mhenau lluoedd o wragedd a phlant pan mae ffon eu bara wedi methu, heb osod eu hunain dan ofal y *guardians*, canys y mae llawer o'r cyfryw mor galon-galed a Pharaoh. Y mae y Gymdeithas Fuddiol siroedd Caerfyrddin, Aberteifi, a Phenfro yn gam yn yr iawn gyfeiriad: dylai pob llafurwr, gwraig y llafurwr, y ffermwr, a'r meistr tir, ymuno â hi; o blegid bydd y gymdeithas yn sicr, ym mhen amser, o ysgafnhau y trethi. Y mae y glowyr, y mwnwyr, a'r crefftwyr yn ymuno yn undebau yn erbyn eu meistri; pa ham na allant ymuno i ddyrchafu eu hunain, fel maent yn arfer gwneyd yn erbyn y meistri?

---

## EMYN Y CYNAUAF.

*Cyflwynedig at Wasanaeth Ysgol Sul Llanrhaiadr D. C., gan eu hen Gurad, gyda serchus gof.*

Tôn—Rhif 360 "Ancient and Modern."

Nyni sy'n trin y meusydd,
'N aredig ac yn hau,
Ond Duw sy'n eu ffrwythloni
Ei hun, a'u dyfrhau:
Yr eira oer y gauaf,
Y gwres i lenwi'r grawn,
Y gwynt a'r haul mae'n ddarpar,
A'r gwlaw adfywiol iawn.
Am fendithion bywyd,
Holl drugareddau Duw,
Diolchwn oll, diolchwn oll,
"Duw cariad yw."

Pob peth ym mhell ac agos
A wnaethpwyd ganddo Ef,
Efe sy'n lliwio'r blodau,
Ac yn goleuo'r nef;
Gwna'r môr ei air, a'r gwyntoedd,
Fe bortha'r adar mân,
Faint mwy i'w blant rhydd beunydd
Eu bwyd, a'r Ysbryd Glân.
Am fendithion bywyd, &c.

Am amser hau a medi,
Diolchwn it', O Dad;
Am fywyd, ac am iechyd,
Am fwyd—yr oll yn rhad;
O derbyn am dy gariad,
Ein ewyllysgar rodd,
Ond calon lawn o ddiolch
Sydd fwyaf wrth dy fodd.
Am fendithion bywyd, &c.

J. T. L.

*Llanfyrnach, sir Benfro.*

## MANION HYNAFIAETHOL.

O.C. 1555. Pabyddiaeth yn cael ei hadsefydlu gan Mari Waedlyd. Pump o esgobion yn cael eu merthyru wrth y pawl mewn amddiffyniad i ryddid crefyddol a gwladol. Diangodd y Diwygwyr eithafol i Frankfort, a sefydlwyd yr Eglwys yn ol y cynllun Apostolaidd, ond dechreuasant gweryla â'u gilydd, yr hyn a ddygodd anfri ar y Diwygiad. Aeth y cweryl hwn mor bell nes i'r penswyddogion fygwth eu gyru allan oddi yno. Yr oeddynt yn ddwy blaid, y Coxiaid a'r Knoxiaid.

Dywed Neale mai o'r ymrafael hwn y tarddodd Puritaniaeth ac Ymneillduaeth yn Lloegr, yr hyn sydd yn parhau hyd heddyw fel mae gwaethaf y modd. Dywed Bingham yn ei *Hynafiaethau Cristionogol* mai hwn oedd y cynnyg cyntaf yn hanes Cristionogaeth i sefydlu Eglwys heb un esgob, a gwasanaeth crefyddol heb un Ffurfwasanaeth.

O.C. 1603. Cynnadledd *Hampton Court*, yr hon a barhaodd dri niwrnod, dan lywyddiaeth Iago I., er ffurfio un Eglwys Brotestanaidd. Trodd y cynllun allan yn fethiant.

1618. Yr oedd yn arferol, pan oedd Pabyddiaeth yn ei grym, i actio chwareuon yn yr Eglwysi ar wyliau neillduol. Y Cwymp—Balaam a'i asen; Genedigaeth Crist—"Mari Lwyd." Rhoddwyd y chwareuon hyn i lawr yn amser y Frenines Elisabeth. Yr oedd y Brenin Iago yn barnu fod y gwaharddiadau hyn yn myned yn rhy bell, ac yr oedd yn credu fod lefain trymaidd a hwyrdrwm Puritaniaeth yn cymylu awyrgylch cymdeithas. Anfonodd allan broclamasiwn yn annog chwareuon ar y Suliau, a'r offeiriaid i'w ddarllen o'r pulpudau ar y Suliau. Gyrodd Siarls y Cyntaf broclamasiwn cyffelyb yn 1633, ac ym mhlith yr offeiriaid ddarfu wrthod ei ddarllen oedd Wroth, ficer Llanfaches, Mynwy; Erbury, ficer Caerdydd; a Walter Cradock, ei gurad. Gwaharddwyd y tri i bregethu am eu hanufudd-dod. Ffurfiodd y tri eglwysi o'r tu allan i gyfundeb yr Eglwys, er na ddarfu iddynt, oddi gerth Erbury, ymneillduo oddi wrth yr Eglwys. Yr oedd Cradock yn bregethwr poblogaidd, a dyoddefodd lawer ar ol hyn am ei ymlyniad wrth yr Eglwys. Yn 1646 cafodd ei benodi i ficeriaeth Allhallows, lle y bu ef hyd ei farwolaeth yn 1659. Ymunodd pregethwr crwydrol o'r enw Vavasor Powell â hwy; Presbyteriad rhonc oedd hwn. Y tri gwr hyn sefydlodd y gynnulleidfa ymneillduedig gyntaf yng Nghymru. Y mae digrifwch yn burion yn ei le, ac mae yn tueddu i wneyd lles i foesoldeb. Dylai dyn chwareu yn gystal â gweddïo. Nid yw Ymneillduwyr ein dyddiau ni mor ofalus a'r hen dadau. Mae yn beth cyffredin yn awr i gynnal *rustic sports* mewn cyssylltiad â thalu dyled capeli. Gwelsom Paul a'r angel, y Duwdod a'r cythraul, &c., yn cael eu hactio.

1641. Gwrthryfel yn ei gogoniant. Dadymchweliad Esgobyddiaeth: deuddeg Esgob yn cael eu hanfon i'r Twr, a Dr. Owen, Esgob Llandaf, yn eu plith. Y Llyfr Gweddi yn cael ei wahardd mewn tai preifat heb osod eu hunain yn agored i gosp. Presbyteriaeth yn mwynhau y torthau a'r pysgod. Y *Directory* yn cael ei osod mewn grym; 40s. o ddirwy ar bwy bynag a wrthodai ufuddhau. *Act of Uniformity:* trowyd allan 3000 o offeiriaid am wrthod cydsynio.

1647. Act Annibynol y cydffurfiad. Nid oedd un gweinidog i ddal un fywoliaeth eglwysig neu unrhyw swydd arall heb wneyd cytundeb o fewn chwech mis o flaen ei gynnulleidfa. Ffromodd y Presbyteriaid. Cynnaliwyd cyfarfod mawr yng Nghaerlleon. Gorchymmynwyd i'r "Ammod gael ei drosglwyddo i bwll uffern." Yr oedd y gyfraith hon yn gwahardd i un offeiriad lanw y swydd o ysgolfeistr. Trodd yr Act

hon 8000 o offeiriaid allan o'u bywoliaethau.

1648. Cromwel yn carthu y Senedd trwy gau allan y Presbyteriaid, y rhai oedd yn anfoddlawn i ddwyn y brenin i brawf.

Yn y flwyddyn 1649 pasiwyd act er taenu yr Efengyl yng Nghymru. Yn unol â'r act yr oedd holl gyllid yr Eglwys i gael ei ddwyn i'r Drysorfa Gyhoeddus. Yr oedd yr act yn coniatäu i gan punt yr un i gael eu talu i'r pregethwyr crwydraidd. Penodwyd pwyllgor i brofi pob offeiriad, a throi allan yr offeiriaid cywilyddus. Nid oedd dim mor deilwng a bod yn deyrngarwr. Penodwyd pwyllgor, i'r hwn y rhoddwyd gallu i urddo. Yr oedd yr act hefyd yn darparu i'r bummed ran o'r degwm plwyfol gael ei dalu i deuluoedd offeiriaid o gymmeriadau da oedd wedi cael eu troi allan, ond ni chawsant ond y peth nesaf i ddim. Dywed y petisiwn:—"Y mae y pummed ran yn cael ei wrthod iddynt, er fod y gyfraith yn ei ganiatäu." Chwareuwyd pob math o gastiau yn erbyn y gwragedd, druain. Gorfodwyd hwynt i fyned yn barhäus o flaen y pwyllgor, a myned yn ol heb un ateb, nes iddynt flino a gadael y cwbl yn nwylaw y gorfodwyr; ac nid oedd gan y teuluoedd newynllyd hyn ddim ond arllwys eu cwynion o flaen yr Hollalluog Dduw. Nid oedd y pwyllgor yn foddlawn i wrthod y pummed. Gorchymmynwyd i wraig un o ynadon y Fenni gymmeryd ei ffust i fyned i ddyrnu. Yr oedd yr hafog a wnaeth yr act hon yn nwylaw crwydriaid annhrugarog a gorselog yn arswydus. Yr oedd y pregethwyr crwydraidd yn canlyn y commissiwn fel fwlturiaid yn canlyn byddinoedd. Rhoddwyd dynion anwybodus a ffanaticaidd i lanw y pulpudau. Geilw Arglwydd Clarendon yr act hon yn "Gyfammod yr Independiaid." Gwthiwyd allan y Cynghrair Presbyteraidd, ac os na fyddai iddynt gymmeryd eu llw ar yr act, yr oedd hyn yn ddigon i atafaelu eu meddiannau. Dywed Neal i 330 o fywoliaethau gael eu hatafaelu fel hyn yn 1653. Yr oedd gan y commissiwn 150 yn eu gwasanaeth heb law y rhai oedd yn byw yn gysurus mewn persondai. Yn yr atafaeliad yn 1654, cofnodir i'r swm o 350*p*. gael eu talu i dduwiolion Mynyddislwyn a Llanfaches. Yr oedd y commissiwn yn bwriadu troi allan bob offeiriad, a chefnogi yr Independiaid. Dywed Baxter, er fod yr offeiriaid Cymreig yn rhai drwg, fod y crwydriaid a osodwyd yn eu lle yn llawer gwaeth dynion. Prif oruchwylwyr y commissiwn yng Ngwent a Morganwg oedd Hugh Peters a Vavasor Powell. Ganwyd Hugh Peters yn Fowe, Cernyw, yn y flwyddyn 1599. Addysgwyd ef yng Ngholeg Sant Ioan, Caergrawnt; trowyd ef allan am ei ddrygioni. Trodd yn actiwr wedi hyny. Llwyddodd i gael urddau, a chafodd guradiaeth Sant Sepulche, Llundain, a chafodd ei droi allan o'r Eglwys; ac er gochelyd y gyfraith, gadawodd y wlad, a chyfanneddodd amryw flynyddoedd yn Lloegr Newydd. Pan glywodd am y gwrthryfel, daeth yn ei ol, a throdd yn bregethwr yr Independiaid. Cyfanneddodd am amser yn Aberdaugleddyf. Efe oedd ym mlaenllaw yn camdrin personiaid yn gystal ag ar dreial y brenin. Ar yr Adferiad daeth ei dro yntau i gael ei dreial, a chrogwyd ef yn 1660. Fel y nodwyd, yr oedd Peters yn ben ar dreial y brenin, ac yn brif dyst yn ei erbyn. Cyhuddodd Syr Edward Turner ef o flaen y rheithwyr o gynllunio yn erbyn bywyd y brenin, a chamddefnyddio ei swydd fel pregethwr a gweinidog heddwch, a gwneyd ei hun yn udganwr bradwriaeth a rhyfel, ac un o brif fradwyr Cromwelaidd. Pregethodd bregeth i'r milwyr i'w hannog i ladd y brenin, ac a'i cyffelybodd i Barabbas; a phan oedd ar y dienyddle, aeth oddi amgylch i annog y milwyr

i waeddu "Cyfiawnder," yn gyffelyb i'r Iuddewon ar dreial Iachawdwr y byd. Yr oedd yn alluog i brofi iddo droi y pulpud i bregethu bradwriaeth a gwaed.

Dr. Young oedd y tyst cyntaf yn ei erbyn—Cromweliad trwm. Rhodd hanes Peters fel cadben ysbrydol a gwladol. Bu yn byw am amser yn Aberdaugleddyf. Breuddwyd ei fywyd oedd difodi unbenaeth ac esgobyddiaeth. Marchogodd fel Esgob Elusemor o flaen y brenin pan oedd ef yn myned i'w ddienyddio. Cododd ei ddwylaw tuag at Bradshaw, a gwaeddodd "Dyma ddechreu gogoneddus." Derbyniodd 3000*p*. am hau bradwriaeth yn yr Iwerddon, a chafodd ran o ystâd Arglwydd Worcester. Tyngodd Risiart Nunelly i'r brenin anfon Peters i'r esgynlawr i weled dienyddiad y brenin. Efe oedd yn arolygu y parotoadau. Yr oedd yn gwisgo het fawr a chantal llydan a mantell bregethwrol. Ar ddydd gwyl 1648, penodwyd ef i bregethu. Ei destyn oedd rhyddhâd Barabbas. Dywedodd wrth y milwyr fod dynion yno yn barod i ryddhau Barabbas Windsor. Gwaeddodd gan godi ei ysgwyddau, "O Iesu, beth wnawn ni?" Tro arall pregethodd oddi ar y geiriau, "I rwymo ei breninoedd â chadwyni, a'i phendefigion â gefynau heyrn." Ei amddiffyniad oedd iddo fod yn yr India Orllewinol am 14 o flynyddoedd, ac iddo fyw am beth amser yn yr Iwerddon, ac iddo gael ei wneyd yn filwriad; ond ni ddarfu iddo weithredu oddi ar falais. Cafwyd ef yn euog, a chrogwyd ef Hydref 19, 1660. Y mae Peters yn un o'r seintiau a fu pobl yn wyngalchu amser yn ol.

GIRALDUS.

---

Nid y dyn nad ydyw yn gwneyd dim, yn unig sydd yn segur; eithr segur hefyd ydyw'r dyn ag y gallai fod wrth well gwaith na'r hyn sydd ganddo mewn llaw.—*Socrates.*

## BER-AWDL

*Er cof am y diweddar Barch. Wm. Edmunds, Ficer Rhostie, ac Athraw Ysgol Ramadegol Llanbedr, Ceredigion.*

NID yw aur-arch, neu barch byd,
Yn gwyro neb rhag gweryd;
Gwelwn taw diamgeledd
Mawr a bach rhwng muriau bedd!

Am Gwilym myg y wylwn,—hir echur
O'i achaws a deimlwn;
Y byd aeth iddo yn bwn—trwm irad,
Hunodd, wr cufad, yn ddir e'i cofiwn.

Ar ei elawr, wr mawr, myrdd
A gwŷn tan eu bron fel gordd,
Am farw y gwr hoew hardd,
O bob twyn ceir oer gŵyn gerdd.

Geiriau tyner, gorau tannau,
Ddaeth o'i enau odiaeth hynod;
A melusion amal lysiau,
Peraroglau ein Por eurglod.

Rhoi dysgeidiaeth
Ddofn ac helaeth
I fagwraeth
'Fe a garai;
Meithrin cariad,
Pob da fwriad,
Oedd y syniad
A'i hawdd swynai.

'E garai weled mewn teg wr hylon
O'r gulwys Awen ryw wych argoelion;
Gwnai'n heini' noddi Awenyddion,
Yr Omeraeg ber fwyn a'i haml swynion;
Gyda hwyl gwnai godi hon—ar orsedd,
Iach ail, gu, lonwedd, uwch law gelynion.

Uthr olwg! yr Athraw hylwys
'Nawr a geir o dan oer gwys;
Ysgolheigion llon yn llu—
Gannoedd a wnaeth ef gwnu,
Er llesâd idd ei wlad lon,
Hoff radus a 'Ffeiriadon;
Miloedd yn awr sy'n moli,
Hynod dad, dy enw di!

Ei ysbryd tawel welid—yn eglur,
Em hyglod ddysglaerbrid;
Wr hyfwyn, fe'i cyfrifid
Y dyn llon nas adwaen llid.

Ei feddwl doeth, coeth, cu,—oedd o isel
Wedd iesin anwylgu;
Un agwedd balchedd nis bu
(Hyll achos) ynddo'n llechu.

Coron ei fron oedd cariad,—a llesiant
Ewyllysiai'n wastad:
Ni chai dig, hynawswych dad,
Ymyraeth â'i gymmeriad.

Y gwr a gawn
A dysg a dawn
Yn llif, yn llawn,
Oll i'n lles.

Godidog, enwog, hynod,
Ieithydd glew, byth haeddi glod;
Yr Hebraeg, y Gymraeg gu,
A'u gwŷr a wnai ef garu;
Yn y Lladin ddibrin ddysg
Addien, yr oedd yn hyddysg,
A iaith Groeg, er eitha'i grym,
Oedd iddo fel yn ddiddym.

Dy iaith glos, odiaeth, a glain,—trwy'i synwyr,
A roed i uchwyr Glasgor Rhydychain.

Ei fawl, ysywaeth, a fydd
Ein hethawl hynafiaethydd;
Yn lledu fel ar awel rydd.—a phob chwa
A gluda ei glodydd.

Hanes Llanbedr wnaf enwi,
Geir i'n brawd yn *Goron bri.*

* * * * *

Ond ei hygar hyfryd agwedd—a geir
'Nawr yn gaeth mewn dufedd;
Cof o hwn, er llwnc ceufedd,
Ni ada'r bardd nes myn'd i'r bedd.

DISCIPULUS.

*Llanbedr.*

---

## TRAETHAWD

*Gan y Parch. Samuel Jenkins, F.R.S., Curad Eglwys Ffynnon Tydfil, plwyf Merthyr.*

### Y SARFF BRES.

"A gwnaeth Moses sarff bres, ac a'i gosododd ar drostan: yna os brathai sarff wr, ac edrych o hono ef ar y sarff bres, byw fyddai."—NUM. xxi. 9.

WFFT i anghrediniaeth; nid oes dim ar y ddaiar mor ddigywilydd a hwn; ac y mae hanes plant Israel yn ei ddangos yn ei liw gwaethaf. Disgynodd yr Arglwydd ar Sinai, a llefarodd o ganol y tân a'r mwg. Cafodd Moses orchymmyn i barotoi y bobl ar gyfer disgyniad rhwysgfawr a mawreddog yr Arglwydd. "Dywedodd yr Arglwydd wrth Moses am fyned at y bobl i'w parotoi erbyn y trydydd dydd, ac i'w sancteiddio hwynt, a dywedyd wrthynt am beidio rhuthro a hylldremu ar yr Arglwydd a chael eu ladd." "A'r trydydd dydd, ar y boreuddydd, yr oedd taranau, a mellt, a chwmwl tew ar y mynydd, a llais yr udgorn ydoedd gryf iawn, fel y dychrynodd yr holl bobl oedd yn y gwersyll."—Ecs. xix. Dyma'r diwrnod mwyaf a welodd Israel hyd eto, a'r mwyaf a welsant erioed, o ran hyny. Nid oedd myned drwy y Môr Coch, a chychwyn o'r Aipht yn ddim mewn cymhariaeth i hyn. Dyna yr Israeliaid wedi cael gwers nad anghofiant byth mo honi, tybied; o blegid y maent yn crynu o ddeutu y mynydd, bron â llewygu, cyn cael eu cysuro gan Moses. Mae yr Arglwydd wedi disgyn ei hunan i'w plith. Gweithiodd drwy fraich Moses wrth gychwyn allan o'r Aipht, ac wrth fyned drwy y Môr Coch, ond mae yr Anfeidrol gyda hwy ei hunan heddyw. Pa ryfedd i blant Israel, druain, ddychrynu, "canys ni'm gwel neb I a byw," yw iaith Duw. Wel, cofiant byth y wers ynte, yn hynafgwyr a phlant; cofiant y tân, a'r mwg, a'r cwmwl, ac ysgydwad y mynydd tra fyddant fyw. Na, wfft i anghrediniaeth; pan oedd y bobl yng ngolwg mynydd Sinai, a thra yr oedd Moses yn y mynydd, lle y bu am ddeugain niwrnod a deugain nos, methodd y bobl â dal, ond y maent yn myned at Aaron, ac yn rhoddi eu clustdlysau iddo i wneyd llo aur—llo, o bob creadur arall—yr un mwyaf hurt ar wyneb y ddaiar. Erbyn i Moses ddyfod i lawr o'r mynydd, â'r ddwy lech wedi eu hysgrifenu â bys Duw ganddo, pa beth a welai ond y bobl yn addoli y llo aur yma. Yn wir nid oedd fawr o ryfedd i Moses daflu y llechau nes eu dryllio. Nid oedd Duw ond newydd orphen llefaru cyn i hyn ddygwydd!

Rhywbeth tebyg iawn a ddygwyddodd mewn cyssylltiad â'r sarff bres. Mae yr Arglwydd newydd roddi buddugoliaeth ryfeddol i'r Israeliaid ar y Canaaneaid yn Hormah, ac yn y fan mae y bobl yn llefain yn erbyn Duw a Moses, Pa ham yr wyt wedi ein dwyn ni o'r Aipht i farw yn yr anialwch? Dyma ni heb fara na dwfr; ac y mae yn ffiaidd genym am y bara gwael yma sydd yn yr anialwch. Yr oedd yn well arnom o

lawer yn yr Aipht; yr oedd digon o fara a chig yno. Maent wedi llwyr anghofio y noson fawr hòno yr oedd gwaedd drwy holl wlad yr Aipht, o blegid lladd cyntafanedig pob teulu Aiphtaidd, a bod yr angel dinystriol wedi myned heibio iddynt hwy. Maent wedi anghofio y fraich dragwyddol a barthodd y môr; ac y maent wedi anghofio y llais oedd yn uwch na rhuad taranau lawer a lefarodd o Horeb. Wel, meddai Duw, rhaid i mi gospi y bobl am hyn: nis gall amynedd anfeidrol ddal yn hwy. Y gwr mwyaf llariaidd oedd Moses, ond taflodd y llechau wrth weled anghrediniaeth mawr y bobl. Pa ryfedd yn wir, dyma amynedd anfeidrol yn methu dal ym mhen ychydig! Y gosp a anfonir yw seirff tanllyd. Mae y rhai hyn yn hofran drwy bob man, yn brathu pawb a ddaw i'w cyfarfod. Nid oes hen nac ieuanc, tlawd na chyfoethog, yn ddiogel rhag eu brathiad; nid ydynt yn derbyn gwyneb neb. Mae y bobl yn gelaneddau meirwon ar y maes—filoedd ar filoedd o honynt. Dyma ffrwyth ysbryd tuchanllyd. Dywedir bod seirff yn gyffredin iawn yn y parthau hyny o'r anialwch, ond bod y bobl hyd yn hyn wedi eu cadw rhag eu brathiad mewn dull gwyrthiol. Yn wir nid oes dim a foddlona rai pobl. Dyma y rhai hyn wedi cael Duw yn dad, ac y mae Efe wedi eu dwyn â llaw gref a braich estynedig o law Pharaoh. Maent wedi cael bwyta bara angylion, ac yn blino ar hwnw. Bwyd i blant, meddent, yw hwn, ac nid bwyd i ddynion a rhyfelwyr. Os nad yw bwyd angylion, a hwnw wedi ei wlawio o'r nefoedd, yn eu boddloni, nid oes dim, tebygwn, ar wyneb y ddaiar a wna hyny. Gwyliwn, gyfeillion, rhag meithrin ysbryd grwgnach; mae hwn yn dwyn ei gosp gydag ef bob amser. Mae plant Israel y pryd hyn yn dechreu esgyn o'r anialwch, ac wedi cael buddugoliaeth ryfeddol ar Arad y Canaaneaid, a dyma hwynt yn dechreu grwgnach mewn mynyd. Ond sylwch fod y seirff tanllyd yn cyfnewid pethau yn hollol: nid oes dim tuchan mwy, a dim i wneyd ond myned at Moses, a chyfaddef eu bai, a gofyn iddo yn ostyngedig iawn am eiriol ar Dduw ar eu rhan. Mae Moses yn gwneyd hyny, ac yn cael gorchymmyn gan Dduw i wneyd sarff bres, a'i gosod hi ar drostan uchel, fel y gallai pawb ei gweled o gwr eithaf y gwersyll. Yna, os byddai i un gael ei frathu gan sarff danllyd, nid oedd raid iddo ond edrych ar y sarff bres, a byw fyddai.

Yn awr, y mae y sarff bres nid yn gysgod, ond yn gyffelybrwydd o Grist. Mae llawer o bethau yn gyffelybrwydd heb fod yn gysgod o'r Arglwydd Iesu, a dyma un o honynt. Ef allai mai y gwahaniaeth rhwng cysgod a chyffelybrwydd yw hyn: y mae cysgod wedi ei benodi gan Dduw i ragddangos rhyw ran o swyddau, person, neu waith Iesu Grist drwyddo. Cysgodau, meddai Paul, o ddaionus bethau a fyddant. Cyffelybrwydd, ar y llaw arall, yw dygwyddiad yng nghwrs cyffredin natur, â rhyw beth tebyg ynddo i amgylchiad a gyfarfyddai a'r Gwaredwr. "Megys y dyrchafodd Moses y sarff yn y diffaethwch," medd Ioan, "felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y Dyn." Dyna gyffelybrwydd; dyrchafu y sarff ar drostan, dyrchafu Mab y Dyn ar y groes. "Minnau, os dyrchefir Fi oddi ar y ddaiar, a dynaf bawb ataf fy Hun," meddai Crist ei Hun. Nid ei ddyrchafiad i'r nefoedd sydd yn y fan hyn, ond ei ddyrchafiad i'r groes.

Gwelwn yma dri o bethau:—

I. Y clwyf.

II. Y feddyginiaeth.

III. Y moddion.

I. *Y clwyf yw brathiad y sarff danllyd.* Nis gwyddom yn iawn pa ham y galwyd hwynt yn seirff tanllyd. Meddylia rhai mai o blegid eu lliw coch, tra y meddylia ereill mai y cochni llidiog a achosent yn y rhai

a frathwyd. Beth bynag am hyna mae y seirff hyn yn arwyddlun nodedig iawn o bechod. Yr oedd brathiad y sarff danllyd yn farwolaeth sicr, anocheladwy i bob un: felly y mae brathiad pechod yn angeu tragwyddol i bob un oni faddeuir ef. Mae rhai pethau wedi eu cyssylltu yn llywodraeth Duw, yn anwahanadwy â'u gilydd. Dyma fel y mae pechod a marwolaeth. Mae y rhai hyn yn canlyn eu gilydd yn fwy sicr nag y mae y nos yn canlyn y dydd. Yr oedd yr Israeliaid yn cwyno ac yn ffoi rhag y seirff hyn; ond fy nghyfaill anwyl, os wyt yn annuwiol, yr wyt yn mynwesu sarff a'th fratha yn waeth filoedd o weithiau na'r seirff tanllyd hyn. Nid fy mympwy i yw hyn, ond iaith bendant y Beibl. Gelwir y diafol yn "hen sarff." "A bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hen sarff, yr hwn a elwir Diafol a Satan, yr hwn sydd yn twyllo yr holl fyd." "O seirff, hiliogaeth gwiberod, pa fodd y gellwch ddianc rhag barn uffern?" a ddywed yr Arglwydd Iesu ei Hun wrth y Phariseaid a'r Ysgrifenyddion ar gyfrif eu hanwiredd. Felly y mae genym yr awdurdod uchaf i alw pechod yn sarff.

*Pa beth yw pechod?* Anghyfraith yw pechod. Rhywbeth a phobpeth sydd yn groes i gyfraith lân y Iehofah. Ceisia di gael allan pa beth yw natur cyfraith Duw, a'r peth mwyaf croes a chyferbyniol i hyny yw pechod. Y mae cyfraith Duw yn lân; y mae pechod yn aflan hollol. Mae cyfraith Duw yn sanctaidd; y mae pechod yn ansanctaidd i'r eithaf. Mae cyfraith Duw yn oleuni dysglaer odiaeth; mae pechod yn dywyllwch eithaf. Os oes ar rywun eisieu gwybod mai pechadur yw ai peidio, dyma iddo ddrych i edrych ynddo, sef cyfraith Duw. Felly y gwnaeth Paul. "Eithr nid adnabum i bechod ond wrth y ddeddf, canys nid adnabuaswn i drachwant, oni bai ddywedyd o'r ddeddf, Na thrachwanta. . . . . Eithr yr oeddwn i gynt yn fyw heb y ddeddf," hyny yw, yr oeddwn i yn eithaf iach a dideimlad cyn im' edrych i mewn i gyfraith Duw; ond pan ddaeth y gorchymmyn, yr adfywiodd pechod, a minnau a fûm farw. Parodd cyfraith Duw i mi deimlo fy mhechod mewn mynyd, a gwelais mai marw oeddwn mewn canlyniad. Nid oes dim yn debyg i gyfraith y Iehofah am ddynoethi pechod. Nis gall y pregethwr mwyaf doniol ond llefaru wrth y glust, ond unwaith y dechreua y gyfraith ymdrin â'r pechadur, y mae hi yn myned at wreiddyn y drwg, at y galon, ar unwaith. O am gael cyfraith y nefoedd i ymwneyd â ni. Darluniad go fanwl yw hyn o bechod, ond y mae gan Paul ddarluniad mwy manwl o lawer na hyn. "Pa beth bynag nid yw o ffydd, pechod yw." Dyma i chwi fanylrwydd. Dywed un duwinydd ar yr adnod hon, "Pe bai i ddyn gredu yn gydwybodol mai gwaith drwg fyddai iddo ofyn bendith ei dad, mai drwg fyddai iddo wneyd hyny; ond pe credai yr un mor gydwybodol mai da fyddai iddo felltithio ei dad, nid da ond pechod fyddai hyny." Os gwnaethost rywbeth heddyw, fy nghyfaill, os meddyliaist un meddwl heb fod yn gysson â ffydd, ti bechaist. Ac felly, gallwn ddywedyd, "Os creffi ar anwiredd, O Arglwydd, pwy a saif?" Os ai Di mor fanwl a sylwi ar bob meddwl, gair, a gweithred, pa fodd y dianc neb?

Mae llawer o ymofyn wedi bod pa fodd y daeth pechod i'n byd ni, a pha fodd y daeth i fodolaeth i ddechreu? Mae rhai wedi dal ei fod yn dragwyddol; fod yr egwyddor ddrwg wedi gweithredu yn erbyn yr egwyddor dda bob amser. Nid gwir hyn yna os credwn y Beibl. Yn y nefoedd, ym mhlith bodau llawer mwy ardderchog na nyni, y trodd y drwg yma allan i ddechreu. Pa fodd y daeth pechod i le mor lân, hardd, a pherffaith, a'r nefoedd i ddechreu, ac i blith bodau mor ardderchog, sydd

ddirgelwod i ni, ac mae yn debyg mai dirgelwch a fydd byth. Ond gallwn weled mai ar eu prawf oedd yr angylion fel y rhyw ddynol, a bod ammodau yng nglŷn wrth barhâd eu dedwyddwch. Nis gwyddom ni ond am ddau rywogaeth o fodau rhesymol: dichon bod mwy, ond nis gwyddom am danynt—y rhyw ddynol a'r rhyw angylaidd. Bhoddwyd y ddau mewn sefyllfa o brawf. Syrthiodd rhan o'r rhyw angylaidd drwy bechod, ac y maent mewn cadwynau tragwyddol yn aros barn y dydd mawr. Syrthiodd yr angel o ymyl gorseddfainc Duw; ac am hyny mae ei godwm yn llawer mwy ac yn llawer dyfnach nag eiddo dyn. Felly syrthiodd yr angel mor isel a bod yn Ddiafol, tra ni syrthiodd dyn ond i fod yn bechadur. A oes gwahaniaeth rhyngddynt? Oes, fy nghyfaill, gwahaniaeth mawr. Cedwir pechadur, ond ni chedwir Diafol. Pe byddai modd codi Diafol i fod yn bechadur, gallech benderfynu na fyddai yn hir cyn bod yn sant. Yr angel sydd wedi syrthio i fod yn Ddiafol; wedi syrthio i fod yn bechadur y mae dyn. Am hyny peidiwch galw neb dynion yn Ddiafol, nid oes un o honynt felly, trwy drugaredd.

Syrthiodd pawb o'r rhyw ddynol yn Adda, am mai efe oedd yn cynnrychioli yr holl had. A oedd hyny yn deg, tybied? Oedd yn eithaf teg. Syrthiodd yr angel, pob un drosto ei hun; ond syrthiodd pob un o'r had dynol yn Adda.

Ar ol gweled pa beth yw pechod, edrychwn ar ei darddiad. Mae yn tarddu o ddwy ffynnonell—o'r Diafol a chalon ddrwg y dyn ei hun. Mae y Beibl, tybygaf, yn dangos hyny yn eglur. Mae y Diafol yn temptio rhai i bechu; temptiodd yr Arglwydd Iesu; temptiodd Dafydd i rifo y bobl; y mae yn temptio pawb. Darlunir ef fel llew rhuadwy yn rhodio oddi amgylch, gan geisio y neb a allo lyncu. Ond chwareu teg i Ddiafol, fe becha dyn yn awr pe na buasai Diafol mewn bod trwy rym llygredd ei galon ei hun. Eithaf gwir bod gwahaniaeth mawr yn y dechreu: ni themptiodd neb yr angel hyd a wyddom ni, ond temptiwyd dyn. Gan hyny, y mae cosp yr angel yn annhraethol drymach na chosp dyn. Mae yn anhawdd i ni, ef allai, wahaniaethu rhwng pechod y galon a'r pechodau a gyflawnwn drwy demptiad y Diafol. Os bydd amgylchiadau yn ffafriol i ni bechu, a ninnau yn cael cymhelliad cryf disymmwth i bechu, eiddo y gelyn yn lled gyffredin yw hyn yna.

Dywedaf wrthych dri o bethau am bechod lled hawdd i'w cofio: mae yn hen iawn; mae yn hyf iawn; mae yn hyll iawn.

*Mae yn hen iawn.* Yr oedd pechod cyn bod dyn. Nis gwyddom pa hyd yr arosodd dyn yn ei sefyllfa ddedwydd yn yr ardd. Bernir mai ychydig iawn o ddiwrnodau a fu; felly daeth Adda yn bechadur yn lled fuan ar ol dyfod yn greadur. Aeth o dan y clwyf yn fuan rhyfeddol, ac o dan y clwyf y mae ei hiliogaeth o hyny hyd yn awr.

*Mae yn hyf iawn.* Pwy yw y dynion mwyaf hyf yn y wlad? onid y pechaduriaid mwyaf? Pwy sydd yn tori Sabbathau, meddwi, llofruddio, a phethau o'r fath? Pechaduriaid hyf, bid siwr. Ond heb law ei hyfdra mewn pechaduriaid amlwg, mae yn ymddangos mewn pobl dda weithiau. Rhaid bod pechod yn hyf iawn cyn yr ai at orseddfainc Duw. Gwelwn ei hyfdra un tro mewn cyssylltiad â Moses, ac Aaron, a Miriam. Yr oedd Miriam ac Aaron wedi llidio yn erbyn Moses; rhyw gynhwrf teuluaidd oedd hwn. Mae yn ymddangos mai Miriam a ddechreuodd y cweryl, a bod Aaron wedi cymmeryd ochr ei chwaer yn erbyn ei frawd. Achos y cweryl y tro hwn oedd o blegid y wraig o Ethiopia, yr hon a briodasai efe. Nis gwyddom pa un ai galw Sipporah yn Ethiopes mewn gwawd y darfu iddynt, ai ynte

a oedd Moses wedi priodi Ethiopes, ac wedi claddu Sipporah. Achos arall oedd tipyn o genfigen am fod Moses wedi cael cymmaint o awdurdod. Gwr llariaidd oedd Moses, a goddefodd y cyfan; ond y mae Un yn y nefoedd na oddef i'w was ddyoddef cam. Gall y diniwed ddyoddef cam am dro; ond er hyny y mae Un yn eistedd ar ei orseddfainc dragwyddol a ddadleua ei achos. Mae yr Arglwydd yn disgyn yn ebrwydd yng ngholofn y cwmwl, ac yn sefyll wrth ddrws y babell, ac yn galw ar Aaron a Miriam ato, gan ddywedyd wrthynt, Os bydd prophwyd yr Arglwydd yn eich mysg, llefaraf wrth hwnw mewn breuddwyd neu weledigaeth nos; ond nid un felly yw Moses fy ngwas, mae efe yn fwy o lawer iawn. Llefaraf wrtho ef wyneb yn wyneb mewn iaith eglur, ac nid mewn dammegion. Caiff efe edrych ar fy ngwedd. Pa ham, gan hyny, nad oedd arnoch ofn i fod mor hyf a llefaru yn erbyn Moses fy ngwas. Nis gallaf oddef hyn, Miriam ac Aaron, oddi ar eich llaw; ac am i ti ddechreu y cweryl, Miriam, mi a'th darawaf â'r gwahanglwyf mwyaf tost. Mae y cwmwl yn clirio, ac erbyn i Aaron edrych ar wyneb ei chwaer sydd wrth ei ochr, y mae ei gwyneb yn wyn fel yr eira gan wahanglwyf. Dywed Esgob Hall ar hyn, "bod tafod aflan Miriam wedi ei gospi â gwyneb aflan; a bod ei ffolineb wrth genfigenu yn erbyn Moses yn amlwg i bawb; o blegid fod pawb yn gweled gwyneb Moses yn ogoneddus, a'i gwyneb hithau yn wahanglwyfus. Mae ar Moses eisieu llen i guddio ei ogoniant, a Miriam eisieu llen i guddio ei gwarth." Peidiwch dyweyd dim yn fach am weinidogion y Gair i'w rhwystro yn eu gwaith, o blegid y mae Un yn y nefoedd yn teimlo drostynt. Hefyd, os cospwyd Miriam i'r fath raddau a hyn am lefaru yn erbyn Moses, ac yntau yn was, pa faint fydd cospedigaeth y rhai a lefarant yn erbyn Crist, ac yntau yn uniganedig Fab Duw?

*Mae pechod yn hyll iawn.* Y fath ddarluniadau a ddefnyddir yn y Beibl i osod allan bechod: "Canys gwynt a hauasant, a chorwynt a fedant." "Arddasoch i chwi ddrygioni, medasoch anwiredd." Pechod sydd yn gwneyd dynion a merched yn hyll. Collodd dyn ddelw hardd Duw pan bechodd, a delw naill y llall sydd arnom er hyny. Ef allai eich bod wedi sylwi ar yr hyn a ddywedir am Adda, ei fod wedi cenedlu mab ar ei lun a'i ddelw ei hun, ac a alwodd ei enw Seth. Yn wir, trugaredd ryfeddol yw bod dim prydferthwch wedi ei adael ym mhlith meibion dynion o gwbl, ac na buasai pechod wedi ysbeilio y cyfan. Byddaf yn teimlo hyny weithiau wrth sylwi ar ambell ddyn neu ddynes brydferth. A fynwesi di, fy nghyfaill, y peth sydd wedi anharddu cymmaint ar y natur ddynol?

Gelwir pechod ym mhlith pethau ereill yn "gorff y farwolaeth," ac yn "hen ddyn." Nid oes dim yn fwy hyll ac arswydus na chorff marw wedi dechreu llygru: felly y mae pechod. Mae ambell hen wr hefyd sydd wedi ymdrybaeddu cymmaint mewn pechod fel y mae yn hyll iawn. Mae henaint a phenwyni yn goron hardd iawn lle y mae rhinwedd; ond gwyddom bawb am ambell hen wr cas, pechadurus, mor hyll fel y bydd y plant bach yn rhedeg oddi ar ei ffordd bob amser, gan waeddi, "Dyna hen ddyn." Dyna'r darlun sydd gan Paul o bechod. O'm rhan i nis byddaf yn hoffi clywed neb yn cael ei alw yn hen ddyn, o blegid mai dyma yr enw sydd ar bechod; gwell genyf alw pawb yn hen wr. Ond a garwn ni beth mor hagr, mor hyf, mor gas a phechod? Arafa dy gamrau, fy nghyfaill; mae pechod yn rhoddi llen ar dy lygaid, ac yn dy arwain yn brysur at ddibyn ofnadwy. Sarff yw, ac er nad yw yn dy frathu fawr yn awr, fe dyn ei cholyn allan,

ac a'th frath yn ofnadwy. Darlun da iawn yw hwn, a thrwm iawn fuasai i ni orfod aros yma. O drugaredd, gallwn fyned ym mlaen at y feddyginiaeth; y mae pren wedi ei gael, a dail y pren oedd i iachäu y cenedloedd.

II. *Y Feddyginiaeth.*—Gwneyd sarff bres, a'i gosod ar drostan. Gwelwn fod yma gyfatebiaeth rhwng y clwyf a'r feddyginiaeth. Y sarff danllyd a frathodd, y sarff bres oedd i iachäu Y ddynoliaeth a bechodd, gan hyny yr oedd raid cael had y wraig i yssigo pen y sarff. Dywedir am y gwledydd lle y mae seirff peryglus yn lluosog, bod y Creadwr mawr yn ei fawr ddaioni wedi gofalu am roddi medddyginiaeth mewn rhyw lysieuyn neu rywbeth arall i wrthweithio gwenwyn marwol y sarff yn y manau hyny lle y maent. Felly, pan frather un, nid oes ganddo bell ffordd i fyned am feddyginiaeth. Yn debyg yw gyda ninnau; nid oes genym ffordd bell i fyned am y feddyginiaeth hon i wella clwyf pechod; y mae i'w chael yn y dyn Crist Iesu.

Y mae cyfatebiad drwy yr oll o drefn cadw dyn; mae athroniaeth yn perthyn iddi ond i ni ei deall yn iawn. "Trefn yw deddf gyntaf y nef." Gwerthfawr yw pryniad eu henaid. Nid peth bach yw prynu enaid. Mae yn llawer haws creu bydoedd a chyfundraethau dirifedi na chadw un enaid. Gan hyny, ynte, "Nid â phethau llygredig megys arian neu aur y'ch prynwyd oddi wrth eich ofer ymarweddiad, yr hwn a gawsoch drwy draddodiad y tadau; eithr â gwerthfawr waed Crist, megys oen difeius a difrycheulyd." Ni buasai aur ac arian ond ysgafnach na gwegi i'w taflu i'r glorian i gydbwyso ag un enaid. O, mor werthfawr y feddyginiaeth a ddarparodd Duw i fyd colledig! mae wedi costio yn ddrud—gwerth gwaed yw. Y mae gwaed yn cyssegru pethau y ddaiar yn ein golwg. Yr ydym yn mawrhau y rhyddid sydd genym i addoli Duw, am fod ein tadau wedi tywallt gwaed eu calon er mwyn i ni ei fwynhau. Yr oedd miloedd lawer o famau a phlant yn cofio enw Waterloo hyd eu bedd; beth bynag a anghofient, ni anghofient yr enw yma, am mai dyma y man lle y gwaedodd y meibion a'r tadau. Pe sonid wrthynt am Waterloo tarawsid llinyn tyner yn eu calonau ar unwaith: yr oedd y lle yna yn gyssegredig iddynt drwy waed. Mae y feddyginiaeth hon yn un syml, rhad, ac effeithiol.

*Mae yn feddyginiaeth syml.* Ar ryw olwg y mae symledd yng nghanol holl fawredd y Creadwr. Nid oedd dim mawredd allanol yn y sarff bres; dichon nad oedd dim celfyddyd gwych iawn o ddeutu hon. Torodd gwawr y boreu heddyw, ac anfonwyd lleni tywyll y nos i gilio, gan ymddangosiad brenin y dydd: mor syml y gwnaed hyn, onid e? Mae y gwanwyn prydferth yn canlyn trymder ac ystormydd y gauaf du oer, mewn dull hynod o esmwyth a syml, heb yn wybod i ni braidd, fel nas gall neb osod terfynau y naill y llall. Yr un fath y mae ein hiachwdwriaeth yn syml: "A hi a fydd i'r rhai hyny a rodio y ffordd, pe byddent yn fudion ni chyfeiliornant." Mae yr ynfydion yn dueddol iawn o golli eu ffordd hyd y byd, ond y mae ffordd gras mor syml fel nad oes modd iddynt gyfeiliorni ar hon; yn wir y mae llawer yn diystyru meddyginiaeth yr Efengyl am ei bod mor syml. Mae y Pabyddion wedi gosod llawer iawn o benydiau a phethau felly er mwyn, debygwn, boddloni y rhai sydd yn gweled meddyginiaeth yr Efengyl yn rhy syml. Tebyg yw y rhai sydd yn gwrthod y feddyginiaeth hon, ar gyfrif eu symledd, i Naaman y Syriad. Cadfridog enwog oedd hwn, ond ni allai fwynhau hapusrwydd ei sefyllfa am ei fod yn wahanglwyfus. Dygwyddodd fod gan wraig Naaman lances fach o forwyn a gaethgludwyd o Israel. Dywedodd hòno wrth ei meistres fod prophwyd yn Samaria a

allai wella ei meistr oddi wrth ei wahanglwyf. Mae brenin Syria yn clywed am hyn, ac yn anfon Naaman â llythyr at frenin Israel, gan dybied mai hwnw allai ei wella. Pan ddarllenodd brenin Israel y llythyr, rhwygodd ei ddillad. Mae Eliseus yn clywed am hyn, ac anfonodd am Naaman. Mae yntau yn myned yn ei gerbydau a'i feirch, ac yn sefyll wrth ddrws y prophwyd. Yna mae Eliseus yn anfon cenad ato, ac yn gorchymmyn iddo fyned i ymolchi saith gwaith yn yr Iorddonen, ac y byddai iddo gael iachâd. Y mae Naaman yn digio yn fawr wrth symledd y moddion. Yr oedd efe yn dysgwyl i'r prophwyd ddyfod allan mewn tipyn o rwysgfawredd, a chodi ei law, a galw ar enw yr Arglwydd. Y mae tyrfaoedd lawer yn ysbryd Naaman y Syriad y dyddiau hyn, yn digio wrth symledd y moddion.

*Y mae yn feddyginiaeth rad.* Nid oedd un pris arianol am gael gwellâd drwy y sarff bres. Yn wir, mewn anialwch oeddynt; nid oedd ganddynt fawr o gyfoeth, ac felly nid oedd modd iddynt dalu llawer. Yn gymhwys fel hyn y mae meddyginiaeth yr Efengyl. "A phryd nad oedd ganddynt ddim i dalu, efe a faddeuodd iddynt ill dau." Mae meddyginiaeth yr Efengyl yn cael ei chynnyg yn rhad i bawb heddyw, ac y mae yn dda hyny, o blegid nid oes gan neb ddim i dalu. Byth ar ol y cwymp y mae dyn yn *bankrupt*, yn methu talu ei ddyledion. Mae ei Greawdwr yn gofyn cyfiawnder oddi ar ei law, ond nid oes ganddo ddim i dalu; mae yn gofyn saucteiddrwydd, ond ni fedd ddim iddo; mae yn gofyn addoliad a gwarogaeth oddi ar ei law, ond heb gael hyn mae Efe oddi wrth filiynau sydd yn y byd heddyw. Am hyny y mae Efe wedi rhoddi cyfraith ar y byd, a charcharorion yw pob pechadur sydd yn y byd gan Dduw, o herwydd y ddyled fawr sydd arnynt; ond y mae y Ceidwad mawr wedi myned i'r carchar at y carcharorion, ac wedi cynnyg eu rhyddhau yn rhad. "Myfi, myfi yw yr hwn a ddilea dy gamweddau er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy bechodau." Ac y mae yr Ysbryd a'r briodasferch yn dywedyd, Tyred; a'r hwn sydd yn clywed dyweded, Tyred; a'r hwn sydd â syched arno deued; a'r hwn sydd yn ewyllysio, cymmered ddwfr y bywyd yn rhad. Y mae bendithion yr Efengyl heb arian ac heb werth. A wrthodi feddyginiaeth fel yna, gyfaill? Dyma i ti feddyg a meddyginiaeth heb eu bath. Mae y Meddyg mawr yn gwella merch yr hen Amoriad o'i holl glwyfau, ac ar ol hyny y mae yn ei dyweddïo iddo ei hun, ac yn ei phriodi, ac yn ei gwisgo yn hardd mewn gwaith edau a nodwydd, ac yn ei chyflwyno i'w Dad, heb fod arni frycheuyn, na chrychni, na dim o'r cyfryw.

*Mae yn feddyginiaeth effeithiol.* Yr oedd llwyr iachâd i bob un a edrychai ar y sarff bres, nid iachâd rhanol. Meddyginiaeth felly yw yr Efengyl hefyd. "Am hyny y dichon Efe hefyd yn gwbl iachäu y rhai, trwyddo Ef, sydd yn dyfod at Dduw." Mae pechod wedi clwyfo yr holl ddyn—gorff, enaid, ac ysbryd. "Y pen oll sydd glwyfus, a'r holl galon yn llesg. O wadn y troed hyd y pen nid oes dim cyfan ynddo; ond archollion, a chleisiau, a gwelyau crawnllyd." Dyna effeithiau pechod, ac y maent yn arswydus iawn; ond er cymmaint yw ystaeniau pechod, mae gwaed y Groes yn eu symmud oll; er dyfned ei greifftiau, y mae'r feddyginiaeth hon yn eu tynu allan yn llwyr. Sonia yr hynafiaid lawer am yr *elixir vitæ*, eli bywiol, yr hwn, meddent, pe byddai modd cael hyd iddo, ac iro corff marw ag ef, a wnai y corff hwnw yn anfarwol wedyn. Ni raid i mi ddywedyd nad oes neb wedi cael hyd i hwn, yn fwy nag i faen yr athronydd, er cymmaint y chwilio a fu am danynt.

Pan wnaeth Columbus ei ddarganfyddiad ardderchog, sef darganfod

un hanner ein byd ni, yr Amerig fawr, yr oedd y fath olwg mawreddog ar ei thiroedd llydan ffrwythlawn, a'i hafonydd teg, fel y credodd yn ei galon ei fod wedi cael hyd i Baradwys y Beibl. Bu Columbus farw yn y meddwl yna, ond yr ydym ni sydd yn byw yn awr yn gweled ei fod wedi camgymmeryd yn fawr yn ei syniad. Modd bynag yr oedd syniadau y rhai a ddaeth ar ol Columbus yn llawer mwy gwyllt na'i eiddo ef. Credodd rhai o honynt fod preswylwyr y byd newydd yn anfarwol, a bod amser yn eu gwneyd yn ieuengach. Aeth rhai o honynt mor bell a dywedyd bod ffynnon yn un o ynysoedd y Lucayas, dyfroedd pa un a roddai ieuenctyd tragwyddol i'r rhai a'u hyfent. Aeth un a elwir Bilbas i chwilio am y ffynnon ryfeddol hon er mwyn yfed o'i dyfroedd. Cyfarfyddodd â rhai o breswylwyr y Lucayas, y rhai a allent ymgomio ychydig ag ef, a dywedodd y rhai hyny na wyddent hwy ac na chlyw'sant am y fath ffynnon. Yn eu plith yr oedd hen wr, yr hwn a ddywedodd, pe y gwyddent am y fath ffynnon, na byddai efe ei hun yn hen fel yr oedd, ond yn ieuanc a heinyf. Felly methodd Bilbas â chael hyd i'r ffynnon wyrthiol, ond fe gafodd hyd i'r Môr Tawelog, yr hwn y mae ei fynwes fawr yn dawel bob amser; nid oes un ystorm byth yn ei gynhyrfu ef. Nid oes neb erioed wedi cael hyd i'r uchod: dychymmygion disail ydynt. Ni chafodd neb hyd i'r eli bywiol a maen yr athronydd. Ni chafodd Columbus baradwys y Beibl, ac ni chafodd Bilbas y ffynnon wyrthiol. Modd bynag, y mae yn bosibl i'r mwyaf distadl o'm darllenwyr gael yr hyn a fethodd y rhai hyn yn y feddyginiaeth yr wyf yn son am dani. "Yr hwn sydd yn diwallu dy enau â daioni, fel yr adnewyddir dy ieuenctyd fel yr eryr. Eithr y rhai a obeithiant yn yr Arglwydd a adnewyddant eu nerth; ehedant fel eryrod; rhedant ac ni flinant; rhodiant ac ni ddiffygiant." "Pwy bynag," medd Iesu Grist wrth y wraig o Samaria, "sydd yn yfed o'r dwfr hwn, efe a sycheda drachefn; ond pwy bynag a yfo o'r dwfr a roddwyf Fi iddo, ni sycheda yn dragywydd; eithr y dwfr a roddaf Fi iddo, a fydd ynddo yn ffynnon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragwyddol." Pwy na ddyweda, ynte, gyda'r wraig hòno, "Arglwydd dyro i mi y dwfr hwn, fel na sychedaf."

Mor effeithiol yw y feddyginiaeth hon fel pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, ânt cyn wyned a'r eira; pe cochent fel porffor, byddant fel gwlan. Y mae dynion yn gallu gwneyd papyr gwyn fel yr eira o bob math o garpiau budron, ac o bob lliw, ond y lliw coch. Nis gall neb wneyd papyr gwyn o'r rhai hyn, o blegid y mae y carpiau yn cael eu dyfetha cyn y gellir tynu y cochni o honynt; nis gellir gwneyd ond *blotting paper* coch o'r rhai hyn. Ond yr hyn sydd ammhosibl gyda dynion sydd bosibl gyda Duw. Os cei, ddarllenydd, gymhwysiad o waed y groes atat, ä cochni dy bechodau ymaith yn hollol. Clywsom am feddwyn a arferai, bob tro y meddwai, fyned i'r ardd a gyru hoelen i bren. O'r diwedd daeth yn ddyn sobr, ac yna aeth i'r ardd i dynu yr hoelion o'r pren, rhag i olwg ar adgofion ei hen elyn ei flino. Gofynodd cyfaill iddo a oedd wedi tynu yr hoelion. "Ydwyf," meddai, "ond y mae eu hol yno eto." Mae ambell un wedi pechu cymmaint, fel yr aiff ol ei bechod gydag ef i'w fedd. Ond er hyny, os bydd wedi derbyn y feddyginiaeth hon, caiff gwbl iachâd yn y man; o blegid pan ddaw ei gorff i fyny o'r bedd, bydd hyd yn oed olion pechod wedi eu dilëu. Caiff y llygredig hwn wisgo anllygredigaeth. Yn wir y mae bendithion y cyfammod gras yn rhagori cymmaint ar fendithion y cyfammod gweithredoedd, fel y gellir dywedyd am dano fel y dywedodd Iacob wrth fendithio Ioseph ei fab,

"Bhagorodd bendithion dy dad ar fendithion fy rhieni, hyd derfyn bryniau tragwyddoldeb. Cefais i fendith ragorol gan Isaac fy nhad, ond y mae dy fendith di yn annhraethol ragorach." Cyfammod rhagorol oedd y cyfammod gweithredoedd, ond y mae y cyfammod gras yn annhraethol ragorach. Pa faint yn rhagorach? Nis gallaf ddywedyd. Y mae rhyw gymhariaeth rhwng y mymryn lleiaf a'r bydoedd aml eu rhif, ond nis gallaf gymharu y ddau hyn. Mae y cyfammod gras yn rhagori hyd derfyn bryniau tragwyddoldeb.

III. *Y moddion.* Gyda golwg ar y sarff bres, y moddion oedd edrych. Pe buasai i un o'r Israeliaid gael ei frathu gan sarff danllyd, er iddo fod yn ymyl y trostan oedd yn cynnal y sarff bres, os na edrychai i fyny ati byddai farw yn ddigymhorth. Mae gan yr Efengyl ei moddion, a rhaid eu defnyddio. Nid yw Duw yn gosod beichiau ar neb nad allant eu dwyn. Pob baich nas gallwn ni ei ddwyn, fe ddygodd yr Iesu hwnw drosom. Bedyddiwyd Ef â'r bedydd tân a fuasai wedi ein llosgi ni yn lludw. Yfodd Ef ein cwpan marwol ni hyd ei waelodion, pryd y buasai un dyferyn o hono wedi ein gwenwyno ni am dragwyddoldeb. Daeth y Gwaredwr o Eden, yn goch ei ddillad o Bosra, yn hardd yn ei wisg, yn ymdaith yn amlder ei rym. Mae y prophwyd yn gofyn iddo, "Pa ham yr wyt yn goch dy ddillad, a'th wisgoedd fel un a sathrai mewn gwinwryf?" Atebodd yntau, "Sethrais y gwinwryf fy hun, ac o'r bobl nid oedd neb gyda myfi." Mae Efe wedi cadarnhau i'r frwydr, i ymladd dros ei waredigion. Buasai y gelyn wedi cael dy ben di a minnau i lawr yn fuan iawn; ond y mae Efe yn sicr o'r fuddugoliaeth, y mae dydd dial ar ei galon. Felly pob peth nad allem ni wneyd, y mae yr Iesu wedi gyflawnu yn ein lle; ond dylem gofio na wna Efe ddim drostom a allwn wneyd ein hunain. Ni achub Efe neb ond yn unol â'r moddion. Mae ambell un yn dysgwyl cael pechu yn rhyfygus yn erbyn Duw ar hyd eu bywyd, ac yna ryw bum mynyd cyn marw dysgwyliant gael eu hachub, a threulio tragwyddoldeb o ddedwyddwch. Maent yn ymgyrhaedd am fwyniant pechod hyd eu bywyd, a mwyniant y nefoedd am dragwyddoldeb. Nid dyma drefn Duw, gyfeillion. Clywch eiriau yr Arglwydd Iesu ei hun ar y pwnc yma: "Canys pwy bynag a fyddo cywilydd ganddo Fi a'm geiriau yn yr odinebus a'r bechadurus genedlaeth hon, bydd cywilydd gan Fab y Dyn yntau pan ddêl yng ngogoniant ei Dad gyda'r angylion sanctaidd." Onid all Duw achub hyd yr eithaf, gofyna rhywun? Gall yn unol â'r moddion. "Efe a ddichon yn gwbl iachäu y rhai trwyddo Ef sydd yn dyfod at Dduw." Dyna'r moddion, dyfod drwy Iesu Grist at Dduw; o blegid y mae Efe yn offeiriad tragwyddol. Onid achubwyd y lleidr ar y groes? Eithaf gwir. Achubwyd un o ymyl colledigaeth, fel na ddigalona neb i ddyfod at Dduw yn ei drefn; ac ni achubwyd ond un, fel na ryfygai neb i feddwl cael ei gadw heb y moddion. Ac heb law hyny, ni chaiff neb y fath gyfleusdra i gredu yn, ac i weithredu, ffydd ar Fab Duw ag y cafodd y lleidr ar y groes. Yr oedd y Gwaredwr o dan y cwmwl duaf a aeth drosto yn ystod ei holl fywyd. Credodd y lleidr ynddo pan oedd pawb arall o ddeutu yn ei watwar fel twyllwr. Mae arnaf ofn bod llawer yn gwneyd camddefnydd o hanes y lleidr ar y groes, gan ymresymu y gallant fod yn bechaduriaid mawrion ar hyd ei bywyd, a chael trugaredd ychydig fynydau cyn marw. Nid yw yr hanes yn cefnogi penryddid fel yna, a dyledswydd gweinidogion ffyddlawn yw hysbysu hyny. Os oes rhywun yn *dewis* yn rhan iddynt yn y byd hwn i rodio yng nghynghor yr annuwiolion, a

sefyll yn ffordd pechaduriaid, ac eistedd yn eisteddle y gwatwarwyr ar hyd eu bywyd, y mae Duw wedi *gosod* eu rhan yn y byd a ddaw. Cânt ddewis eu rhan yma, ond rhan osodedig a fydd yn y byd tragwyddol Dyma y rhan,—"Ar yr annuwiolion y gwlawia Efe faglau tân a brwmstan, a phoethwynt ystormus: dyma rau ei ffiol hwynt."

Mae perygl, ef allai, i ni ddyrchafu gormod ar y cyfryngau; ond nid oes posiblrwydd i ni ddyrchafu gormod ar y moddion. Cyfrwng rhagorol oedd y sarff bres, ond yr ydym yn darllen ar ol hyn bod plant Israel wedi ei haddoli, a llosgi arogldarth iddi, a bod Heseciah dduwiol wedi ei dryllio, a dangos mai pres oedd. Pan y mae dynion yn myned at eu cyd-ddynion i gael maddeuant o'u pechodau, nid yw hyn amgen addoli y sarff bres.

*Peidied neb â llwfrhau, mae moddion yr Efengyl yn rhai hynod esmwyth.* "Deuwch ataf Fi bawb sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch. Cymmerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf; canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon; a chwi a gewch orphwysfa i'ch eneidiau. Canys fy iau sydd esmwyth, a'm baich sydd ysgafn." Dyma eiriau grasol ein Gwaredwr.

Ar ryw olwg y mae yn llawer haws gwasanaethu Duw na'r Diafol. Ffordd y troseddwr sydd galed, a myned yn galetach, galetach yn barhäus o hyd mae ei ffordd ef. Gwaith caled rhyfeddol yw pechu yn erbyn Duw. Mae yn wir bod ymdrech mawr yn angenrheidiol i fyw yn dduwiol, rhaid ymdrechu yn erbyn y byd, y cnawd, a'r Diafol. Ond mae ffordd y credadyn yn myned yn esmwythach esmwythach o hyd. Y mae ei serchiadau yn cael eu puro, a'i galon yn cael ei glanhau, ei feddwl yn cael ei darostwng, a'i hen ddyn yn cael ei farweiddio bob dydd, fel o'r diwedd y mae yn hawdd, ar ryw olwg, i'r credadyn fyw ei fywyd o ffydd. Yn wir y mae ei fywyd mor hyfryd fel y mae yn dyfod i deimlo fel Paul. "Y mae yn gyfyng arnaf o'r ddeutu, y mae arnaf chwant ymddattod a bod gyda Christ, canys llawer iawn gwell yw." Fy hyfrydwch penaf fydd cael gweled yr Iesu; ond y mae cymmaint o bleser i fyw bywyd ffydd yn awr; y mae cymmaint o hyfrydwch i fynegu yr hyn a wnaeth Duw i'm henaid, ac i weithio drosto, fel y mae yn gyfyng arnaf i wybod pa beth i ddewis.

Mor esmwyth yw telerau yr Efengyl; dim ond credu yn y Mab. Ti fedri gael hyd i'r bywyd tragwyddol cyn gorphen darllen hyn o draethawd, dim ond i ti dderbyn y feddyginiaeth hon, edifarhau am dy bechodau; cael dy gyfiawnhau, a'th sancteiddio, a'th fabwysiadu i deulu Duw. Yna cei Duw yn dad; Iesu Grist yn frawd; yr Ysbryd Glân yn arweinydd; Gair Duw yn rheol yn y byd; y nefoedd yn gartref tragwyddol. Cei fod yn etifedd i Dduw, a chyd-etifedd â Iesu Grist am y wobr fawr a dderbyniodd gan y Tad am weithio allan galedwaith prynedigaeth dyn. A phe byddai i holl lengoedd y pwll diwaelod geisio dy attal i fyned i mewn i'th etifeddiaeth deg, nis gallant. Ni byddai un man cymhwys i ti wedyn ond gogoniant.

---

DIFIAU DERCHAFAEL.

Wele Oresgynwr Angeu,
  Gyda rhwysg breninol try
Yn ei gerbyd o gymylau
  Tua phyrth ei balas fry;
Clywir llais angylaidd gorau,
  Aleliwia! yn y nef,
Agor mae tragwyddol ddorau
  Y gogoniant iddo Ef.

Pwy yw hwn sy'n d'od i'r nefoedd
  A sain udgorn croch a llaes?
Arglwydd brwydrau, Duw y lluoedd,
  Wedi ennill ar y maes;
Hwn fu ar y groes yn hongian,
  Hwn a ddaeth o'r bedd heb ball,
Hwn anrheithiodd deyrnas Satan,
  Drechodd fyddin fawr y Fall.

Tra'n dyrchafu fry ei ddwylaw
  I fendithio'r un ar ddeg,

Hwythau'n edrych, mae'n ymadaw
  Yn ei gwmwl-gerbyd teg;
Rhodiodd gyda Duw, a chafwyd
  E'n pregethu'r Farn a ddaw,
Ein hail Enoch a symmudwyd
  I'w dragwyddol gartref draw.

Nefol Aaron yw yrŵan,
  O'r tu fewn i'r llen drwy waed,
Iosua a ddaeth i Ganaan,
  Cryn breninoedd wrth ei draed;
Llwythau Israel a blanodd
  Yn yr addawedig dir;
Ein Elias mawr gyfrana
  Ddeuparth in' o'i Ysbryd gwir.

Codi wnaeth y natur ddynol
  Hyd ddeheulaw Duw'n y nef,
Ninnau'n eistedd yn gynnrychiol
  Mewn gogoniant gydag Ef;
Dyn ar orsedd Duw yn gafael,
  Yr angylion oll a'i mawl;
Arglwydd yn dy fawr Dderchafael
  Cenfydd ffydd i ninnau hawl.

Boed i Dduw y Tad ogoniant,
  I Dduw Fab gogoniant fo,
Marw, codi, cym'ryd meddiant
  Wnaeth i ni o'r nefol fro:
Boed gogoniant i'r Glân Ysbryd,
  Tri yn Un ac Un yn Dri,
Yn y nef a'r ddaiar hefyd,
  Byth ogoniant, mawl, a bri.

*Cyf.* GLANMOR.

---

## Y TYRCIAID A'R RHYFEL.

Y MAE yr ymherodraeth Dyrcaidd neu Ottomanaidd yn cael ei chyfansoddi o diriogaethau yn Ewrop, Affrica, ac Asia; y maent oll dan lywodraeth y Sultan, neu dan lywodraeth penaethiaid treftadol, neu benaethiaid wedi eu hethol a'u penodi gan y Sultan ei hun. Mae y boblogaeth yn cael ei gwneyd i fyny o wahanol genedloedd, yn siarad gwahanol ieithoedd, ac yn proffesu gwahanol grefyddau. Y mae 25,000,000 yn Fahometiaid, o bymtheg i un fil ar bymtheg o filiynau yn Gristionogion Groegaidd ac Armenaidd. Er mai Mahometiaeth yw y grefydd sefydledig, yn ddiweddar goddefir ac amddiffynir crefyddau ereill O fewn y blynyddoedd diweddaf cynnygiwyd cynlluniau newyddion i gyfranu addysg. a gwnawd addewidion dirif i ddiwygio camdrefniadau, llygredd, a phydredd yr ymherodraeth Ottomanaidd; ond nid oes dim llawer wedi ei wneyd heb law addaw.

Llywodraeth dra-arglwyddiaethol yw llywodraeth y Twrc. Nid yw y Twrc yn talu dim sylw i lenyddiaeth, celf, na gwyddor. Nid yw y Mahometiaid yn astudio dim ond difynyddiaeth a'r gyfraith, y rhai sydd yn cael eu cyd'blethu yn y Coran. Anfona masnachwyr cyfoethog eu meibion i ysgolion Ewropaidd i'w haddysgu; ond mae y werin wedi suddo i ddyfnderau llygredigaethau, ofergoeledd. ac anwybodaeth. Nid yw y Mahometiaid yn credu fod gan fenyw enaid o gwbl i'w gadw neu i'w golli. Mae dyled a gwastraff y llywodraeth yn myned ym mlaen law yn llaw â gormes a malu gwynebau eu deiliaid. Ardrethir y cyllid i'r sawl a dâl oreu, ac mae y rhai hyn yn cyfoethogi eu hunain trwy godi trethi anghyfiawn. Yn awr ac yn y man tora penboethdra ffanaticaidd allan, a chyflawnir creulonderau barbaraidd ar y "cŵn Cristionogol" yn debyg i'r rhai ag yr oedd Eglwys Rhufain yn gyflawnu yn Neheudir America, ac i gyflafanau gwyl Sant Bartholomew. Hyn sydd wedi achosi y rhyfel presennol, yr hyn sydd yn debyg yn y pen draw i ddadymchwelyd yr ymherodraeth, neu roddi pen ar y gormesderau ar Gristionogion. Nis gall un gyfundrefn fod yn waeth na'r un bresennol, yr hon sydd yn warthrudd i Ewrop wareiddiedig. Mae y Tyrciaid yn genedl greulawn, farbaraidd, a hanner gwareiddiedig. Ymladdant dan arwydd y cyfnulloer (*crescent*); y maent yn byw dan ddylanwadau hanner paganaidd y *crescent*. Pan gyffröir eu natur, ânt yn hanner gwallgof. Gellir meddwl nas gall y Twrc ysgdlyd ymladd, ond ymladdant yn ffyrnig. Nid ydynt yn gofalu dim llawer am ymosodiadau llengoedd cyssegredig Bulgaria. Yr oedd y Serfiaid yn credu nas gallai y Twrc ymladd; ond maent wedi gweled amgen erbyn hyn. Nis gellir mesur na phwyso

gwrhydri y ddwy ochr; ond gellir gweled yn eglur am ddyoddefiadau y ddwy ochr, ac y mae yn arswydus i feddwl am dano. Ceisir perswadio y bobl fod y weinyddiaeth bresennol yn ffafrio Twrci yn erbyn y Cristionogion; ond nid yw hyn ddim ond ceffyl brethyn i saethu at y Ceidwadwyr. Nid yw Mr. Disraeli yn Sultan yng Nghaergystenyn, nac Iarll Derby yn *Grand Vizier*. Nid oes gan y llywodraeth ddim un gallu i lywodraethu swyddogion Twrci; y mae yn wir nas gallasai sefyll hyd yn hyn oni buasai Lloegr a galluoedd ereill. Mae yn debyg fod gofwy yr ymherodraeth yn ymyl, ac nis gall un gallu daiarol ei chadw i fyny. Cyhudda y Tyrciaid y Serfiaid o gyflawnu creulonderau, ond nid oes modd i wadu y cyhuddiadau arswydus a ddygir yn erbyn y Tyrciaid eu hunain. Mae gohebydd y *Times* yn profi fod y Serfiaid yn trin y clwyfedigion Tyrcaidd yn garedig. Bydd yr holl greulonderau, yr holl gigyddio, ysbeilio, a gwneyd coelcerth o bentrefydd Bulgaria, yn gwneyd enw y Twrc yn ffieiddbeth yng ngolwg y byd gwareiddiedig. Nid yw blaenoriaid y blaid Ryddfrydol, mae yn wir, yn rhoddi y bai ar y llywodraeth fel rhai o'r *small fry;* ni wnaeth Mr. Gladstone hyn yn ei bamphled nac yn ei araith. Amddiffynodd Iarll Hartington, blaenor y Rhyddfrydwyr, y Llywyddiaeth rhag yr ymosodiadau a wnawd yn ei herbyn; tra y boddlonwyd Mr. Bright â'r atebion a roddwyd iddo gan Iarll Derby, pan ymwelodd ef a'i gyfeillion â'i Arglwyddiaeth. Yr ydym wedi gwneyd digon o aberthau mewn bywydau ac arian dros yr ymherodraeth bwdr hon. Bu farw miloedd o'n cydwladwyr dewrion o'r haint yn Gallipoli a Varna. Costiodd brwydr yr Alma i'r Cynghreiriaid 3400 rhwng lladd a chlwyfo. Ar y 25med o Hydref ymladdwyd brwydr Balaclafa, brwydr nad oes dim hanes am ei bath ar dudalenau hanesyddiaeth, pan aeth y chwech cant dewrion ar eu meirch rhwng cegau cŵn rhyfel cynddeiriog. Costiodd buddugoliaeth Inkerman 2000 o wŷr. Lladdwyd llawer o'n milwyr yng ngwarchaead Sebastopol. Collodd y Cynghreiriaid yn yr ymosodiad ar y Redan a Malakoff 3000 o wŷr. Pan derfynodd y gwarchae, cafwyd allan i 24,000 o filwyr Prydeinig eu lladd. Gwariwyd ugeiniau o filiyniau er attegu Twrci. Pan ddechreuodd rhyfel y Crimea, nifer y fyddin Brydeinig oedd 112,000, ac yr oedd y draul o'u cynnal yn 7,387,000*p.;* ar ddiwedd y rhyfel yr oedd genym 223,000 o filwyr: yr oedd y gost yn 32,000,000; cododd Treth yr Incwm o 7*c.* i 1*s.* 6*c.* yn y bunt, yn gwneyd y cyfanswm o 15,000,000*p.* yn y flwyddyn. A ydym ni ar ol yr holl golled yma yn myned i gael rhyfel arall? Yr oedd iaith ac ymddygiad Mr. Gladstone yn tueddu at y ffolineb yma. Mae y mân oleuadau yma a thraw ar hyd y wlad am wneuthur yr un peth. Pe cyhoeddem ryfel yn erbyn Twrci yfori, nid yw yn beth tebyg y bydd i'r Twrc ymadael heb ymladd â ni. Gellir yn wir gyru'r Twrc allan o Ewrop, er bod y boblogaeth nid llai na 16,000,000; ac ef allai fod penboethiaid i'w cael a gymmeradwyant ddigartrefu 5,000,000 o Dyrciaid Mahometaidd; ond ni buasai hyny ond symmud y creulonderau i ran arall o'r byd; byddai Asia yn wenfflam o ryfel, a hyny yn rhyfel o'r fath fwyaf ffyrnig, sef rhyfel grefyddol; o blegid y mae miloedd a miliynau o Gristionogion a Mahometiaid yn cydfyw yn ardaloedd eang Asia. Ffolineb yw meddwl y gall ein Llywodraeth ni yn unig roddi terfyn ar y rhyfel; y mae yn rhaid i ni gael cydweithrediad galluoedd ereill cyn rhoddi terfyn ar yr holl gelanedd sydd yn cael ei gario ym mlaen yn Serfia a Bulgaria. Nid oedd yn bosibl i Iarll Derby ddylanwadu ar y Porte i attal y creulonderau uffernol hyn, ac yntau heb wybod dim am danynt nes iddynt gael eu cyflawnu.

x a pancake or fritter

## Y MILFLWYDDIANT AR WAWRIO.

*Ned.* Diolch yn fawr i ti, Dai anwyl i, am dy lith olaf ar y testyn uchod. canys yr ydwyt wedi rhagori ym mhell arnat dy hunan yn hon, pe byddai hyny yn bosibl i ti i'w wneuthur.

*Dai.* Os oes unrhyw fath o glod, canmoliaeth, neu ragoriaeth yn perthyn iddi, fe ddylet ti, Ned bach i, gael *share*, beth bynag, o hyny am bob cangen o wybodaeth cynnwysedig ynddi a chyfranedig trwyddi; ac yn enwedig am dy *ddefinition* rhagorol a gwreiddiol o'r teitlau botwm plwm.

*Ned.* Taw son, Dai, canys yr ydwyf fi, fel ag y gwyddost ti, yn debyg iawn i Robin gynt, "yn 'swil;" a phaid â seboni cymmaint arnaf fi fel yna, onid e fe ddywed darllenwyr hoff a hawddgar yr HAUL hyf a llachar ein bod yn myned i wirio yr hen ddiareb wirion hôno,

> "Cân di grwythyn bach i'th nain,
> Fe gân dy nain i tithau."

*Dai.* Let us change the subject at once. A wyt ti, Ned, am gael rhagor o resymau cedyrn o'r un natur ac ystyr a'r rhai blaenorol? Fe garwn wybod.

*Ned.* Ydwyf yn wir, Ned anwyl i, os gweli di fod mor dda a charedig a gwneuthur hyny.

*Dai.* Cei, cei, Ned bach i, yn rhwydd ac yn rhad, a chyda'r pleser mwyaf; a dyma'r nesaf, "Ffurfwasanaeth."

*Ned.* Do the Dissenters, indeed, Dai, use a form of worship in their chapels?

*Dai* Yes indeed y maent, Ned; a'r penaf, enwocaf, a'r dysgedicaf o honynt sydd yn gwneuthur hyny, megys Mr. Thomas, Stockwell; Mr. Newman Hall, *et cum multis aliis*, a dyma feistriaid y gynnulleidfa—arweinyddion y fyddin—bugeiliaid y praidd a phenaethiaid y bobl, ac fe ddaw y lleill i'w dilyn yn y man.

*Ned.* Yr ydwyt yn fy synu i, yn wir. Dai anwyl i, canys pabyddol oedd pob math o "Ffurfwasanaeth" yn eu golwg hwynt gynt, ac i'r hen offeiriaid twp, tywyll, ac anwybodus yr oeddynt wedi eu fwriadu; ac yr oeddwn innau wastad yn deall ac yn credu taw gwallt tew a chrop ar y talcen, fel to gwellt ar fargod ty—taw gwyneb hir, hir, mor hir a chareg filltir neu ben asyn—taw gwefl laes ac yn hongian i lawr fel cramwythen dros yr en—taw gweddi ddifyfyr, hirwyntog, ac o'r frest, myn dyn i—a thaw llais, dawn, a chareg a thwll oedd yr oll ag yr oedd yr hen bobl dduwiol dda gynt yn ymofyn fel gwasanaeth a phregeth, a ffregod i gyd.

*Dai.* Ië, digon gwir, Ned bach i; yn ein hamser ni gynt—dywed hanner can mlynedd yn ol, ond y mae yr oes yn myned ym mlaen o hyd, weli di—yn fwy goleu yn y pen, yn fwy dyfuddysg mewn gwybodaeth, yn fwy coeth mewn chwaeth, yn fwy boneddigaidd a *refined* mewn moes, dull, a gwedd; ac wedi canfod nad yw pob math o ffregod o weddi o'r frest yn wastad yn hollol ddiogel a diberygl. Ac yn wir, Ned, gwrando ar yr hyn yr wyf yn ddywedyd wrthyt, fe fuasai eu hanner hwynt cyn hyn mewn gwlad lle nad oes gweddïo yn bod ynddi, pe bai Duw wedi ateb eu gweddïau hwynt; canys clywais son am un yn gweddïo yn y modd hyn, "Brenin y dychryniadau, rho dro i'n plith ni yma heno, a hwnw yn dro nerthol;" a chyda bod yr ymadrodd ammhriodol hollol hwn allan o'i eneu, dyma "Amen ac amen," ac "ïe, yn wir, ïe, yn wir" yn dyfod allan o eneuau dau neu dri dwsin o wŷr a gwragedd, fel cawod o gesair, nes gwefreiddio yr holl dorf i gyd; a pheth, gofynaf, pe bai "Angeu, brenin y dychryniadau," yn dyfod i'w plith yn ei rwysg a'i rym, â'i bladur awchlym yn ei law i'w tori i lawr bob copa walltog o honynt; beth fuasai canlyniad a thynged y cyfryw anwybodusion a hyn? Bernwch chwi

farn gywir, fy narllenwyr anwyl i. Chwi a welwch ym mhellach taw nid doeth a diogel yw gosod dynion anfedrus ac anwybodus fel hyn i weddïo yn gyhoeddus: y mae perygl yna yn wir. A thrachefn, pan yn gweddïo, fe ddylai fod yr holl gynnulleidfa yn cydweddïo â'r gweddïwr, neu ddim. Ond pa fodd, gofynaf eto, y gallant gydweddio â'r gweddïwr, gan a phan na wyddant yn y byd mawr pa arch neu erfyniad y mae'r gweddïwr yn myned i ofyn gan y Duw mawr? Nis gallant, meddaf fi. Ni ddylai fod ond un gwrandäwr gweddi ym mhob oedfa, sef yr Hwn sydd wedi cyfenwi ei hun felly cyn hyn, megys ag yr ydym yn dymuno lawer gwaith wrth weddïo fel hyn: "Na fydded fod yr un gwrandäwr gweddi yn yr oedfa hon ond dy Hunan mawr yn unig." Am y rhai hyny o'r Ymneillduwyr nad ydynt wedi mabwysiadu ac yn defnyddio ffurfwasanaeth, y maent oll, ond y gweddïwr ei hunan, yn wrandawyr ac nid yn gydweddïwyr. Ond diolch byth, meddaf fi, am Wasanaeth Eglwys Lloegr, trwy ba un y gall yr holl gynnulleidfa wybod ym mlaen llaw, o ddechreu y Gwasanaeth i'w ddiwedd, bob arch a dymuniad mae yr offeiriad a hwythau yn myned i ofyn gan eu Crëwr bendigedig; ac felly gydweddïo am bob arch ac erfyniad, ac nid cael eu gadael yn y tywyllwch dudew a chaddugawl yng nghylch hyny, fel y gwna yr Ymneillduwyr a'r Pabyddion â'u cynnulleidfaoedd hwynt; canys mae gwasanaeth yr olaf yn yr iaith Lladin—iaith annealladwy ac estronol hollol i'r mwyafrif ddigon o'r addolwyr; ac yn yr ystyr yma mae y ddau (Ymneillduwyr a Phabyddion) ar yr un tir, ac yn yr un lle gyda golwg ar hyn; ac nid rhyfedd yn y byd eu bod felly; for "Birds of a feather flock together;" neu "Adar o'r unlliw a dyrant i'r unlle." Ië, "Brodyr o'r un bru ydynt."

*Ned.* Yr wyf yn cydsynied yn unfryd unfarn a thydi, Dai anwyl i, yng nghylch yr hyn oll a ddywedaist ti am y ffurfwasanaeth, ond o ba le y maent hwy, yn enw pob daioni, wedi cael y ffurf hòno yw'r cwestiwn? Myn cebyst i, ni wn i, Dai, os gwyddost ti dy hunan.

*Dai.* Mi a hysbysaf i ti, Ned, mewn cyfrinach, neu in confidence, the important fact and sacred secret, which must not be divulged by either you or me, taw o'r Llyfr Gweddi Gyffredin y maent hwy wedi ei chael.

*Ned.* Dal dy dafod, Dai; shut up shop, Dai; no mor falsehoods, Dai; yes, no more lies, Dai; onid e, upon my word and honour, I shall fly this time into such a fit of hot temper and fiery passion, that you can never in your long life prepare and dispense an antidote of the coldest ice from the North Pole that will cool it, as you did the last time; canys yr ydwyf yn ystyried fod defnyddio unrhyw fath o ffurfwasanaeth yn ddigon o efelychiad a dilyniad o ddull ac arfer ein Heglwys ni; ond defnyddio rhan neu ranau o'i Gwasanaeth hi sydd yn ormodol i unrhyw fod rhesymol a synwyrol i'w gredu.

*Dai.* Y peth yr wyf fi yn ymdraethu sydd mor wir ag i'r haul fachludo neithiwr yn y Gorllewin ger y lli, a chodi y boreu heddyw yn y Dwyrain dirion draw. Ac i'r dyben o'th argyhoeddi di, Ned, *in toto*, yng nghylch Newman Hall, yr ydwyf yn dy gyfeirio di at "Fugeiliaid y Banau" yn yr HAUL diweddaf, lle y tystiolaethai Hywel fel hyn,—"Y mae y rhan fwyaf o'r Sectau yn credu yr un athrawiaeth ag Eglwys Lloegr; benthycasant eu credoau o ffurfwasanaeth yr Eglwys, ac y mae yr Ymneillduwyr mwyaf goleuedig, megys Newman Hall, yn defnyddio Gwasanaeth yr Eglwys; ac nid yw yn beth tebyg y buasai i'r Parch. Newman Hall ei ddefnyddio os yw yn gyfeiliornus. Nid oes neb ond dynion cul, main, crebachlyd, ac

anwybodus, yn condemnio ac yn collfarnu ffurfwasanaeth." Ac am Mr. Thomas, Stockwell, yr ydwyf wedi gweled a darllen fy hunan ei lyfr o ffurfwasanaeth, ac y mae wedi dyfynu rhanau helaeth iawn o'r Foreuol a'r Brydnawnol Weddi, a'r Litani *in extenso*, ac nid rhyfedd yn wirionedd anwyl innau fach i, canys y mae yr oll o hono yn ardderchog a gogoneddus dros ben—wedi ei sylfaenu ar y Beibl, a'r rhan fwyaf o hono o'r Beibl, fel y gellir dywedyd fel ag y dywedodd un o weinidogion duwiolaf yr Ymneillduwyr, "taw y llyfr nesaf at y Beibl ydyw." Ond y mae rhai rhanau o hono yn rhagori ar y lleill fel mae yr haul ar y lleuad, a'r lleuad hithau ar y ser siriol sydd yn ein sirioli ni.

*Ned.* Pa ranau o hono wyt ti, Dai, yn ystyried felly?

*Dai*, Mi a ddywedaf wrthyt mor bell ag y mae fy marn ddiragfarn i yn myned, a "rhydd i bob meddwl ei farn, ac i bob barn ei llafar," neu "*Quot homines tot sententiæ*," neu "ym mhob pen mae piniwn." Yn gyntaf "*Te Deum Laudamus*," sef "Ti Dduw a folwn: ti a gydnabyddwn yn Arglwydd," ac felly yn y blaen hyd y diwedd. *Vide in loco.* Yn ail, "*Benedicite, omnia opera Domini*," sef "Chwychwi, holl weithredoedd yr Arglwydd, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a mawrhëwch Ef yn dragywydd," ac felly yn y blaen hyd y diwedd. *Vide.* Yn drydydd, y Diolch Cyffredinol i gyd, ond yn enwedig y rhan hòno o hono, sef "Ni a'th fendithiwn am ein creadigaeth, am ein cadwedigaeth, ac am holl fendithion y bywyd hwn; eithr uwch law pob dim, am dy anfeidrol gariad ym mhrynedigaeth y byd trwy ein Harglwydd Iesu Grist; am foddion gras, ac am obaith gogoniant." Yn bedwerydd, y rhan hono o Wasanaeth y Cymmun: "Gan hyny, gydag angylion ac archangylion, a chyda holl gwmpeini nef y molianwn ac y mawrhäwn dy ogoneddus enw; gan dy foliannu yn wastad, a dywedyd Sanct, sanct, sanct, Arglwydd Dduw y lluoedd; nef a daiar sydd yn llawn o'th ogoniant: Gogoniant a fo i ti, O Arglwydd Goruchaf. Amen." Yn bummed, pa beth a ddywedaf fi am y Litani efengylaidd a nefolaidd o'r dechreu i'r diwedd, ac yn arbenigol a neillduol am y rhan hòno ag sydd yn crybwyll am enedigaeth, bywyd, dyoddefaint, marwolaeth, &c., yr Arglwydd Iesu Grist fel hyn, "Trwy ddirgelwch dy lân gnawdoliaeth; trwy dy sanctaidd enedigaeth, a'th enwaediad; trwy dy fedydd, dy. ympryd, a'th brofedigaeth?" Ac O! pa beth a ddywedaf fi am y rhan hòno ag sydd megys sylfaen yn yr adeilad —carreg glo yn y bont—haul yn y ffurfafen, ac enaid yn y corff, a dyma hi, "Trwy dy ddirfawr ing, a'th chwys gwaedlyd; trwy dy grog a'th ddyoddefaint; trwy dy werthfawr ingau a'th gladdedigaeth; trwy dy anrhydeddus adgyfodiad a'th esgyniad; a thrwy ddyfodiad yr Ysbryd Glân."

*Ned.* Ni feddyliais, ïe, ni freuddwydiais i erioed, Dai anwyl i, fod y fath ddarnau barddonol, Ysgrythyrol, duwinyddol, ïe, gallaf fentro dyweyd dwyfol, yn perthyn i'r Llyfr Gweddi. Naddo yn wir.

*Dai.* O, oes y mae, Ned bach i; ac a wyt ti a llawer o ddarllenwyr yr HAUL yn gwybod taw wrth waith yr hen Rowlands o Langeitho gynt, yn ei ddull melusber, tanllyd. treiddiol, a dylanwadol ef yn darllen y Litani, ac yn enwedig y rhan hòno yng nghylch ei chwys gwaedlyd yn yr ardd; ei ddyoddefiadau annyoddefol ar bren; ei angeu ingawl a'i loes; ei gladdedigaeth parchus; ei adgyfodiad anrhydeddus; ei esgyniad gorfoleddus, a thywalltiad o'i Lân Ysbryd; ïe, meddaf, trwy ddarllen yr athrawiaethau iachusol uchod y torodd y diwygiad mawr fel tân gwyllt allan gynt ym mhlith y Methodistiaid yn Llangeitho; ac wrth feddwl a chofio

am hyn oll, pa dafod, gofynaf, a ddystawa, a pha galon na thodda, fel ag y canodd yr hen fardd Cymreig gynt:—

"Wrth gofio'i ruddfanau'n yr ardd,
A'i chwys fel defnynau o waed;
Aredig ar gefn mor hardd,
A'i daro â chieddyf ei Dad:
Ei arwain i Galfari fryn,
A'i hoelio ar groesbren o'i fodd,
Pa dafod all dewi am hyn?
Pa galon mor galed na thodd?"

*Ned* Na wyddwn i yn wir i ti, Dai anwyl i, ac yr wyf yn beiddio dyweyd na ddylai yr un enwad, llawer llai y Methodistiaid, fod yn groes i'r Llyfr Gweddi Gyffredin, ac yn neillduol y Litani.

*Dai.* Yr ydwyf, wrth derfynu y llith hirfaith hon, yn rhoddi i'r Ymneillduwyr o bob enwad yr un cynghor a roddodd Ioseph gynt i'w frodyr wrth eu danfon o'r Aipht i Ganaan, "Nac ymrysonwch ar y ffordd;" a'r cynghor hwn o eiddo yr enwog Dr. Griffiths o Landeilo, yn arbenigol ac yn darawiadol i'r Methodistiaid Calfinaidd, "Na phoerwch yng ngwyneb eich Mam."

SYLWEDYDD SALA' YDYW.

---

## CYNHWRF Y DYDD.

WEDI i'r Etholiad Cyffredinol diweddaf, megys ton fawr sydyn annysgwyliadwy, olchi Mr. Gladstone, ei edmygwyr, a'i ganlynwyr dros y bwrdd, y maent wedi bod yn ymgrafangu am bobpeth tebyg o'i galluogi i gael ail afael ar lestr y Weinyddiaeth a llyw y Wladwriaeth; ac hyd yn hyn wedi cael gwaith mawr i gadw rhywfaint o'u hen boblogrwydd yn fyw. Yr oedd ganddynt obaith cryf unwaith y byddai i gyfrifon cyhoeddus y deyrnas y llynedd brofi mawr wastraff y Weinyddiaeth Geidwadol, a'i hanfedrusrwydd i drin "arian y wlad," ac felly ei gorchfygu yn Nhy y Cyffredin; ond troes eu dysgwyliad yn siomedig chwerw iddynt. Wedi hyny buont yn dadleu, yn enwedig drwy y Wasg, nad oedd gan Mr. Disraeli a'i gydweinidogion ddim "diwygiadau" digon pwysig a thrwyadl i gyfiawnhau eu gwaith yn dal awenau y Llywodraeth; yn deilwng o ymddiried y genedl a'r wlad. Yna bu Mr. Gladstone a'i gynffon Radicalaidd yn ceisio cynhyrfu nef a daiar i ddychryn mawr cyffredinol, yn y Ty ac allan, o herwydd y cynnygiad o roddi i'r Frenines y teitl o Ymherodres India, yr hyn oedd yn sylweddol eisoes. Haerent y byddai i'r canlyniadau mwyaf peryglus i ryddid Lloegr, yn gystal ag India, dyfu allan o'r teitl hwn; na wyddai neb pa dra-arglwyddiaeth a chaethiwed gwladol a moesol. Ond, er i'r mynydd fygu a chynhyrfu gan wewyr, nid esgorodd ar gymmaint a llygoden. Pa beth oedd i'w wneyd? Nid oedd dim i'w gael yn erbyn y Weinyddiaeth o fewn holl gylch yr Ymherodraeth fawr hon. Ond yn hapus iawn i'w gwrthwynebwyr. bu dygwydd yn y cyfamser i ryw fileiniaid o Fahometiaid milwraidd gyflawnu creulonderau annynol acerchyll mor ddiarwybod i Mr. Gladstone, Bright, Richard & Co., ag i'r Prifweinidog. A dyma hi yn "wchw" fawr yn erbyn Llywodraeth y Frenines, o herwydd ei hanwybodaeth swyddol, a'i hanallu i rwystro y fath gyflafan gymmeryd lle yn nhiriogaeth annibynol Twrci. Ac mae yn amlwg oddi wrth yr areithiau fflamllyd sydd yn ennyn calonau y torfëydd digofus, o Blackheath i Aberdâr, fod y Weinyddiaeth bresennol wedi profi ei hun yn gwbl analluog i gyfarfod yr achlysur mawr hwn, gan nad oeddynt yn gwybod ym mlaen llaw, fel y dylasent, fod y Diafol yn bwriadu cynhyrfu y lleiddiaid hyny i gyflawnu y fath greulonderau erchyll yn Bulgario, a'r taleithiau gwrthryfelgar ereill. O na fuasai rhagwybodaeth a chraffder Gladstonaidd wrth y llyw. Buasai efe wedi hysbysu y wlad cyn i'r galanas gymmeryd lle, neu wedi diweinio ei gleddyf a'i hogi yn ddaufiniog i ddial y gyflafan, ac i dori

Tad-cu grandfather

enw y Twrc allan o Ewrop. Ië, y mae yn cyffesu y rhan boblogaidd a gymmerodd efe yng nghyhoeddiad Rhyfel y Crimea, lle, o ddrwgdybiaeth ac eiddigedd poblogaidd y wlad hon a'i chynghreirwyr, yr aberthwyd mil o filoedd o fywydau, yn ol cyfrif Mr. Kingslake, hanesydd y rhyfel hwnw, heb law arian ac eiddo nas gall neb gyfrif; a hyny, cofiwch, yn achos Twrci. Ym mrwydr Alma, Medi 20fed, 1854, collodd y Cynghreirwyr yn unig 3400 o wŷr lladdedig ac archolledig; yn Inkerman, 2000; yn y rhuthr ar Malakoff a'r Redan, 3000. Ar ddiwedd y gwarchae cyfrifwyd fod 24,000 o wŷr Lloegr, heb son am Ffrainc, wedi syrthio ar yr crynys hòno ar y draul o ugeiniau (nag e cannoedd) o fyrddiynau o arian y wlad hon; a'r cwbl ar gamsynied dibwyll "y wlad." Pell iawn ydym oddi wrth gyfiawnhau y creulonderau a gyflawnwyd, a pharod iawn ydym i gydsynio â phob ymgais i'w hattal yn heddychol rhag llaw. Gŵyr ein holl ddarllenwyr deallus am wendid y llywodraeth Ottomanaidd i attal i'r cyfryw bethau dori allan yn achlysurol, yn Ewrop yn gystal ag yn Twrci yn Asia; a bod y gwendid llywodraethol hwnw yn tarddu o'r ffaith fod y deiliaid nifeiriol yn gynnwysedig o Fahometiaid a Christionogion, rhwng pa rai y mae gelyniaeth oesol a threftadol yn mudlosgi, yn barod i dori allan yn fflam ar unrhyw gynhyrfiad. A pheth ofnadwy a fyddai gwneyd rhyfel cyffredinol rhyngddynt, drwy ymgais ar ein rhan ni i "ddilëu enw y Twrc allan o Ewrop." Nid yw yr Ymherodraeth nychlyd ond yn aros ei hamser.

---

## HANES LLOFRUDDIAD WILLIAM POWELL, YSW., GLANARAETH, SIR GAERFYRDDIN, YN 1770.

Mae hanes llofruddiaeth Mr. Johnes, Dolau Cothi, yn adnabyddus i bawb o'n darllenwyr, yr hwn a hyrddwyd i fyd arall yn ddirybudd gan ei was Gwyddelig, Henry Tremble. Y mae y gyflafan a gyflawnwyd yn Nolau Cothi yn bur debyg i'r llofruddiaeth a gyflawnwyd gan mlynedd yn ol yn Glanaraeth, ar berson Mr. William Powell, yr hwn, yn ol haeriad disail y papyrau Seisonig, oedd yn dadcu i Mr. Johnes. Nid oedd dim un perthynas rhyngddynt: tadcu Mr. Johnes oedd Mr. Hector Rees o Gwrt Pembre. Ymddangosodd yr hanes ar y pryd mewn amryw bamphledau Seisonig. Gan fod cymmaint o ddyddordeb yn cael ei gymmeryd yn achos torcalonus Mr. Johnes, bydd yn foddhaol i lawer weled hanes cyflawn o gyflafan Glanaraeth, am yr hwn ni ŵyr nemawr o'r to presennol ddim am dano. Dywed croniclwr yr hanes na chyflawnwyd y fath lofruddiaeth ym Mhrydain a llofruddiaeth Glanaraeth. Fel rhagarweiniad i'r hanes, dywed yr ysgrifenwr yn y flwyddyn hòno fod y llofruddiaeth yn un o'r mwyaf mileinig a gyflawnwyd erioed. Y mae yn ymddangos nad oedd Powell a'i wraig yn cytuno, ond nid oes un eglurhâd boddhaol wedi cael ei roddi o'r achos. Y mae un peth yn amlwg, fod un William Williams, llieinydd yn Llanymddyfri, yn casäu Mr. Powell, ac yn gyfaill i Mrs. Powell, yr hon oedd wedi ymadael â'i gwr. Ym mis Awst, 1768, aeth Williams, a Mrs. Powell, a'i phlant i Lundain. Appeliodd Mr. Powell at Lys y Brenin er cael ei blant dan ei ofal. Cynghorodd y Llys ef i roddi can punt y flwyddyn iddi. Yr amser yma cyfarfu Williams a Mrs. Powell â'u gilydd amryw weithiau, a phenderfynodd ei hun, neu ynte ar gais Mrs. Powell, i ladd ei gwr, a chyflogodd fyntai o hurlofruddion i'r perwyl.

Ar ddydd Llun, yr 8fed o Ionawr, 1770, yn union ar ol llofruddio Mr. Powell, anfonwyd cenad i Landeilo i anfon am Mr. Protheroe, y meddyg: pan gyrhaeddodd y meddyg

Glanaraeth cafodd Mr. Powell yn ei eistedd wrth gefn drws y parlwr yn hollol farw. Wedi iddo wneyd ymchwiliad, cafodd ei fod wedi derbyn clwyfau a brathiadau, a saith yn farwol. Yr oedd ei drwyn wedi cael ei dori ymaith a hirfys ei law aswy wedi cael ei dori trwy'r asgwrn. Boreu dranoeth daeth Mr. Pogson a chymmydogion ereill i Glanaraeth, a gwelsant ol traed amryw ddynion yn yr eira yn dyfod ac yn myned o dy Mr. Powell; mesurodd rhai o'r cwmni ol y traed; sylwent ar un yn neillduol; yr oedd pump o hoelion llydain o'r tu allan i'r sodlau, a chanlynasant y gwaed at dy un Charles Dafydd Morgan. Dranoeth cynnaliodd y crowner drengholiad ar y corff yn Glanaraeth, a pharhaodd ddau ddiwrnod. Anfonwyd am Charles Dafydd Morgan y diwrnod cyntaf, er cael ei holi a wyddai ef am y llofruddiaeth, am fod y gwaed mor agos i'w dy, ond gwadodd; gollyngwyd ef yn rhydd y diwrnod cyntaf, a gorchymmynodd y crowner iddo ef a'i wraig ddyfod yno dranoeth, ond ni chawsant eu holi. Gohiriwyd yr ymchwiliad i Landeilo Fawr, a pharhaodd ddau ddiwrnod. Gwysiwyd hwy dydd Gwener drachefn a holwyd hwynt, ond gwadwyd y cwbl. Yr oedd esgidiau Charles Dafydd Morgan yn ateb i'r nod yn yr eira, ac ar y tir yna, cafodd ei anfon gan y crowner i garchar Caerfyrddin. Gohiriwyd yr ymchwiliad o Landeilo i Langadog, a pharhaodd un diwrnod, a dygodd y rheithwyr eu dyfarniad o lofruddiaeth gwirfoddol yn erbyn rhyw berson neu bersonau anadnabyddus. Yn ystod ei garchariad cyntaf, derbyniodd George Phillips, Ysw., Coedgain, gyffesiad cyntaf Morgan; cyhuddodd amryw o'i gydlofruddion ar y cyffesiad hwn. Ymunodd boneddigion "Helfa y got las" i ddal y lleill: Syr William Mansell, Barwnig, Bridstock, Ysw.; Walter Rice, Ysw.; Henry Davies, Ysw.; Mainwaring Howarth, Ysw.; Thomas Evans Ieuaf Aberlash, boneddwr; Thomas Jones, boneddwr; Mr. William Pogson, a'r Parchedig Thomas Lewis, Gwynfe, ac ereill. Ar ddydd Llun, y 15fed, cymmerodd Mr. Lewis Dafydd Llewelyn yn garcharor yn ei dy ei hun ym Myddfai, o flaen Dafydd Llwyd a Dafydd Edwards, Ysweiniaid a phenswyddogion, ac a wnaeth y cyffesiad canlynol i Mr. Lewis: "Holiad gwirfoddol o blwyf Myddfai; ffermwr a gymmerwyd ger ein bron ni, David Lloyd, Ysw., a David Edwards, Ysw., dau o Ynadon Heddcwh ei Fawrhydi, yn a thros sir Gaerfyrddin, ar y 16fed o Ionawr, 1770, fel y canlyn:—'Dywed yr arholedig hwn ei fod yn ddeiliad i William Williams o dref Llanymddyfri, yn sir Gaerfyrddin, llienydd, ac yn dal fferm dano ym mhlwyf Myddfai am 16*p.* y flwyddyn. Dywed, ar ddydd Sul cyn y ffair a gynnaliwyd yn Llandeilo, yn y sir hòno, a elwir Ffair Nadolig, yn y flwyddyn 1769, i William Williams anfon am dano, a dyfod i'w dy ef er cael siarad â'u gilydd; yn unol â'i gais, aeth Dafydd Llewelyn. Cyrhaeddodd Dafydd Llewelyn Llanymddyfri tuag un ar ddeg o'r gloch yn y boreu, ac aeth i dy ei feistr. Cymmerodd yr olaf ef i'r parlwr, a gofynodd iddo a wnelai efe yr hyn oedd ef yn myned i ofyn iddo; atebodd Llewelyn y gwnai os gallai. Ar hyn dywedodd y dywededig William Williams wrtho fod ganddo *writ* ar William Powell, Glanaraeth, yn sir Gaerfyrddin, boneddwr, a bod yn rhaid iddo gael cymhorth Llewelyn i'w ddal. Yn unol â hyn aeth Llewelyn, yng nghyd â William Walter Evan, o blwyf Llangadog; rhydd-ddeiliad John Isaac o'r un lle eto; William Bach o dref Llanymddyfri, beili; William Morris o'r un lle, cyfrwywr; a William Spiggot o'r un lle, eilliwr, fyned o amgylch y dref tuag un ar ddeg o'r gloch dydd Sul rhagddywededig i dy un Charles Dafydd Morgan, ym mhlwyf Llangadog, amaethwr.

yn ol cyfarwyddyd y dywededig William Williams, er aros yno hyd doriad y dydd, ac iddo ef a'i gyfeillion aros yno hyd foreu dydd Llun, pan aethant oll gyda William Charles, mab i'r dywededig Charles Morgan (yr oedd ef oddi cartref) â'r *writ* i ddal y dywededig William Powell, yr hon oedd William Walter yn ddal neu yn honi ei fod yn ei dal ar gorff William Powell, am fod Dafydd Llewelyn yn analluog i ddarllen, nis gallai ddywedyd. Pan aethant i Glanaraeth, cyfarfuasant â John Williams, yr hwn oedd yn byw gyda William Powell, yn agos i ddrws cefn ty William Powell. Gofynasant iddo a oedd William Powell gartref; atebodd ei fod, ond ei fod heb godi; ar hyn ymadawoddd yr addefydd a'i gwmni. Y diwrnod canlynol aeth Llewelyn i Lanymddyfri i roddi yr hanes i William Williams, ei fod heb ei ddal. Aeth Williams i natur ddrwg, a thyngodd y gallasent wneyd eu gwaith cyn hyn, cawsant lawer siawns. "Myn Duw, os na wnewch chwi fel yr wyf yn dywedyd, mi a'ch dinystriaf, a lladdaf chwi." Anfonodd William Williams am dano i Lanymddyfri ar ddydd Gwener, y 5med o Ionawr presennol, i ddyfod i Lanymddyfri dydd Sul canlynol. Yn ol y gorchymmyn aeth Llewelyn i Lanymddyfri. Cyrhaeddodd y *Bear* tuag awr o'r nos. Ar ol galw am beint o gwrw a'i yfed, gorchymmynwyd iddo fyned i lofft y tafarn dywededig, lle y cyfarfyddodd â William Williams, John Isaac, Dafydd Morgan, tincer, a Watt y tincer; tuag awr ar ol hyn daeth y dywededig William Spiggot, William Morris, a William Bach, Charles Dafydd Morgan, a William Walter Evan i ystafell y tafarn dywededig, a chytunwyd yn y man a'r lle iddynt fyned y noswaith hòno i dy Charles Dafydd Morgan. Teithiodd Dafydd Llewelyn, William Williams, John Isaac, William Bach, Dafydd Morgan, Walter y tincer, William Walter Evan, a Charles Dafydd Morgan ar eu traed o Lanymddyfri tua deg o'r gloch yn y nos, a hwy a arosasant yn nhy yr olaf y diwrnod canlynol. Dydd Llun, yr 8fed o'r mis, yn yr hwyr, daeth William Spiggot, William Morris, Morgan James i dy Charles Dafydd Morgan, lle darfu iddynt dduo eu gwynebau, a dyeithrio eu hunain, ac aethant oddi yno gyda Charles Dafydd Morgan, a William ei fab, tua thy William Powell, yn agos i dy Llwyn y Mondu. Ymunodd John Spiggot â hwy, ac a aethant oddi yno gyda eu gilydd i ymyl perth gardd William Powell; yno gwisgodd y dywededig William Williams grys garw dros ei ddillad, a William Spiggot, a duasant eu gwynebau â chorcyn. Aethant i'r ty tua chwech o'r gloch o'r nos y diwrnod dywededig i ddrws y cefn, a churodd y dywededig William Williams wrth y drws, yr hwn a agorwyd gan eneth fach. Ar hyn gwthiwyd Dafydd Llewelyn i mewn gan William Williams, a rhuthrodd Llewelyn. William Williams, William Spiggot i'r parlwr, a gafaelodd Llewelyn yn William Powell yn ei frest â'i law ddeheu, ac yn dal cyllell yn ei law arall, ond ni tharawodd y dywededig William Powell â hi, ond gwthiodd y dywededig William Williams gleddyf i gorff William Powell. Ciliodd Llewelyn i'r *passage*, gan adael y dywededig William Spiggot â chleddyf yn ei law, gyda William Williams, ond nis gallai ddywedyd faint ddarfu iddynt ei glwyfo; yr oedd ef yn y *passage* mewn dychryn a dyryswch, ac aeth allan. Yr oedd William Williams yn bostio iddo ladd William Powell, ac yr oedd yn cyhuddo yr addefwr â lwfrdra, a churodd ef yn erwin a ffon dderw. Ar ol hyn aeth y cwmni oll i dy Charles Dafydd Morgan, ac oddi yno aethant oll, fel yr oedd ef yn credu, i'w gwahanol gartrefi.

"(Arwyddwyd) David Llewelyn.

"Derbyniwyd y dydd a'r flwyddyn ddywededig,

Dafydd Llwyd,
Dafydd Edwards."

Cymmerwyd William a John Spiggot yn garcharorion yr un diwrnod, y cyntaf yn Llanymddyfri, a'r llall yn Glantowy, a chawsant eu traddodi i garchar Caerfyrddin gan Syr William Mansell, a Mr. Howarth. Anfonodd Mr. Pogson air at Syr William Mansell, a'r canlyniad fu i William Thomas a William Morris gael eu gosod mewn dalfa. Cymmerwyd William Morris ar ddydd Llun, y 15med, a holwyd ef o flaen William Lloyd, Ysw., Dan yr Allt; gollyngwyd hwy yn rhydd, ac ailgymmerwyd hwy dranoeth, a chawsant eu holi o flaen yr un ynad; a gollyngwyd hwynt yn rhydd eilwaith. Cymmerwyd Walter Evan yn garcharor ym Merthyr Tydfil (? Merthyr Cynog), sir Frycheiniog, a holwyd ef o flaen Richard Jeffreys, Ysw., a Charles Lloyd, clerk, a thraddodwyd ef i garchar Aberhonddu ar ddydd Mercher, y 18fed. Cymmerwyd Wil Watt Evan a John Isaac yn Draynfun-dhu (? Draen Llwyn Du), sir Aberteifi, ar ddydd Llun, y 22fed, gan Syr William Mansell, yr hwn a'u traddododd i garchar Caerfyrddin, pan wnaeth Wil Watt Evan y cyffesiad canlynol:—

"Holiad gwirfoddol William Walter Evan, o blwyf Llangadog, sir Gaerfyrddin, rhydd-ddeiliad, a gymmerwyd Ion. 16fed, yn Llandeilo, ym mlwyddyn ein Harglwydd 1770, o flaen Thomas Evans, crowner ei Fawrhydi y Brenin. 'Dywed y tyst hwn iddo ef a William Williams o dref Llanymddyfri, llieinydd; William Spiggot o'r un lle, eilliwr; John Spiggot, rhydd-ddeiliad; a William Thomas o'r un lle, beili; John Isaac o Langadog, rhydd-ddeiliad; Charles Dafydd Morgan o'r un lle, ffermwr; Morgan James, diweddar o Landeilo, *pedler;* Dafydd Morgan neu Lacey, tincer, o blwyf Llilwel (? Llywel), yn sir Frycheiniog, tincer, ymgyfarfod yng nghyd ar ddydd Llun, Ion. 8fed, ym mhlwyf Llangadog, ac iddynt, tua chwech o'r gloch yr hwyr yr un diwrnod, fyned at borth yr ardd, ger llaw ty William Powell, Glanaraeth, ym mhlwyf Llangadog, a'u gwynebau wedi eu duo, ac wedi ymddyeithrio i dy y trengedig gyda'r penderfyniad o'i ladd, yn ol y cytundeb a wnawd ym mlaen llaw. Ar ol curo wrth y drws, yr hwn a agorwyd gan ferch fach, gwthiodd Dafydd Llewelyn, William Williams, William Spiggot, John Spiggot, William Morris, William Thomas, Dafydd Morgan neu Lacey, a Walter, y tincer, mewn i'r ty; nid oedd y cyhuddedig yn gwybod pu'n o honynt wnaeth ladd William Powell. Nid oedd y dywededig John Isaac, C. Dafydd Morgan, W. Clark yn y ty; yr oeddynt allan yn yr ardd yn gwylio. Ar ol i'r personau dywededig ddyfod allan o'r ty, William Williams, William Spiggot, John Spiggot, William Morris, Dafydd Morgan, Dafydd Llewelyn, bostiasant iddynt ladd William Powell, a buasai iddynt dalu am gymmaint o fara a wnai ef fwyta. Ar ol cyflawnu y weithred, aeth y cyhuddedig hwn, a deuddeg ereill, i dy Charles Dafydd Morgan, o ba le yr aethant i Glanaraeth awr a hanner cyn hyny, oddi gerth John Spiggot, yr hwn a ymunodd â hwy ar y ffordd; ac oddi yno darfu iddynt ymadael.

"Cymmerwyd o fy mlaen i, Thomas Evans, crowner."

Cyffesiad helaethach William Walter Evan, yr hwn a gymmerwyd ar y 22fed o Ion., 1770. "Dywed y cyhuddiedig hwn i William Williams ei anfon ef o dy Charles Dafydd Morgan i dref Llandeilo, i gyrchu gwerth pedwar swllt o gwrw, a gorchymmynodd iddo ddywedyd wrth Morgan James y *pedler* am iddo ddyfod ato ef i dy Charles Dafydd Morgan mewn perthynas i fusnes na

wyr ef am dani; ac ar ei ffordd i Landeilo, yn agos i Dregib, dywedodd ei neges wrth Morgan James, yr hwn a amneidiodd ar y cyhuddedig hwn â'i fys am iddo fod yn ddystaw. Yr oedd person arall ger llaw. Ar ol hyny gofynodd i'r cyhuddedig hwn pa le yr oedd William Williams ar y pryd; atebodd y cyhuddedig hwn, yn nhy Charles Dafydd Morgan. Tystiodd Morgan James y buasai iddo fyned, ac fe aeth. Dywed y cyhuddedig hwn iddo weled Morgan James gyda William Williams yn nhy Charles Dafydd Morgan o flaen ac ar ol llofruddiaeth William Powell, boneddwr, a'i wyneb wedi ei dduo, gyda saith ereill yn yr un modd, sef William Williams, William Spiggot, William Morris, Dafydd Llewelyn, William Thomas, *alias* Blink, Dafydd Morgan, tincer, Walter Evan neu Watt y tincer. Dywed ym mhellach pan ddaeth ef yn ol â'r cwrw i dy Charles Dafydd Morgan, gofynodd Williams iddo beth oedd yr achos ei fod mor hir; a dywedodd Charles Dafydd Morgan y gallasai efe ddyfod yn ol mewn dwyawr. Yn fuan daeth William, mab Charles Dafydd Morgan, i'r ty, a gofynodd y dywededig William Williams iddo a oedd William Powell gartref, ac ym mha ystafell yr oedd ef; atebodd yn yr *hall*, a dau neu dri o bersonau gydag ef. Gwaeddodd Williams nad oedd ef yn prisio pe buasai cant gyda Powell. Tarawodd ei law ar ysgwydd William Piggot. 'Yn awr, fechgyn, gadëwch i ni fod yn ffyddlawn i'n gilydd.' Gorchymmynodd i Dafydd Llewelyn fod ym mlaen, canys yr oedd ef yn ymddibynu ar Dafydd Llewelyn i gymmeryd gafael yn William Powell yn gyntaf. Dywedodd Llewelyn y buasai iddo wneyd yn ol cyfarwyddyd Williams. Dywed y cyhuddedig hwn ym mhellach fod pedwar heb ymddyeithrio: Charles Dafydd Morgan, a William ei fab, John Isaac, a'r cyhuddedig hwn. Yng nghyd â'r wyth a enwyd, aethant allan o dy Charles Dafydd Morgan, â'u gwynebau wedi duo i Glanaraeth, palas yr ymadawedig. Ymunodd John Spiggot â hwy ger llaw Llwyn Mondu, yn ymyl Glanaraeth. Pan gyrhaeddasant Glanaraeth, gwisgodd William Williams a William Spiggot *frocks* wagenwr dros eu dillad, a gofynasant i'r cyhuddedig a oedd ef yn eu hadnabod. Atebodd nas gallai oni buasai ei fod yn gwybod pwy oeddynt. Dywedodd William Williams y buasai iddynt ei adnabod pe buasai iddo wisgo ei *wig*. Naill ai efe a'i tynodd ymaith neu osod cadach drosti. Cylymodd y dywededig Dafydd Morgan gadach am ei ben i guddio ei wallt coch. Rhedodd y cyhuddedig hwn a deuddeg ereill gyda'u gilydd i'r ty. Yr amser yma dywedodd Dafydd Morgan wrth Williams os na wnai efe gyflawnu ei addewid, y buasai iddo ef wneyd yr un peth ag ef ag yr oedd ar fedr wneyd â Powell. Dywedodd Williams fod groesaw iddo wneyd hyny, ond na fyddai dim eisieu arno, y buasai iddo gymmeryd gofal am dano am ei oes. Gofynodd Williams i'r cyhuddedig hwn fyned i Glanaraeth i edrych a oedd y drysau yn agored; ac wedi iddo wrthod rhedasant ym mlaen i'r ty. Safodd y cyhuddedig, John Isaac, a John Spiggot yn yr ydlan; a Charles Dafydd Morgan a'i fab â llawddrylliau yn ochr perth yr ardd; ac i John Spiggot ddywedyd wrtho fod y dynion wedi myned i mewn, a rhedodd ymaith i'r ty. Clywodd William Williams, pan oeddynt yn dyfod yn ol o Glanaraeth, yn cyhuddo John Spiggot o fod yn llwfrgi, ac aeth ato i'w daro. Clywodd hwy yn dywedyd iddo weled y trengedig ar y llawr ar ei gefn, ac iddo ei drywanu â chledd dwca pan oedd i lawr; tyna yr oll a wnaeth. Pan oedd Williams yn ei ddamnio (Dafydd Llewelyn), dywedodd iddo addaw fod yn fwy penderfynol; dywedodd iddo afaelyd ym mrest y trengedig, ac iddo dynu ei gyllell ac iddo ei wanu

unwaith. Atebodd Williams, 'Fy machgen i, gan i chwi wneyd mor dda, ac yn ddeiliad i mi am *15p.* y flwyddyn, cewch y lle yn ddirent, a mi a roddaf i chwi iau o ychain, a chaseg wineu, yr hon oedd ym meddiant Llewelyn.' Ac i William Spiggot annelu llawddryll at William Powell, ac iddo ei roddi yng ngeneu Powell, ond iddo wrthod tanio. Ebai Williams, 'Yn enw'r Diafol, pa ham na fuasai i ti ei daro i lawr â'th ffon?' Ac iddo ei daflu i lawr, ac i Williams ddywedyd iddo ei dderbyn ar flaen ei gleddyf, ac iddo ei wanu trwyddo. Ac i Dafydd Morgan ei wanu yr un amser â chledd twca. Dywedodd Williams wrth Dafydd Morgan am wadu mai efe oedd y llofrudd os buasai iddynt ofyn iddo; ond mai un arall a'i lladdodd. Dywedodd Dafydd Morgan y gallai ef ymddibynu arno. Yr oedd Williams yn gwybod beth dyngodd ef yn Glansevin, ac y buasai iddo wneyd yr un peth yng Nghaerfyrddin. Ac i Williams ddywedyd na welodd ddyn erioed mor benderfynol; yr oedd Morgan mor benderfynol ag ef ei hun. Ym mhellach, dywed iddo glywed William Thomas, *alias Blink*, yn dywedyd wrthynt iddo sefyll ar drothwy Glanaraeth, a phan welodd y dynion yn syllu yn ei wyneb ceisiodd eu saethu, ond pallodd y gwn danio. Hefyd, William Morris, wedi duo ei wyneb ac yn gwisgo wig ddu fawr; clywodd ef yn addef iddo ollwng ergyd allan o lawddryll, a'i fod yn yr un ystafell a'r trengedig, a gwelodd Williams ar ei luniau dan y trengedig, ac iddo ei wthio ymaith. Ac iddo glywed Watcin Evan, *alias* Watt y tincer, yn dywedyd iddo daro un o'r bobl yn y ty, pan ollyngodd rhywun un allan; dywedodd Williams fod ysbryd cryf ganddynt i saethu pan oedd cynnifer yn y ty. Clywodd Williams yn dywedyd iddo ei wanu chwech neu saith gwaith, ac iddo glywed blaen y cleddyf yn taro asgwrn ei gefn; wedi hyny gwanodd ef o ochr i ochr, ac y buasai iddo ef dalu am gymmaint o fwyd a fwytäi y trengedig; ac nad oedd un achos i'r Cythraul, os oedd ef yn fyw, ofni cleddyfau. Sicrhaodd iddynt oll na fyddai dim eisieu arnynt; ac nid oedd ef yn ofni dim os na wnai un o honynt ddadguddio y gyfrinach; os buasai iddo gredu hyn buasai iddo a'i gyfeillion ei ladd. Gofynodd i'r cyhuddedig hwn, yr hwn oedd wedi bod yng ngwasanaeth William Powell, ei hen feistr, a oedd ef yn teimlo drosto; a bod y trengedig yn fasdardd ac yn lleidr. Atebodd nad oedd. Atebodd Williams, pe buasai ef yn credu ei fod yn teimlo drosto, ac yn debyg o ddadguddio y mater, y buasai iddo wneyd yr un fath ag ef a William Powell. Dangosodd Williams y dull oedd ef yn myned i'w wneyd. Y cyhuddedig oedd yr olaf i fyned i mewn i dy Charles Dafydd Morgan ar ol y llofruddiaeth; a gwelodd yno lestr a dwfr, a William Williams, William Spiggot, William Morris, Watt y tincer, William Thomas, Morgan James, Charles Dafydd Morgan, Dafydd Llewelyn, yn golchi eu dwylaw a'u gwynebau, a bod gwaed ar Williams. Cymmerodd William Spiggots a Dafydd Llewelyn eu *frocks*, a rhoisant y sypyn i William Thomas. Ar ol yfed y cwrw, aethant ymaith i'r Cwarter Bach, tir John Morgan Daniel, ym mhlwyf Llangadog, lle yr ymadawodd Morgan James, Dafydd Morgan, a Watt y tincer, ac aethant tua Thalsarn yn ol cyfarwydd Williams, a rhoddodd iddynt gini yr un. Dywedodd Williams wrthynt am ddyfod yn ol ym mhen wythnos, ac yr oeddynt i gael ychwaneg o arian. Aeth y lleill gyda'u gilydd hyd nes oeddynt yn agos i dy Dafydd Llewelyn, a rhododdd Williams naill ai tri, neu dri swllt a chwecheiniog, i brynu caws i'w plant. Aeth Llewelyn adref. Aeth y lleill ym mlaen i Penrock, lle gadawodd John Spiggot hwy, er myned yn ol

at ei feistr yn Glantowy. Yr oedd hi rhwng deg ac un ar ddeg o'r gloch o'r nos yn awr. Aeth y gweddill i Llwyn Jac, lle gorchymmynwyd i'r cyhuddedig fyned i Gefn Trenfa, anneddle Marmaduke Bowen, boneddwr, ym mhlwyf Cilcwm, i'w alw allan o'i wely heb oedi, a'i hysbysu fod Powell wedi ei lofruddio, am iddo fyned i gyfarfod Williams yn nhy ei frawd John Williams, neu ryw dy arall. Yr oedd Bowen i anfon cenad at Williams mor fuan ag y cyrhaeddai yno, a pheidio dyfod ei hun, er trefnu mesurau i gadw meddiannau y trengedig rhag cael eu hysbeilio, a pharotoi gyferbyn â'r angladd. Aeth John Isaac i Gefn Trenfa, a churodd wrth y drws, yr hwn a agorwyd gan Lewis Lloyd Bowen, mab i'r dywededig Mr. Bowen, tuag awr cyn dydd: gofynodd am ei dad, ac ar yr un pryd dywedodd fod ei ewythr, Powell, wedi cael ei ladd. Aeth y mab a John Isaac at ddrws ystafell wely ei dad, a galwodd ar Mr. Bowen i godi, yr hyn a wnaeth, ac agorodd y drws. Dywedodd wrtho am farwolaeth ei frawd yng nghyfraith a neges Williams. Gofynodd pwy ddarfu ei lofruddio: a dywedodd Isaac pa fodd y bu. Yr oedd Lewis Lloyd Bowen yn bresennol yr holl amser; ac i Mr. Bowen ddywedyd, 'Gogoniant i Dduw, mae y filain wedi myned: efe a boenodd lawer.' Dywedodd nad elai efe ei hun, ond anfonai ei fab, am ei fod yn fwy heinyf i gerdded i Lanymddyfri. Ac i'r dywededig Lewis Bowen fyned; ac i Williams ddywedyd wrtho am ddywedyd wrth Marmaduke Bowen am hysbysu i forwyn Williams fod John Isaac yn ei dy ef am chwech o'r gloch y noswaith flaenorol. Dychwelodd Lewis Lloyd Bowen i dy ei dad am naw o'r gloch yn y boreu gyda William Williams a John Williams ei frawd, lle darfu iddynt frecwasta. Yn ystod yr amses darfu iddynt drefnu mewn perthynas i'r angladd. Adroddwyd hanes y llofruddiaeth mor bell ag oedd ef (Isaac) yn deall. Yr oeddynt yn siarad Seisoneg, ac nid oedd ef yn deall yr iaith hòno. Dywed y cyhuddedig iddo aros yn nhy Mr. Bowen dydd Mawrth, y diwrnod ar ol y llofruddiaeth, nes oedd hi yn ddeg o'r gloch o'r nos. Pan ddaeth William Thomas yno, yr hwn a'i hysbysodd fod Williams wedi eu cyfeirio i fyned i Drayn-fun-dhu (Y Draen Llwyn Du), sir Aberteifi, rhag iddo gael ei gymmeryd mewn dalfa, yr oedd ef yn ofni y cyhuddedig hwn yn fwy na'r lleill, rhag y buasai iddo gyfaddef y cwbl. Arosodd yn Cefn Trenfa nes oedd hi yn awr cyn dydd boreu dydd Mercher, pan aeth John Isaac ac ef trwy Gilcwm i dy Magdalene Rhytherch, lle y darfu iddynt fwyta ac yfed. Arosasant yno am dair awr, ac aethant oddi yno i Drayn-fun-dhu, lle darfu iddynt aros nes iddynt gael eu cymmeryd.

"Nod X Will. Watt Evan.

"Ger fy mron i, William Mansell."

(*I'w barhau.*)

## BUGEILIAID EPPYNT.

*Ifor.* Boreu da i ti Idwal; sut yr wyt yn ymdaro'er ys tro hir?

*Idwal.* Yr wyf fi wedi bod yn gwrando darlithiau—darlithiau ar y Dadgyssylltiad, a phethau buddiol ereill. Mae'r byd yn myned rhagddo yn gyflym iawn. Melltith fawr yw Eglwys Wladol. Digon o ryddid sydd yn eisieu ar grefydd; hi ä ym mlaen dim ond cael digon o ryddid. Rhyddid, rhyddid, rhyddid am byth.

*Ifor.* Mae llawer o hen ddynion gweinion eu synwyrau yn gwaethygu fel y maent yn heneiddio; maent yn myned yn wallgofiaid hollol, yn neillduol os cânt rywbeth o natur benboeth i'w cynhyrfu. Yr wyt tithau yn myned yn gyflym iawn i dir gwallgofrwydd. Mae dy lygaid yn tystio dy fod wedi cael rhyw gainc gan dwymyn y Dadgyssylltiad.

*Llywelyn.* Mae Idwal yn llygad ei le gyda golwg ar ryddid. Dim ond rhyddid sydd eisieu ar grefydd. Yr ydym yn llwyddo o blegid ein rhyddid.

*Ifor.* Mae dy wyneb hir rhagrithiol a'th ddallineb moesol di yn llawn cymmaint a'r hen Phariseaid gynt. Oes, y mae genych chwi ryddid godidog yn wir. A glywaist ti am gapel yn ddiweddar, lle bu heddgeidwad yn cadw trefn yno?

*Llywelyn.* Na ddo fi; pa gapel oedd hwnw? mi glywais am un felly llynedd. ond dim eleni. Mae arnaf fi ofn fod dynion yn bradychu yr achos mawr.

*Ifor.* Mae y capel hwn yn sefyll ar lan afon fawr—afon tua thrigain milltir o hyd—afon yn dechreu ym Mynydd Ffair Rhos, ac yn aberu ym Morgilfach St. Sior. Capel enwog am ei ryfeloedd oedd hwn er ys oes neu ddwy; ond yn ddiweddar y mae wedi myned tu hwnt i ddim a fu. Yr oedd Rhyddid wedi gweithio mor bell ym mlaen yma fel yr oedd y gweinidog a rhan o'r gynnulleidfa wedi bod gledd yng nghledd er ys tro hir. Cadwai y gweinidog a'i blaid y capel mewn rhan am dro hir, gan bregethu yno bob yn ail â'r blaid arall. Gwedi ymgynghori â bargyfreithiwr o'r ardal, penderfynasant gadw meddiant o'r capel drwy nerth pastynau; ac yr oedd yno *boliceman* yn eistedd yn y côr mawr. Yr oedd y gweinidog yn barod i esgyn i'r pulpud, ond yr oedd dau ddyn gewynog anferthol eu maint yn ei rwystro i fyned i'r lan.

*Idwal.* Nid wyf yn deall yn iawn neges y *policeman.* Ef allai mai yno oedd lle addoliad y gwr a'r gôb las.

*Ifor.* Na, dyfod yno yn swyddogol wnaeth efe i gadw heddwch—i gadw y brodyr rhag lladd eu gilydd. Pe buasai y gweinidog yn esgyn, ac un neu ddau o swyddogion y grisiau yn ei rwystro, buasai yno ffrwgwd ofnadwy. Gwaith y *policeman* oedd bygwth y terfysgwyr, a chydio gafael yn y terfysgwyr.

*Sierlyn.* O, ïe, yr oedd pethau ym mhell ym mlaen yno mewn rhyddid. Yr oedd yno un dyn wedi agor ei gyllell yn barod i frathu os buasai plaid y gweinidog yn gwneyd rhywbeth, ond gan i'r *policeman* ddyfod yno yn brydlawn, arbedwyd tywallt gwaed yn y lle sanctaidd.

*Ifor.* Fachgen, yr oedd y rhyfel crefyddol hwn cynddrwg a'r *Crusades* pan oedd yr hen *Saracens* barbaraidd yn dwyn ym mlaen eu herchyllderau.

*Sierlyn.* Llawn cynddrwg bob dim. Nid yw y Bashi-Bazouks yn waeth, ond eu bod yn cael mwy o chwareu teg i ddwyn i ben eu creulonderau.

*Ifor.* A wyt ti yn meddwl fod Mr. Henry Richard, apostol mawr heddwch, ac un o flaenoriaid y Dadgyssylltiad, yn gwybod am hyn?

*Sierlyn.* Gwybod, ydyw, y mae yn gwybod o'r goreu; o blegid y mae yn treulio rhan o'i wyliau haf o fewn tair milltir i'r lle hwn. Gwybod, ydyw, mae'r holl Ddadgyssylltwyr yn gwybod o'r goreu. Ond yn lle gwella eu hunain—ymdrechu dwyn crefydd a moesoldeb ym mlaen yn eu capeli; nid yw y gêr aflonydd hon yn meddwl am ddim ond taflu llaid at yr Eglwys.

*Idwal.* Pa ham na fuaswn i wedi darllen am hyn yn y papyrau Cymreig?

*Sierlyn.* Nid ydych chwi yr Ymneillduwyr yn meddwl am ddim ond chwilio brychau yn llygad yr Eglwys, pan y mae trawstiau mawrion yn eich llygaid chwi eich hunain. Pe buasai *policeman* wedi bod yn cadw heddwch a threfn mewn rhyw Eglwys blwyfol, buasai yr holl bapyrach bawaidd radicalaidd wedi gwneyd masnach fawr o hyny. Tebyg y buasai yr aelod anrhydeddus dros Ferthyr, yn ei ddull gwawdlyd, wedi crybwyll hyny yn rhai o'i areithiau yn y Senedd; ond o'r holl helyntion drygionus a ddygir ym mlaen yn y capeli, nid oes son am danynt yn y wasg ymneillduol. Prif bwnc Ymneillduaeth yr oes yw ymosod ar

yr Eglwys, gan adael eu capeli eu hunain yn yr annhrefn waethaf.

*Ifor*. Er mwyn deall pethau yn iawn, nid yr un capel yw hwn a'r lle y bu *policeman* y llynedd. Maent yn ddau gapel gwahanol, ond yn perthyn i'r un enwad, ac o fewn pedair milltir un at y llall.

*Idwal*. Nid ydym ninnau yn berffaith. Dynion yw pawb yr ochr hon.

*Sierlyn*. Gan eich bod mor arswydus o derfysglyd ac annuwiol yn eich capeli, pa ham na fyddech yn ymdrechu gwella eich hunain, gan adael llonydd i'r Eglwys sydd yn byw yn dawel, gan weithio yn galed i foesoli a chrefyddoli y wlad. Dyma beth yw Phariseaid y dyddiau diweddaf hyn; pentwr o ragrith digywilydd; gweled y brycheuyn yn llygad dy frawd, a thrawst mawr yn dy lygad dy hun; hidlo gwybedyn a llyncu camel; byw ar enllibio cymmydogion heddychol a llonydd. Talu dynion cecrus a haerllug am fyned ar hyd a lled y wlad i hau hadau anghydfod, a phardduo eu gwell, a gadael capeli eu hunain yn yr aflendid a'r gwrthryfel mwyaf. *Policeman* yn gorfod myned i'r capel ddydd Sul er mwyn cadw trefn, a'r dynion hyn ar waith yn celwyddoca ar hyd y wlad i ddadgyssylltu yr Eglwys!

*Ifor*. Mae hanes rhyfeloedd yn dyfod allan cyn hir ar ol gwneyd heddwch. Mae hanes rhyfel mawr America wedi dyfod allan, ac y mae hanes y *Franco-German war* wedi dyfod allan. Ai nid buddiol fyddai cael hanes rhyfeloedd Ymneillduaeth allan.

*Sierlyn*. Mae "Hen Wr o Lancuch" wedi awgrymu hyn yma yn y *Dywysogaeth*. Yr wyf finnau am gael hyny i ben; ac yr wyf am ei gyflwyno i Mr. Henry Richard, Ysgrifenyd y Gymdeithas Heddwch.

*Ifor*. Pa sawl cyfrol fydd efe?

*Sierlyn*. Y mae cyhoeddwyr yn cyhoeddi *cyclopædias*, ond nid ydynt yn dywedyd pa nifer fydd y cyfrolau —dim ond myned ym mlaen â'r gwaith. Felly rhaid gwneyd â hanes rhyfeloedd Ymneillduaeth. Deuer allan â deg cyfrol i ddechreu.

*Ifor*. Sut y byddir yn ei werthu?

*Sierlyn*. Fel pob llyfr mawr arall. Ond byddai o'r goreu rhoddi tipyn o fraint i John Jones, Felinfoel ac ereill. Gallent hwy werthu llawer o'r llyfr wrth areithio ar Ddadgyssylltiad.

*Ifor*. O, ïe, lladd dau aderyn â'r un gareg.

*Idwal*. Pwy fydd yr ysgrifenwyr? Mae dau awdwr weithiau yn cynnorthwyo eu gilydd. Mae Dr. Rees, Abertawy. a Dr. Thomas, Liverpool, os wyf yn cofio yn iawn, yn dyfod allan â *Hanes Annibyniaeth*.

*Sierlyn*. Bydd raid cael dau neu bedwar at y fath waith.

*Ifor*. Beth pe cymmerai y ddau yna ato i ddechreu. Os ydynt yn wŷr geirwir, cydwybodol, yn ymdrechu cario allan yr hen arwyddair hwnw, "Y gwir yn erbyn y byd," gallent wneyd cyfiawnder â'r testyn. Yna penoder rhyw ddau arall. Yr wyf fi am i ti, Sierlyn, fod yn olygydd dros y pedwar. Wrth wneyd hyny, gwnei waith mawr i'th wlad a'th genedl. Ti, hefyd, a gyrhaeddi deml anfarwoldeb.

*Sierlyn*. Mae arnaf chwant mawr i wasanaethu fy ngwlad; ac nid oes genyf wrthwynebiad i gyrhaedd teml anfarwoldeb. Ond gwell galw pwyllgor yng nghyd yn rhyw fan cyhoeddus i drefnu mesurau. Yr wyf am i Mr. Henry Richard gymmeryd y gadair.

*Ifor*. Yr wyf finnau yn eilio y cynnygiad. Yr wyf hefyd am awgrymu y byddai yn fuddiol cael llawer iawn o ddarluniau ynddo.

*Sierlyn*. Bydd yn ddiau, cael llawer iawn. Darlun y cyfarfod lle bu y *policeman* yn ddiweddar i ddechreu; darlun y pregethwr; darlun y cymmeriadau mwyaf cyhoeddus yno, y rhai oeddynt yn gwaeddi allan,

"Pwy ydwyt ti yn feddwl, ai Mari yr E——?"

*Ifor.* Mae yn rhaid cael gwasanaeth celfyddydwyr medrus yn hyn. Byddai darlun y Pharisead wedi ei dynu yn gywrain—darlun yn ei bortreiadu yn dangos brycheuyn yn llygad ei frawd, ac yna drawst mawr ddwylath o hyd yn ei lygad ei hun.

*Sierlyn.* Byddai o'r goreu i sicrhau gwasanaeth y beirdd, prydyddion, neu faledwyr, er mwyn gwneyd y llyfr yn boblogaidd. Mi welais i gân ryfedd yn ddiweddar wedi ei gwneyd ar etholiad sir Benfro.

*Ifor.* Pa beth oedd hynodrwydd hòno?

*Sierlyn.* Gwallgofrwydd Radicalaidd drwyddi oll. Gallesid meddwl nad oedd trefn a rhyddid yn unman ond gyda Radicaliaeth.

*Idwal.* Dyn talentog iawn yw awdwr y gân hòno.

*Sierlyn.* Caiff efe weithio penillion i'w gosod ar ol darluniau yn *Hanes Rhyfeloedd Ymneillduaeth.* Caiff weithio pennill neu englyn ar ol darlun y dyn hwnw gollodd ei het ger llaw pwll trochi A——. Boreu da, fechgyn, mae'r defaid yn myned ar goll.

---

## Adolygiad y Wasg.

Y FFRAETHEBYDD; NEU GY*mhorth i Chwerthin. Briton Ferry: D. L. Jones.* NEATH

MAE hen stori am wr oedd am werthu ei dy, iddo gymmeryd bricen allan o hono fel sampl o'r adeilad. Gwnawn yr un modd â'r llyfr bychan hwn. Cymmerwn ychydig enghreifftiau ar antur allan o hono, a barned ein darllenwyr os ydyw'r gwaith yn ateb ei ddyben.

"CODI YN FORE.

"Twm Shon Catti, pan oedd yn ieuanc, oedd yn chwanog iawn i orwedd yn hir yn y gwely yn y boreuau: hyn a barodd i'w dad ei geryddu yn galed am ei ddiogi, ac edliw iddo ei fawr segurdod, a ddanododd fod un bachgenyn wedi cael deg gini ar y ffordd wrth godi yn fore. 'Pw, pw,' ebe Twm, 'nid yr enillwr sydd yn codi foreuaf; yr wyf yn siwr fod y colledwr wedi codi yn foreuach nag ef, onide ni fuasai dim modd i enillwr fod.'"

found 10 guineas on the road

"GWELED HEB LYGAID.

"'A all plentyn weled heb lygaid?' gofynai yr athraw wrth holi y plant. 'Gall, syr,' ebe pwt bychan o fachgenyn llygadgraff, gan sythu ei ben. 'Pa fodd ydych yn gallu dyweyd hyny, John?' ebe'r athraw synedig. 'Gall weled ag un llygad, syr,' oedd yr ateb parod."

"DESGRIFIO CEFFYL.

"Yr oedd bachgen yn yr ysgol wedi cael gwers i ysgrifenu desgrifiad o'r ceffyl, a dechreuai ei ysgrif trwy ddyweyd fod ganddo bedair coes, un o dan bob cornel."

"Gofynai Tomos Dafydd i Mr. Mac-Melyn, y *station master*, pa bryd y deuai y trên haner awr wedi chwech i mewn? Atebodd, mai am ddeng mynyd ar ugain i saith, mor agos ag y byddai bosibl."

"'Pa reswm,' meddai creadur diog, 'i ddyn weithio ei hun i farwolaeth er mwyn cael bywioliaeth?'"

---

## EMYN.

"Maddeu i ni ein dyledion fel y maddeuwn ninnau i'n dyledwyr."—CRIST.

O DDUW, fy mai sydd fawr ei faint,
Yn f' erbyn cwyd ei lef,
Euogrwydd du am ddial Duw
Sy'n esgyn tua'r nef;
"Wnai Di ryddhau fy enaid rhwym,
Sy mewn anobaith du?"
"Maddeuir!" etyb tawel lef,
"A maddeu wneir i ti."

Gelynion creulawn genyf sydd,
Yn falch dirmygant fi,
A drwg hwy dalant dros fy na,
Gwawdiant fy amynedd i;
Fy Mrenin, cyfod! ar y balch
Dod ddial oddi fry!
"Maddeu," medd sobr ateb Duw,
"Os wyt am faddeu i ti."

Seithwaith gwnes faddeu, O fy Nuw,
Ond seithwaith pechu wnânt,
"Myfyriant yn fy erbyn ddrwg,"
"Yn fy ngofid pleser gânt;"
Ac 'nawr fy nial arnynt oll
Yn llwyr arllwysaf fi—
Mewn taran lef atebai Duw
O entrych nefoedd fry,
"Rhaid iti faddeu i'th gyd-ddyn,
Neu ni fydd maddeu i ti."

W. J. WILLIAMS.

## Hanesion.

### AIL AGORIAD EGLWYS LLANYCHAER, ABERGWAEN.

Saif yr Eglwys fechan hon mewn ardal enciliedig tua dwy filltir o dref Abergwaen. Ychydig flynyddau yn ol yr oedd y muriau dadfeiliedig yn wrthddrych tosturi i garwyr Sïon; ond diolch i ffyddlondeb y Parch. W. Davies, mae tro ar yr olwyn wedi cymmeryd lle, ac yn awr y mae adeilad prydferth a sylweddol wedi ei godi ar y fan. Agorwyd yr Eglwys newydd hon, Awst 25med; y gwasanaeth cyntaf a gymmerodd le am 9 o'r gloch, pryd y gweinyddwyd y cymmun bendigedig gan y Parch. T. Gwynne Mortimer, A.C., a'r Parch. W. Davies, rheithor y plwyf. Yn yr ail wasanaeth boreuol, darllenwyd y gweddïau gan y Parch. C. A. Nares, A.C., a'r llithiau gan y Parch. J. Johns, Manor Owen, a phregethodd Arglwydd Esgob Ty Ddewi oddi wrth Mat. viii. 1, 2, 3. Tua chanol dydd arlwywyd bwrdd haelionus trwy gymmwynasgarwch teuluoedd Cwrt, Trecwn, a Rheithordy Llanychaer, mewn ysgubor a brydferthwyd at yr achlysur gan y Meistresau Davies, Rheithordy Llanychaer; Miss Annie Owen, Abergwaen; a Miss Spurrell, Caerfyrddin. Eisteddodd nifer mawr o foneddigesau a boneddigion yn ol eu gilydd i lawr fel yr oedd y gofod yn caniatäu. Pregethodd y Parch. J. Griffiths, Merthyr, a J. Jones, Nefern, yn y prydnawn, a'r Parch. E. James, Yspytty Cynfyn, yn yr hwyr. Arweiniwyd y côr gan Miss Lively, ar yr harmonium.

### CYSSEGRIAD EGLWYS YSPYTTY YSTWYTH.

Bu hen Eglwys Yspytty Ystwyth yn lle enwog yn yr amser gynt fel gorsafle i bererinion o'r gogledd i Dy Ddewi; ond y mae er ys amser maith wedi bod yn syrthio i ddafeiliad, ac yn myned flwyddyn ar ol blwyddyn yn fwy anaddas at addoliad cyhoeddus. Penderfynwyd ychydig amser yn ol gyfodi Eglwys newydd mewn man arall, a gosodwyd ei sylfaen ym mis Mai, 1874, gan Iarll Lisburne, yr hwn a gyfranodd 200p. at ei hadeiladu. Cyn gosod y sylfaen yr oedd 750p. wedi cael eu casglu; a dywedir bod y cwbl sydd angenrheidiol, sef o ddeutu 1300p., wedi eu sicrhau. Pregethwyd am y tro olaf yn yr hen Eglwys prydnawn dydd Llun, Medi 12, gan y Parch J. Lloyd, Llangoedmor; a chyflawnwyd y gwaith o gyssegru yr Eglwys newydd boreu'r dydd canlynol gan Arglwydd Esgob Ty Ddewi. Gwedi i'w Arglwyddiaeth fyned trwy y gwasanaeth dyddorol o gyssegru, ac i'r Parchedigion T. Edwards, y curad, Edward Williams. Gartheli, Henry Morgan, Llanddewi Aberarth, a J. Lewis, Llanilar, ddarllen y Salmau a'r Llithiau Priodol, pregethodd y Parch. Ganon Philipps, yn Gymraeg a Seisoneg, i gynnulleidfa luosog a difrifol. Parotowyd gwledd roesawgar i'r dyeithriaid a'r plwyfolion. Cynnaliwyd gwasanaeth yn y prydnawn a'r hwyr, pan y pregethwyd yn effeithiol gan y Parch. J. Pugh, Llanbadarn; y Parch. W. Evans, Llangeler; a'r Parch. H .Morgan, Llanddewi Aberarth.

### AIL AGORIAD EGLWYS LLANDYFEISANT.

Mae'r Eglwys hon yn sefyll mewn man cuddiedig ym Mharc Dynefawr, ac y mae wedi bod yn gauedig am yn agos i flwyddyn a hanner tra yr oedd ei chyweiriad a'i hadnewyddiad yn myned yn y blaen. Mae rhan o'r hen adeilad wedi cael ei chydgorfforï yn yr Eglwys newydd, a chan i fathau Rhufeinig gael eu dwyn i'r goleu gan y gweithwyr, bernir i'r adeilad gael ei sefydlu yn gyntaf yn fore iawn. Pregethodd Arglwydd Esgob Ty Ddewi ar yr achlysur presennol. Darllenwyd y gweddïau a'r llithiau gan y Parch. H. T. G. Williams, Mr. Joyce, mab yng nghyfraith Arglwydd Dynefawr, a chan ei Arglwyddiaeth.

### near LLANLLECHID. Bangor

Cynnaliwyd cyfarfod blynyddol yn Eglwys Blwyfol y lle uchod, dyddiau Mercher ac Iau, 6ed a'r 7fed o Awst, a hyny gyda dylanwad nad anghofir yn fuan. Cafwyd hin ddymunol. Yr oedd yr Eglwys yn orlawn o addolwyr ym mhob Gwasanaeth; nid yn unig yr oedd yr Eglwyswyr o'r holl amgylchoedd wedi ymgynnull yng nghyd, ond yr oedd yno Ymneillduwyr y gymmydogeth hefyd, y rhai a gydaddolent â ni. Yr oedd Duw wedi "gwisgo ei weinidogion â iawnder," ac yn "gwneyd ei ddewisol bobl yn llawen." Am hanner awr wedi chwech y noswaith flaenorol, darllenwyd y Gwasanaeth gan y Parch. W. Howells, sir Frycheiniog; y Llithiau gan y Parch E. Davies, Llanllyfni, a phregethodd y Parch. D. Jones, Edern, yn absennoldeb Deon Bangor, oddi ar Esai xlix. 16. Am ddeg o'r gloch boreu Dydd Iau darllenwyd y Gwasanaeth gan y Parch. D. Jones, Edern, y Llithoedd gan yr Hybarch Archddiacon Evans, a phregethodd y Parch. E. Davies. Lanllyfni, oddi ar 1 Cron. iv. 10. Am ddau o'r gloch yn y prydnawn darllenwyd y Litani gan y Parch. J. Jenkins, Glanogwen, a phregethodd y Parch. D. Jones, Edern, oddi ar Ioan i. 7. Am chwech o'r gloch yn yr hwyr, darllenwyd y Gwasanaeth gan y Parch. D. Jones, Edern, y Llithodd gan y Parch. J. Jenkins, Glanogwen, a phregethodd y Parch. D. A. Williams, Llandyrnog, oddi ar St. Marc vii. 32. Yr oedd yr holl bregethau yn alluog a nerthol. Rhoddid yr holl anthemau a hymnau allan gan yr

Hybarch Archddiacon Evans, periglor y plwyf. Arweinydd y côr ydoedd Mr. Thomas Pierce. Corganwyd y Caniadau, ac yr oedd yno lawer o'r bobl yn ymuno yn y Gwasanaeth. Mae eisieu gweled hyn ar gynnydd ym mhob Eglwys. Nid oes dim yn fwy marwaidd na chynnulleidfa fud yn y Gweddïau. Yr oedd y canu yn gynnulleidfaol, bywiog, a gwresog. Nid angen dweyd gair am y pregethau, rhagor na gobeithio eu bod wedi eu hysgrifenu â bys Duw ar lechau calonau y bobl a'u gwrandawent mor astud.—P. T.

### URDDIADAU.

Urddwyd y personau canlynol yn Eglwys Abergwili, ar ddydd Sul, Medi 24, gan Arglwydd Esgob Ty Ddewi:—

*Diaconiaid.*—Evan Evans, B.C., Coleg Dewi Sant, Llanbedr; trwyddedwyd i guradiaeth Llandyssul; Arthur P. Fortescue, Llys Sant Alban, Rhydychain, i guradiaeth Nantmêl; G. W. Gent, B.C., Coleg y Brifysgol, Rhydychain, i guradiaeth Llandingat; Thomas Jones, Coleg Dewi Sant, Llanbedr, i guradiaeth Llywel a Llanybriw; John Napleton, Coleg Duwinyddol Caerloew, i guradiaeth Carew a Redbest; John Jones, Coleg Dewi Sant, Llanbedr, i guradiaeth Llansadwrn a Llanwrda; John Richards, Coleg y Frenines, Birmingham, i guradiaeth Brechfa ac Abergorlech; Thos. Thomas, B.C., Coleg Dewi Sant, Llanbedr, i guradiaeth Abergwili; Samuel Vercoe, Prifysgol Llundain, i guradiaeth Penmaen.

*Offeiriaid.*—George Burgoin, B.C., Coleg Catwg Sant, Caergrawnt; trwyddedwyd i gaplaniaeth Coleg Hyfforddiadol Caerfyrddin; James Martin Griffiths, Coleg Sant Aidan, Birkenhead, i guradiaeth dymmorol Penboyr; Hugh Jones, B.C., Coleg Dewi Sant, Llanbedr, i guradiaeth Llanbedr Pont Stephan; David Walter Lewis, Coleg Sant Bees, Cumberland, i guradiaeth dymmorol Nicholaston ac Oxwich; Daniel Roderick (llythyrenog), i guradiaeth Abertawy; Frederick Owen Thomas, B.C., Coleg yr Iesu, Rhydychain, i guradiaeth Begelly ac East Williamston.

Ar yr un dydd, urddwyd y personau canlynol gan Arglwydd Esgob Llandaf, yn yr Eglwys Gadeiriol:—

*Diaconiaid.*—John James, B.C., Coleg Dewi Sant, Llanbedr; Charles Arthur Legeyt, B.C., New Inn Hall, Rhydychain; Walter Rees, llythyrenog.

*Offeiriaid.*—Hector Albert Coe, B.C., Coleg Sidney Sussex, Caergrawnt; Isaac Davies Lewis, B.C., Coleg Dewi Sant, Llanbedr; Archibald James Holme Russell, B.C., Coleg y Brenin, Llundain; Edward Stephens, Coleg St. Aidan, Birkenhead.

### ETHOLIAD SIR BUCKINGHAM.

Mae y Ceidwadwyr wedi ennill y fuddugoliaeth yn sir Buckingham, yn yr etholiad a achoswyd trwy ddyrchafiad Mr. Disraeli yn Iarll Beaconsfield. Ymdrechwyd hyd yr eithaf i osod gwrthwynebydd i'r Weinyddiaeth yn sedd wag ei Arglwyddiaeth, ond yr oedd calon pobl Buckingham yn rhy ffyddlawn i'w hegwyddorion. Y pleidleisiau oedd fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| Fremantle (Ceidwadwr) ... | 2725 |
| Carington (Rhyddfrydwr) | 2539 |
| Mwyrif y Ceidwadwr | 186 |

## HANESION TRAMOR.

### CREULONDERAU BULGARIA.

Mae y wlad o ben bwygilydd mewn cyffro dychrynllyd o herwydd creulonderau digywilydd a llawruddiog y Tyrciaid yn Bulgaria. Y mae y llofruddio, y cigyddio hen ac ieuainc, a'r treisio, yn ddigon i fferu y gwaed, a chyffroi pob teimlad dynol. Yr ŷm wedi cael barnau gwahanol wleidyddwyr ar greulondeb y Tyrciaid a sefyllfa annedwydd y Bulgariaid. Rhoddodd yr amgylchiad anffodus, at ba un y cyfeiriasom, gyfle i Mr. Henry Richard, A.S., i siarad yn Aberdar a Merthyr, ac mae yn amlwg oddi wrth ei areithiau ei fod yn meddwl llawer am dano ei hun. Dechreuodd gydag ef ei hun, a gorphenodd gydag ef ei hun; y *fi* yw pobpeth. Yn ol barn Mr. Richard, aeth ein holl wleidyddwyr ar wydro yn eu llywodraetheg Ddwyreiniol—Arglwydd Palmerstone, Mr. Gladstone, Arglwydd John Russell. Nid oes neb yn cerdded yn gymhwys ond cyfeillion Mr. Henry Richard; ac yn ol ei ddadganiad ef, nid oes un dyn byw bedyddiol mor addas ag ef i arwain y Llywodraeth ar y pwnc Dwyreiniol. Yr oedd areithiau Mr. Richard yn llawn o hunan-glod. Dywedodd ei fod yn parchu ac yn anrhydeddu Iarll Derby; dylai ei Arglwyddiaeth fod yn falch o'r *compliment.* Yr oedd ef yn barnu fod Syr Henry Elliot wedi profi nad yw efe yn addas i lanw ei swydd fel Llys Genadydd; ac yr oedd iaith Mr. Disraeli yn ammhriodol yn y Senedd ar y pwnc Dwyreiniol. Nid yw Mr. Richard yn cydnabod dim un arweinydd ond ef ei hun ar y pwnc hwn, ac y mae Mr. Gladstone allan o'i lyfran er ys llawer dydd. Camsynied ofnadwy oedd rhyfel y Crimea, ac y mae Mr. Gladstone yn atebol am dano fel un. Nid yw Mr. Richard am dywallt dim gwaed: yn hyn y mae pob dyn rhesymol yn cydweled ag ef; ond mae ef yn myned i ddywedyd, "Cymmerwch eich dwylaw llofruddiog oddi ar yddfau y Bulgariaid, a chofiwch nad yw Lloegr a chwithau yn gyfeillion mwyach." Nid yw

yn beth tebyg y bydd i gigyddion dynol Bulgaria, cythreuliaid mewn ffurf dynion, ufuddhau i orchymmyn Mr. Richard. Ni ddarfu i Mr. Richard yn ei areithiau fentro cyhoeddi barn gondemniol yn erbyn y Weinyddiaeth bresennol; ond haera fod pob un o'n harweinwyr politicaidd yn haeddu cael eu beio am gadw cydbwysiad gallu yn Twrci.

---

## AMRYWION.

Gwell ymosod ar faes agored na chyfarth tu ol i'r gwrych.—*Luther*.

Mae llawer yn galaru mwy o herwydd y gwarth y mae pechod yn ddwyn arnynt, nag o herwydd y pechod sydd yn dwyn y gwarth.

Yr hwn ni theimla wresogrwydd tuag at ei wlad ei hun, ac ni phrydera am ei llesâd a'i ffyniant, sydd wedi colli un o'r pethau mwyaf rhagorol mewn dynoliaeth: mae ei serch a'i gynneddf fabol wedi eu hysu gan falchder, neu fydolrwydd, neu gan ryw nwyd warthus arall na'i gilydd. Nid da i ddim ydyw y fath ddyn, gan ei fod wedi suddo i'r diraddiad mwyaf.—*Parch J. Owen, Thrussington.*

"*Ond bydd goleuni yn yr hwyr.*"—Gwaith Duw mewn Amser, yn dragyfyth, o genedlaeth i genedlaeth, ydyw cyflawniad yr addewid hon. Pan bo tywyllaf yr awr, trymaf y gofid, a gobaith ar dranc; pan bo mwyaf caddug y cymyl, a gwag ruddfanau llais anobaith yn dechreu deffro ar awelon y drymllyd nos, y pryd hyny y cyfrynga Efe, i'r Hwn nid oes Amser ond oddi gerth fel terfyn i'r hwn y gwelodd yn dda osod ei waith.—*Esgob Wilberforce.*

---

## ESGORODD,

ABADAM—Medi 3, yn 64 Beaufort-street, Chelsea, priod F. W. Abadam, Ysw., ar ferch.

STEPNEY—Medi 12, yn 5 St. George's Place, Hyde Park, priod A. K. Cowell Stepney, Ysw., A.S., ar fab.

## PRIODWYD,

COLLARD—MASON—Awst 31, yn Eglwys Sant Pedr, gan y Parch. L. M. Jones, B.D., Mr. Charles Owen Collard, a Mary Ann, unig ferch y diweddar Mr. Edward Mason, Petryal Nott, Caerfyrddin.

LEWIS—WADE—Medi 5, yn Eglwys y Plwyf, Abergwaen, gan y Parch. Is-ganon J. T. Griffiths, yn cael ei gynnorthwyo gan y Parch. W. Rowlands; Mr. Robert Lewis, masnachwr, Abergwaen, â Lizzy Smith Wade, llysferch Mr. Evan Thomas, Kensington House, ac wyres i'r diweddar Mr. John Smith, Abergwaen.

ROGERS—ANDREWS—Medi 18, yn Eglwys Sant Pedr, gan y Parch. Latimer M. Jones, B.D., Mr. David Rogers, plymwr, â Rosina, ail ferch Mr. Jacob Andrews, Heol y Brenin.

## BU FARW,

CRUSE — Medi 16, yn Heol y Prior, Fanny Florenee, merch Mr. Samuel Cruse, 17 oed.

GRUBB—Medi 18, yn Gileston Cottage, Glan y Feri, Miss Grubb, gynt o Fryn Hyfryd, Caerfyrddin.

RICHARDS — Medi 22, yn Uchelrodfa Picton, Mr. William Richards, cyfreithiwr, 36 oed.

WILLIAMS—Medi 16, yn Heol y Cai, Mary, merch ieuengaf a'r olaf o deulu y diweddar Daniel Williams, Ysw., cyfreithiwr, o'r dref hon.

WILLIAMS—Medi 23, yn ei annedd, Heol y Prior, John Lewis Williams, Ysw., llawfeddyg, Ynad yr Heddwch, 53 oed. Yr oedd yr ymadawedig yn orwyr i'r Parchedig Peter Williams, adnabyddus trwy Gymru fel esboniwr o'r Ysgrythyr Sanctaidd.

---

## Y LLITHIAU PRIODOL, HYDREF, 1876.

| Hyd. | Suliau a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn. |
|---|---|---|---|
| 1 Sul | 16 Sul gwedi'r Drindod | 2 Cron. xxxvi.<br>Eph. ii. | Neh. i. a ii. hyd 9, neu viii.<br>Luc v. hyd 17 |
| 8 Sul | 17 Sul gwedi'r Drindod | Ier. v.<br>Philip. ii. | Ier. xxii., neu xxxv.<br>Luc viii. 26 [17 |
| 15 Sul | 18 Sul gwedi'r Drindod | Ier. xxxvi.<br>Col. iii. 18 a iv. | Esec. ii., neu xiii. hyd<br>Luc xii. hyd 35 |
| 18 Mer. | Sant Luc, Efeng. | Esai lv.<br>1 Thes. iii. | Preg. xxxviii. hyd 15<br>Luc xiii. 18 |
| 22 Sul | 19 Sul gwedi'r Drindod | Esec. xiv.<br>2 Thes. ii. | Esec. xviii., neu xxiv. 15<br>Luc xvi. |
| 28 Sad. | Sant Simon a Sant Iwdas, Apostol. a Merthyr.* | Esai xxviii. 9 hyd xvii.<br>1 Tim. v. | Ier. iii. 12—19<br>Luc. xix. 28 |
| 29 Sul | 20 Sul gwedi'r Drindod | Esec. xxxiv.<br>1 Tim. vi. | Esec. xxxvii., neu Dan. i.<br>Luc xx. hyd 27 |

* Credo Sant Athanasius i'w arfer.

---

CARMARTHEN:
Printed and published by WILLIAM SPURRELL, at his Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Saturday, the 30th of September, 1876.

# YR HAUL.

## Cyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIF. 239. TACHWEDD, 1876. CYF. 20.

## CYFRES FER O BREGETHAU ER AMDDIFFYNIAD Y FFYDD.

### GWYRTHIAU.—IX.

"Ewch a mynegwch i Ioan y pethau a welsoch ac a glywsoch; fod y deillion yn gweled eilwaith, y cloffion yn rhodio, y gwahanglwyfus wedi eu glanhau, y byddariaid yn clywed, y meirw yn cyfodi, y tlodion yn derbyn yr Efengyl."—SANT LUC vii. 22.

YN y geiriau hyn rhydd ein Hiachawdwr atebiad i ofyniad Ioan Fedyddiwr trwy ddau o'i ddysgyblion, "Ai ti yw yr hwn sydd yn dyfod, ai un arall yr ŷm yn ddysgwyl?" Mae yn appelio at y gweithredoedd a gyflawnai fel prawf mai Efe yw'r hwn oedd ar ddyfod; mai Efe oedd y Messïas, wedi ei anfon oddi wrth y Tad. Nid yw yn dyweyd fod ei ymwybyddiaeth ei hun yn tystiolaethu. Gallai hyn fod yn ddigon o brawf i feddwl dyn ei hun, ond nis gallasai fod i ereill. Pe cyfodai rhywun o gymmeriad pur a difrycheulyd mewn gwlad, ac ennill sylw cyffredin, a phe dywedai am dano ei hun ei fod wedi bodoli cyn ei enedigaeth, iddo ddyfod o'r nef i wisgo dynoliaeth, mai trwyddo ef yr oedd dyfodfa at Dduw, ei fod yn iawn dros bechod, yn ben ar deyrnas ysbrydol, yr esgynai i'r nef o'r lle y daeth, ac y dychwelai oddi yno i farnu holl ddynolryw yn niwedd y byd, ac y cyfodai y meirw o'u beddau, y da i fywyd tragwyddol, y drwg i farwolaeth dragwyddol; pe llefarai fel hyn am dano ei hun, beth fyddai y dyb am dano? Onid mai dyn o'i bwyll ydoedd? Ni fyddai bywyd perffaith yn argyhoeddi neb i'r gwrthwyneb. Yr unig fodd trwy ba un y gallai gario argyhoeddiad i feddyliau dynion fyddai trwy ei allu ar natur—trwy gyflawnu gweithredoedd naturiol nas gellid eu cyflawnu ond trwy nerth goruchnaturiol. Prawf hysbysiad goruchnaturiol yw gwyrth. Ond dyma gadarnhâd pellach. Yr oedd ein Hiachawdwr nid yn unig yn cyflawnu pethau uwch law gallu dynol, ond yn dywedyd ei fod yn eu cyflawnu trwy allu Duw ac er tystiolaeth i'r byd o'i anfoniad. Am hyny, mae Crist yn cyfeirio dysgyblion Ioan at ei wyrthiau gweledig. Nid digon i brofi fod ein Harglwydd yn Dduw yn y cnawd yw tystiolaethu iddo fyw a marw—fod ei fywyd yn ddifeius—iddo lefaru fel na lefarodd dyn erioed. Profai hyn ei hynodrwydd ym mhlith holl feibion dynion, ond mae eisieu ychwaneg cyn cyd-

nabod ei hawl i fod yn Fab Duw. Dyna ffaith uwch law natur, ac yr oedd eisieu amlygiad uwch law natur, hyny yw, gwyrth, cyn profi hyn. Mor gyflawn ac anwrthwynebol yw appeliad Crist at wyrthiau. Mae gwyrthiau yn eglur yn eisieu i wneyd dadguddiad oddi wrth Dduw i'r byd. Mae gwyrthiau yn eisieu fel *arwyddion*.

Pan yn son am y gwahanol enwau a roddir i wyrthiau yn yr Ysgrythyr, gwelsom mai yr enw mwyaf cyffredinol ac arbenig oedd *arwyddion*. Y rheswm dros yr enw ydoedd ei fod yn mynegu y peth mwyaf pwysig sydd yn gyssylltedig â hwynt. Mae gwerth gwyrthiau yn gynnwysedig yn eu haddasrwydd i gyflawnu dybenion neillduol. Mae eu perthynas â'r dybenion hyn, gan hyny, yn fwy perthynol iddynt, yn fwy sylweddol, yn fwy angenrheidiol i'w hanfod na dull eu hachosiaeth, ac na'u cymmeriad rhyfeddol. Y mae y cwbl yn ddarostyngedig i hyn. Mae ein hymresymiad blaenorol wedi dangos fod credinolrwydd gwyrthiau hefyd yn ymddibynu ar y cwestiwn o'u bwriad. Maent yn gredadwy fel ymddangosiadau, maent yn gredadwy fel effeithiau, os ydyw yn gredadwy i Dduw ddewis eu cyflawnu. Mae y cwestiwn pa un a ewyllysiodd ai peidio yn troi yn hollol ar y dyben a atebai y cyfryw gyfryngiad. Pa un, gan hyny, y golygwn wyrthiau yng ngoleuni Ysgrythyr neu yng ngoleuni beirniadaeth ymchwiliadol, mae ystyriaeth o'u dyben a'u bwriad o bwys anghyffredin.

Mae yn fuddiol, gan hyny, i ni dreio eglurhau yn y lle cyntaf *pa fath* ddyben a briodolir yn yr Ysgrythyr i wyrthiau. Mae y gair "arwydd" yn dangos hyn i ryw raddau. Mae arwydd yn cyfeirio at rywbeth tu draw iddo ei hun; er mwyn hwnw y rhoddir yr arwydd. Dichon yn wir fod gwerth hefyd yn yr arwydd ynddi ei hun, ond ei phrif werth *fel arwydd* sydd gynnwysedig yn y peth a arwyddir. Y mae gwyrthiau ynte fel arwyddion yn tynu eu prif werth oddi wrth rywbeth tu hwnt iddynt eu hunain, at yr hwn y cyfeiriant ato. Pan ofynwn am achos cyflawniad gwyrth neu gyfres o wyrthiau, ni wiw i ni chwilio am yr ateb yn y gweithredoedd eu hunain, ond yn hytrach yn yr hyn a arwyddid ganddynt tu allan iddynt eu hunain. Y mae o bwys mawr cofio hyn. Mae yn perthyn i nifer luosog o'r gwyrthiau Ysgrythyrol werth cynhenid ynddynt eu hunain; ac wrth sylwi ar hyny yr ydym mewn perygl o adael o'r golwg yr elfen o arwyddiant. Er enghraifft, wrth ddarllen am bläu yr Aipht, yr ŷm yn dueddol i'w hystyried yn unig fel barnau i gospi cyndynrwydd Pharaoh, a dwyn rhyddid i Israel; canys dyna oedd eu natur a'u gwerth gynhenid ynddynt eu hunain. Ond llefara yr Ysgrythyr am danynt mewn golygiad arall hefyd, sef fel arwyddion o'r berthynas a fodolai rhwng Duw eu hawdwr a'r Aiphtiaid ar un llaw, ac â Israel ar y llaw arall. *Yr ystyriaeth hyn* yn hytrach na'u natur eu hunain neu eu heffeithiau sylweddol yw'r prif bwnc a ddygir i'r goleuni, ac a bwysleisir arno yn yr Ysgrythyr. Drachefn, pan ddarllenwn am y gwyrthiau o iachâd yn yr Efengylau, yr ŷm yn dueddol iawn o'u hystyried yn unig fel gweithredoedd o dosturi a thrugaredd tuag at eu gwrthddrychau. Ond heb law hyn, llefara yr Ysgrythyr am danynt fel tystiolaeth i Berson ac i anfoniad yr hwn a'u cyflawnai, a rhydd bwys ar hyny yn benaf fel eu prif nodweddiad. Yr ydym yn edrych yn wir ar y ddau briodoledd yma wrth ystyried credinolrwydd gwyrthiau, sef eu natur a'u dyben, canys mae y ddau yn cynnwys yr elfen o fwriad; ond edrychwn yn fwy o lawer arnynt yn eu harwyddiad, a hyny o herwydd tri rheswm a ellir eu henwi. 1. O herwydd mai ar eu harwyddiad y rhydd yr Ysgrythyr y pwys penaf.

2. O herwydd fod arwyddiad yn perthyn i bob gwyrth, tra nad oes gwerth neillduol yn perthyn i bob un, a phan berthyna, perthyna'r gwerth nid i'r un gradd, ond mewn gradd mwy neu lai 3. O herwydd fod arwyddiad gwyrthiau yn dragwyddol yn eu cyrhaedd, tra nad oedd effeithiau naturiol gwyrthiau ond tymmorol a lleol, fynychaf. Mae gwerth yr hanes am wyrthiau, gan hyny, yn sefyll bron yn hollol ar eu harwyddiad.

Os gofynir ym mhellach beth yw yr hyn a arwyddir gan wyrthiau, nid oes ammheuaeth yng nghylch yr ateb. Cyfeiriant bob amser at ryw wirionedd yng nghylch Duw, a'i berthynas â dynoliaeth. Dyben gwyrthiau yw egluro a dadguddio y cyfryw wirioneddau. Pob peth arall perthynol iddynt sydd ddarostyngedig i'r dyben hwn, a braidd na chwanegwn yn ddygwyddiadol. Y mae hwn yn sylweddol. Mae y gofyniad, gan hyny, a yw gwyrthiau yn gredadwy yn eu golygiad o *arwyddion*, yn dyfod i'r un peth a gofyn (1) A ydyw yn gredadwy i Dduw fwriadu dadguddio gwirioneddau am dano ei hun? ac os felly (2) A ydyw gwyrthiau y fath foddion i'r pwrpas ag i wneyd eu defnyddiad i gyflawnu y pwrpas hwn yn gredadwy?

1. Mae yng nglŷn â'r ystyriaeth o'r cwestiwn cyntaf o'r ddau, anhawsder ag fydd bron yn anorchfygol, sef diffyg safon digonol i ffurfio barn wrtho. Pan yn trin ar wyrthiau yn eu cymmeriad ymddangosiadol, ein safon oedd profiad cyffredinol dynion; pan yn trin am danynt yn eu cymmeriad o weithredoedd nerthol, hyny yw, eu hachosiaeth, ein safon oedd natur; pethau adnabyddus a hawdd eu profi. Ond yn y golygiad newydd yma, sef y credinolrwydd i Dduw fwriadu dadguddio gwirioneddau neillduol, mae y safon bron allan o'n cyrhaedd yn hollol. Canys amlwg yw bod yn rhaid i ni appelio am brawf o'r credinolrwydd o hyn at gymmeriad Duw a'i ddybenion cyffredinol mewn perthynas i ddynolryw. Ond os gadäwn ni o'r neilldu y wybodaeth a roddir trwy wyrthiau, beth wyddom ni am gymmeriad a bwriadau Duw? Ychydig iawn yn wir, a'r ychydig hwnw yn ddigon cymylog. Nid gwiw, gan hyny, cofiwch, ddysgwyl casgliadau penderfynol a manwl yma tebyg i'r rhai a dynwyd o dan y golygiadau blaenorol. Y cwbl a allwn ei ddysgwyl yw cyrhaedd rhyw gasgliad nacaol—na fyddai'r fath ddadguddiad, mor belled ag y gellir barnu, yn beth afresymol, neu rywbeth cyffelyb. Dymunai rhai yn wir roi dychymmyg yn lle gwybodaeth ar waith, ac ymresymant yn ddibetrus oddi wrth eu syniadau eu hunain am Dduw at y gredinolrwydd fod gwahanol weithredoedd yn deilliaw oddi wrtho fel eu hawdwr. Ereill a ryfygant yn ddiofn haeru nad oes dim yn adnabyddus o'r hyn ni wyddom, ac o ganlyniad dylid casglu na wnaeth Duw ddim o'r hyn nis gellir myntumio yn gadarnhaol y gwnelai; ond gan nad yw casgliadau oddi wrth y cyfryw ddull o ymresymu o un gwerth, gellir eu gadael o'r neildu, ac ymofyn am yr awgrymiadau bychain a ellir eu tynu oddi wrth y mesur o wybodaeth gwirioneddol sydd i'w cael at ein llaw a'n gwasanaeth.

Dangoswyd eisoes fod ein gwybodaeth am Dduw mor belled ag y mae yn annibynol ar ddadguddiad o ddau fath, *naturiol* a *moesol*. Mae y wybodaeth naturiol a feddianwn am Dduw i'w gael yn yr amlygiad a rydd natur o fwriad yn ei chyfansoddiad, ac yn enwedig mor bell ag mae y bwriad hwnw yn dal cyssylltiad â llesâd dynolryw. Os gwir fod trefniadau natur yn awgrymu dyddordeb dyngarol neillduol ar ran Awdwr natur tuag at ddynoliaeth, gellir casglu yn ddiammheu y byddai yn gysson â chymmeriad Awdwr natur i gyfranu unrhyw beth arall a fyddai yn llesaol i ddynolryw. Gellid tynu casgliad cyffelyb hefyd, wrth

gwrs, gyda'r un cyfiawnder mewn perthynas i bob creadur byw. Ond nid yw'r ymresymiad mewn perthynas i'r un o honynt yn ddigon cryf i sefydlu tebygolrwydd penderfynol o blaid cyfryngiad neillduol. Y cwbl a all wneyd yw hyn, sef dangos os haerir cyfryngiad neillduol, ac os try y credinolrwydd o hyny ar ewyllys da Rheolwr natur tuag at greaduriaid byw, yna dangos fod y profiad o fwriad yn profi y golygiad nad yw cyfryngiad neillduol a ffafriol o'r fath yn anghysson â'i ewyllys mor belled ag y dadguddir trwy fwriad.

Mae y prawf a roddir i ni gan ein gwybodaeth moesol am Dduw o natur wahanol, ac yn myned hwyrach ym mhellach. O ba le bynag y tarddodd y fath syniadau, pa un ai oddi wrth gyfansoddiad gwreiddiol y meddwl, neu oddi wrth brofiad o drefn moesol y byd, nid oes un ammheuaeth fod gan ddynion, fel rheol gyffredin, syniadau moesol a arweiniant i'r dybiaeth mwy neu lai perffaith fod llywodraeth moesol yn bod. O'r syniadau moesol hyn y rhai mwyaf pwysig yw y syniadau o ddrwg a da, o gyfrifoldeb ac o bechod; yr olaf yn deilliaw oddi wrth y ddau flaenaf. Teimla dyn fod rheol o ddrwg a da yn bod yn rhywle, yr hon sydd uwch law ei lywodraeth ef na neb arall, a bod y rheol hon yn cael ei hadlewyrchu yn llais barnol ei gydwybod oddi mewn, ac yn llywodraeth moesol y byd oddi allan. Teimla hefyd fod y rheol hon yn dwyn gyda hi ymwybyddiaeth o'i rwymedigaeth i weithredu yn unol â hi, fel pe bai y rheol wedi ei osod arno gan ryw allu goruchel, i'r hwn mae yn gyfrifol. Am hyny, os nad ufuddhâ i'r rheol (a buan cenfydd ei anufudd-dod), llenwir ei feddwl â theimlad cymmysgedig o anfoddlonrwydd, anesmwythder, ac ofn, yr hyn a alwn yn deimlad o bechod. Yr esboniad a roddwyd erioed gan ddynion i'r syniadau moesol hyn yw fod Duw neu dduwiau yn bodoli, a bod ewyllys Duw mewn perthynas i ddyn yn rheol o dda a drwg; bod dyn yn gyfrifol iddo, ac y gwna ad-dalu trwy wobr neu gosp yn ol haeddiant dyn. Dygir tystiolaeth i hyn gan gyffredinolrwydd syniadau a threfniadau crefyddol ym mhob man. Hawdd yw galw hyn yn ofergoeledd ac yn dwyll offeiriadaeth; ond hyd yn oed os felly, maent yn ymddangosiadau ag sydd yn gofyn am gael cyfrif o honynt. O ba le tarddodd ofergoeledd? Teflwch ymaith y syniad o Dduw, ac na roddwch le iddo ym mhlith meddylddrychau angenrheidiol meddwl dyn, ac yna pa fodd gellir esbonio tarddiad neu barhâd y cyfryw ofergoeledd? Os gwadwch yr ymwybyddiaeth cyffredinol o bechod, pa beth all fod y sail sydd wedi rhoddi cymmaint o allu i dwyll offeiriadaeth? Mae yn rhydd yn ddiammheu i bwy bynag a fyno wadu fod y syniadau moesol hyn yn ffaith. Gellir eu galw yn ddychymmygion y darfelydd, ond nid hawdd gweled pa fodd, ar y golygiad yma, y gellir esbonio eu cyffredinolrwydd neu eu tarddiad. Ond beth bynag, mae yn ddigon amlwg eu bod yn ffeithiau yn y natur ddynol, ac yn ffeithiau ag sydd wedi arwain, gyda'r ffeithiau ereill ym maes natur a enwyd o'r blaen, blant dynion ym mhob oes i ryw syniad neu gilydd am Dduw. Gan ein bod yn dewis, gan hyny, credu fel peth mwy rhesymol ynddo ei hun, fod y syniadau moesol hyn yn meddiannu sylfaen gwirioneddol yn hytrach na chredu mai dychymmygion disail ydynt, mae yn rhaid i ni ymofyn beth yw eu perthynas â chredinolrwydd dadguddiad.

Mae rheol Ddwyfol i'w chael dros ymddygiad dyn. Mae dyn yn rhwym o ufuddhau y rheol hon: ar ei ufudd-dod yr ymddibyna, i ryw radd o leiaf, ei dynged o wae neu o wynfyd. Mae yn eglur ynte ei bod hi o bwys i ddyn wybod yn iawn (1) Beth yw y rheol hon; ac (2) I wybod beth fydd canlyniad ufudd-dod ac anufudd-

dod; ac (3) I wybod, os bu anufudd, a oes modd dianc (1) canlyniadau annedwydd ei anufudd-dod, (2) dygwyddiad yr un anufudd-dod rhag llaw. Mewn gair, dylai dyn wybod gymmaint ag sydd yn bosibl yng nghylch y berthynas foesol rhyngddo ef ei hun a Duw. Yn awr, meddianna ran o'r wybodaeth hon eisoes trwy'r syniadau moesol a enwyd, ond nid digon i roddi boddlonrwydd i'w feddwl, naill o ran eglurdeb, neu o ran helaethrwydd. Gwelir y dymuniad i wybod mwy, a hyny yn fwy eglur, yn yr awydd gyda pha un ym mhob oes y bu dynion yn barod i wrando ac i gredu pwy bynag a broffesai roi iddynt wybodaeth ychwanegol ar y pynciau hyn, pan na byddai y wybodaeth newydd a gynnygid yn gwrthdaro yn ormodol yn erbyn eu rhagfarn. Gallwn gymmeryd, gan hyny, yn ganiataol fod y natur ddynol yn teimlo angen am wybodaeth helaethach o berthynas moesol Duw â dynolryw. Ond nid yw mewn un modd yn ganiataol casglu fod y diffyg yma wedi ei gyflawnu, o herwydd fod dyn mewn angen am dano, neu ddyweyd fod Duw wedi rhoddi y wybodaeth o herwydd fod dyn yn tybied fod angen arno am dano. Mae ein hanwybodaeth o drefn y bydysawd, ac o sefyllfa dyn o'i fewn, a theimlad Duw tuag ato (yn annibynol i ddadguddiad), yn rhy ddwfn i roi lle i ni dynu yn gyfiawn y fath gasgliad. Ond eto, er na feiddiwn gasglu y cyflenwad oddi wrth y diffyg, na meiddio penderfynu oddi wrth debygoliaeth blaenorol fel gwna rhai, amser, dull, a mesur y dadguddiad dymunedig—hyn, o leiaf, a allwn ei gasglu, na fyddai dadguddiad o'r fath a fyddai yn ol ein barn mor llesaol i ddynoliaeth yn beth anghredadwy. Yn hytrach, mor belled ag y caniatâ ein gwybodaeth i ni farnu, mae ergyd y tebygolrwydd yn hollol ar yr ochr arall. Ymddengys yn fwy tebygol i'r fath ddadguddiad gael ei roddi na'r gwrthwyneb. Saif mesur prin ein gwybodaeth ar y ffordd i'n rhwystro rhag casglu yn benderfynol i'r fath ddadguddiad gael ei roddi, ond mae tebygolrwydd o leiaf yn ein harwain i'r ochr hyn yn hytrach na'r ochr arall. Mae yn fwy tebyg y byddai dadguddiad nag na fyddai.

Yn olaf, heb law y golygiadau hyn am Dduw, mae y ffaith mai Efe yw awdwr a llywodraethwr dyn, a bod dyn yn medru ei adnabod (er yn ddigon cymylog) fel y cyfryw, yn ddigon i wneyd dadguddiad dyfodol yn gredadwy. Crewyd dyn gan Dduw, a rhoddwyd iddo ddeall. Y mae y deall hwn yn arwain i ryw wybodaeth ammherffaith am Dduw, digon i symbylu dynion i geisio am ychwaneg, ond nid digon i roi boddlonrwydd. Yn awr, yr oedd yr effaith hwn o wybodaeth dyn yn adnabyddus i Dduw, os nid wedi ei fwriadu a'i gynllunio ganddo. A ydyw yn anghredadwy ynte fod Duw wedi cyfryngu er mwyn boddloni yr awydd deallgar yma o'i greadigaeth ei hun? Yn hytrach, mor belled ag mae modd genym farnu, onid yw yn fwy tebygol iddo wneyd dadguddiad nag iddo beidio? Hefyd, mae y sail sydd genym i ffurfio barn yn rhy gul ac ansicr i roi lle i ni benderfynu dim i sicrwydd; ond mae y sail sydd genym i bwyso arno yn dangos yn eglur fod y tebygolrwydd dros i Dduw roddi dadguddiad yn gryfach nag iddo beidio.

Mae genym, fe welir, dair safon at ba un y gallwn appelio er mwyn profi tebygolrwydd blaenorol rhoddiad o ddadguddiad neillduol, h.y., i'n cynnorthwyo i benderfynu a ydyw yn gredadwy y bwriadai Duw ddadguddio i ddynolryw wirioneddau am dano ei hun. Y tair ydynt (1) bodolaeth o fwriad dyngarol yn natur yn arwyddo ewyllys da ar ran y Creawdwr tuag at ddynion. (2) Yr angen am wybodaeth helaethach o berthynas dyn â Duw, o herwydd ei deimlad o gyfrifoldeb ac o bechod.

(3) Yr awydd anocheladwy am wybodaeth helaethach am ei Grëwr, yn deilliaw oddi wrth ei fod yn greadur synwyrgall. Dichon fod rhesymau ereill, ond oddi wrth bob un o'r rhai a enwyd mae yr atebiad o'r un natur, er yn gwahaniaethu mewn gradd ac eglurdeb. Nid oes dim yn erbyn, dim yn arwyddo fod dadguddiad yn ammhosibl, ond yn hytrach mae rhyw gymmaint o amnaid fod dadguddiad oddi ar yr ymresymiad hwn, h.y., yr ymresymiad oddi wrth debygolrwydd blaenorol (*a priori reasoning*) yn fwy credadwy na pheidio.

Mae y gwrthresymau a ddygir ym mlaen yn gyffredin, megys yr anhawsder neu yr ammhosiblrwyd i'r Anfeidrol ddal cyfeillach â'r meidrol, yn ymddibynu mewn gwirionedd ar ein *dychymmygion* o'r hyn yw Duw, neu ar ein cymmeriad o'n hanwybodaeth o'r hyn yw, fel pe byddai yn wybodaeth, ac felly yn sylfaen casgliadau. Am hyn nid oes angen eu hystyried. Yr ydym yn gosod i lawr yn awr mor belled ag yr aethom, nad oes dim yn erbyn ei bod yn debygol i Dduw ewyllysio rhoi dadguddiad, ac ym mhellach na hyn yn gadarnhaol fod peth tebygolrwydd y gwnelai roddi. Lle gwyrthiau fel cyfrwng dadguddiad gaiff fod yn destyn yn ein pregeth nesaf. Digon fydd terfynu yn awr gyda dau rybudd. Y cyntaf yw, na fo i neb feddwl mai diangenrhaid hollol yw dwyn profion dros yr hyn sydd mor anwrthwynebol iddynt hwy. Mae y rhan fwyaf o ddynion yn ffurfio eu cred trwy rym arferiad a dygiad i fyny, yn hytrach na thrwy egwyddor cryf o ffydd oddi mewn, ac mae yn ddigon tebyg, pe daethent i ystyried mor rhyfeddol yw yr hyn a gredant, na fyddai eu ffydd yn beth mor hawdd a naturiol ag yr ymddangosa yn awr. Mae ystyriaeth o'u profion yn cadarnhau ffydd, ac yn diogelu rhag anghredin-iaeth.[1] Y rhybudd arall yw, nad gwiw i ni ddysgwyl eglurdeb cyflawn yn ein cyflwr presennol, na deall yr hyn sydd heb ei ddadguddio. Canys gweled yr ydym yr awron mewn drych trwy ddammeg *(enigma)*. Caffed amynedd ei pherffaith waith, a chawn weled eto wyneb yn wyneb.

D. W. THOMAS.

---

## HYMN.

*Cyfieithad o'r Evening Hymn, "At even, ere the sun was set."*

Cyflwynedig i Miss Johnes, Dolau Cothi, câr i'r hon sydd wedi cyfansoddi a chyhoeddi tôn dlos iawn ar y geiriau.[2]

YR hwyr pan elai'r haul i lawr,
O'th gylch mor drist gwnai'r cleifion gwrdd,
Trwy dy dosturi, Arglwydd mawr,
Mor iach mor llon ai pawb i ffwrdd:
Yr hwyr hwn eto wele ni,
Dan boenau'n llwythog y nesäwn;
Os llygad cnawd ni'th genfydd Di,
I'r galon bur wyt agos iawn!

Gwasgara'n gwaeau, Geidwad cu,
Can's rhai sydd glaf, a rhai sydd drist;
Rhai heb erioed dy garu Di,
Rhai wedi colli eu parch at Grist;
Rhai wesgir gan ofalon byd,
Rhai gan ammheuaeth pechod cas;
Rhai rwygir gan eu nwyd mewn llid,
Nas gall eu gwella ond dy ras;

Rhai wedi cael mai gwag yw'r byd,
Er hyn oddi wrtho nid ynt rydd;
Gau ffryndiau siomant rai o hyd,
Nes ceisiant Di'n wir ffrynd drwy ffydd;
Gorphwysfa lwyr 'does neb yn gael,
Mae'r goreu yn teimlo mewnol fai;
I'r goreu a'th gara, Arglwydd hael,
Nid yw heb lawer llwybr gau.

O Geidwad, maddeu ini mwy,
Fe'th brofwyd, temptiwyd fel nyni,
Dy dirion lygad wel bob clwy',
Mewn ofn a ch'wilydd guddiem ni;
Effeithiol 'nawr yw'th eiriau Di,
Pob nerth sydd eto yn dy law,
Yr hwyrol awr hon clyw ein cri,
Dwg bawb yn iach i'r ochr draw.

W. G. WILLIAMS.

*Llansawel.*

---

[1] Sylwai Archesgob Caergaint yn y rhan gyntaf o'i siars a draddodwyd ganddo yn ei Eglwys Gadeiriol, Medi 26fed, mai nid ag ofergoeledd ond ag anffyddiaeth cynnyddol mae dadl yr oes bresennol, ac os na fyddai ein hoffeiriaid yn dyfod i'r maes yn wrol, byddai y canlyniadau mwyaf anffodus ddygwydd i'r Eglwys ac i'r wlad.

[2] Novello, Ewer, & Co., London, 1876.

## GLANWEITHDRA PERSONOL A THEULUOL.

Yn ddiau, un o'r rhinweddau allanol prydferthaf a berthyn i ddyn ydyw yr un a amlygir yng ngeiriau testyn ein hysgrif, sef glanweithdra. O'r holl allanolion ag y mae a fynont, i ryw fesur, â ffurfio cymmeriadau dynion, nid oes unrhyw beth yn gosod gwedd fwy swynol a destlus ar ei gwrthddrych nag a esyd yr hyn sydd bwnc ein herthygl, nac ychwaith yr un rhinwedd o'r fath ag y gwelir y diffyg o hono yn gynt a chyda mwy o wrthuni, lle na byddo i'w gael; ac, wrth gwrs, yn ol natur pethau, y ffordd oreu i farnu gwir werth unrhyw beth, ydyw ceisio deall pa mor aml y bydd y peth hwnw yn gwneyd ei hun o ddefnyddioldeb ymarferol.

Wel, os edrychwn ar lanweithdra yn y goleuni hwn ar bethau mewn unrhyw wedd arno, yn bersonol neu yn deuluol, rhaid ydyw cydnabod ei fod yn rhinwedd ag sydd o ddefnydd parhäus—yn addurn mor ddysglaer, fel nas gellir ei hebgor unrhyw adeg heb i gruglwyth o lwydni ac annybendod adgas lenwi ei le. Wrth ei alw yn addurn, nid ydym i dybied ei fod yn rhywbeth nad ellir ei gael ond pan yn meddu "byd da, helaethwych beunydd," neu yn rhywbeth mor ddrud fel nas gall neb ond mawrion a chyfoethogion y ddaiar fforddio ei brynu a'i gadw. Na, ein syniad ydyw, ei fod yn un o anhebgorion gwerthfawr cysur pob gradd a dosbarth, ac wrth law bob amser. Gwir fod lluaws o bethau ag sydd yn tueddu at ddedwyddu a hwyluso llawer ar y ddynoliaeth yn bethau mor uchel eu pris, fel nas gall y cyffredin bobl fforddio eu cael. Ond am lanweithdra, mae yn gwbl rad, ac o wasanaeth annhraethol i bawb, a hyny, ef allai, ydyw y rheswm dros ei fod mor brin mewn llawer man. Tuedd fawr dynolryw yw esgeuluso yr hawdd a'r agos, ac ymgeisio am y pell a'r anhawdd ei gyrhaedd, er, ef allai, fod hwnw yn llawer llai ei werth ymarferol iddynt. Modd bynag, felly y gellir barnu wrth ymddygiad llawer, yn eu perthynas â mater ein hysgrif.

Eglur yw mai nid gwisgo y corff â dillad rhwysgfawr ac ardderchog, a chrogi cadwyni euraidd o gwmpas y gwddf, ac addurno ystafelloedd y ty â'r dodrefn mwyaf cywrain a drudfawr, yng nghyd â lluaws o bethau cyffelyb; eglur ydyw, meddwn, mai nid hyn ydyw glanweithdra, ond y gall fodoli ar wahân oddi wrth yr oll o'r pethau hyn; gall glanweithdra mor bur a dilychwin fodoli yng nghonglau y bwthyn mynyddig a diaddurn, ag yn ystafeloedd gorwychion y palas harddaf yn y wlad. Yn fyr, ein golygiad am lanweithdra yw hyn; ei fod yn cynnwys i wisgoedd ac eiddo personol y corff, yng nghyd â dodrefn a holl eiddo y ty, gael eu cadw yn drefnus a glanwedd. Dyna ein diffyniad ni o lanweithdra yn ei grynswth. Felly, gall gwisgoedd y gwr tlawd, sydd yn ennill ei damaid trwy chwys ei wyneb, yng nghyd â chelfi y bwthyn diaddurn ar lethr y mynydd, honi cystal hawl i lanweithdra a'r eiddo urddasolion penaf y deyrnas, os gwneir ymdrech ddyladwy tuag at hyny.

Mae moddion y puro a'r glanhau, drwy drugaredd rhagluniaeth Duw, mor gyflëus i'r tlotaf ag ydynt i'r cyfoethocaf; ac os na ddefnyddir hwynt, wrth ddrws y tlawd ei hun y gorphwys y bai. Am bobpeth gwir angenrheidiol ar ddyn tra yn y fuchedd hon, beiddiwn ddyweyd fod rhagluniaeth wedi darparu cyflawnder o'r cyfryw at wasanaeth pob gradd a dosbarth, os na bydd iddynt hwy, trwy esgeulusdod a diogi, eu hafradu a'u bwrw ymaith. Os ydyw y gemau a'r pethau drudfawr wedi eu sicrhau ag allweddau aur y cyfoethogion oddi wrth y bobl cyffredin, nid ydyw hanfodolion bywyd felly, ond y maent wrth law ac at wasanaeth y dosbarthiadau iselaf mewn cymdeithas, dim

ond iddynt arfer y moddion priodol er dyfod i feddiant o honynt: ac y mae glanweithdra yn un o'r trugareddau gwerthfawr hyn, a dyledswydd arbenig pob dyn, ïe, a dyledswydd a argymhellir yn groew gan oleuni natur, rheswm, ac Ysgrythyr, ydyw ei dderbyn a'i feithrin; ac y mae pob un o'r tri llais cryf yna yn condemnio y neb a'i hesgeuluso gyda lleferydd hyf a difloesgni.

Bellach, ar ol gwneuthur cymmaint a hyna o sylwadau cyffredinol o berthynas i'r pwnc, ni a ymdrechwn grynoi ein syniadau i ryw dri neu bedwar o wahanol agweddion ag y tybiwn fod ein mater yn ymagor yn naturiol iddynt.

1. *Glanweithdra yn ei berthynas â ffurfiad cymmeriad personol a theuluol.* Mae dyn yn greadur ag sydd yn cyfansoddi ei farn o berthynas i wrthddrychau tu allan iddo ei hun trwy luaws o arwyddion ac ymddangosiadau a genfydd yn y gwrthddrychau hyny; ac, yn wir, y mae ei waith yn gwneyd felly yn gyfreithlawn ddigon i raddau pell iawn, er nad ydyw bob amser yn sicr o fod yn hollol gywir. Ond beth bynag am hyny, mae y meddwl dynol cyn llawned o ragfarn, fel rheol, fel y bydd yn bur aml yn adeiladu tybiaeth a barn bur ddiysgog am wahanol wrthddrychau ar bwys rhyw ymddangosiadau neillduol yn y cyfryw wrthddrychau, ag ydynt yn fynych yn bethau digon dibwys ynddynt eu hunain. Ond chwareu teg i'r meddwl dynol, er ei holl ragfarn gwreiddiol, a'i fyrbwylldra anystyriol yn aml wrth farnu pethau y tu allan iddo ei hun, y mae ganddo ef hawl i sefydlu ei gredoau ar bwys tebygolrwydd ac arwyddion cryfion, yn neillduol os bydd y cyfryw yn nodweddion sefydlog yng ngwrthddrychau ei sylw a'i graffder. Wel, os cywir y gosodiad hwn, y mae genym berffaith hawl i farnu nodweddiad dyn i fesur go helaeth wrth ei ymddangosiad allanol. Yn wir, credwn mai nid gormod ydyw dyweyd mai drych ydyw y dyn allanol ag y gellir gweled yn go bell drwyddo i ystafelloedd dwfn a chuddiedig "tu fewnol ddyn y galon." Mae perthynas mor agos rhwng y mewnol a'r allanol, fel nas gall y naill lai na cherfio ei ddelw yn bur ddwfn ar y llall. Yn wir, credwn mai nid syniad gwyllt a disail ydyw hwn, o blegid dyma y gareg sylfaen ar ba un y goruchadeilada dynion drwy yr oesoedd yn eu hymdrech i ddyfod i ddealltwriaeth glir o gymmeriadau a thueddiadau eu gilydd. Pan welwn unrhyw ddyn dyeithr fyddo yn gwisgo agwedd frwnt ac aflêr, ei wisgoedd yn aflan, a'i holl ymddangosiad yn llawn annhrefnusrwydd a bryntni, yr ydym yn dra pharod i ffurfio barn gul ac anffafriol am y cyfryw un, ac yn bur chwannog i gymmeryd ein rhyddid i baentio ei gymmeriad moesol ar bwys y cymhorth a gawn at hyny trwy ei ymddangosiad allanol. Fel rheol y mae ymddangosiad allanol brwnt ac aflêr yn ddarlun go gywir o sefyllfa ac agwedd y galon; nis gall y sawl sydd yn caru purdeb moesol, ymhyfrydu mewn agweddiad allanol frwnt a hagr. Mae rhywbeth mewn purdeb a glendid moesol ag sydd yn creu awydd yn ei berchenog am feddu glendid naturiol hefyd, cyn belled ag y byddo amgylchiadau yn caniatäu. Ac, yn wir, y mae bywyd y duwiolion mwyaf llachar a dysglaer eu cymmeriadau crefyddol yn myned ym mhell iawn i brofi y gosodiad hwn; pobl drwsiadus lanwedd ydyw y cyfryw bron yn ddieithriad.

Os dygwydd i unrhyw ddyn, yn enwedig dyn o chwaeth lednais a phur, alw mewn teulu dyeithr ryw dro, nid rhaid iddo aros nemawr yno, na sylwi ond pur ychydig o'i gwmpas, cyn y bydd yn meddu ar ddirnadiaeth go glir o berthynas i foesau a sefyllfa y teulu, a hyny wrth agweddiad a threfn y ty, gwisgoedd ei breswylwyr, a'u hymddangosiad cyffredinol. Os bydd y dodrefn yn

llyohlyd a brwnt, dillad y plant yn aflân a thyllog iawn, ac annhrefn i'w ganfod yn a thu allan i'r ty, ond odid na chymmer yr ymwelydd dyeithr ei ryddid i dynu casgliad anffafriol am foesau y teulu; ac yn wir y mae ganddo hawl i wneuthur hyny, am mai arferiad pobl isel eu moesau yw arwain bywyd allanol aflan a brwnt; ac am mai arfer pobl o foesoldeb uchel a phur ydyw cadw eu hunain a'u tai yn ddestlus, cryno, a glân. Mae y ffaith fod dyn neu ddosbarth o ddynion yn tebygu yn gryf, yn y lleiaf, i ryw ddosbarth gwaradwyddus ac isel arall, ar unwaith yn rhoddi trwydded i'r byd i dynu y casgliad fod y cyfryw yn tebygu i'r dosbarth hwnw, yn y mwyaf hefyd, sef yn eu moesoldeb. "Os gwelir cynffon y llwynog yn y twll, gellir penderfynu ar unwaith fod y llwynog ei hun i mewn yno." Ond, a chaniatäu y gall ymddangosiad allanol dyn neu deulu o ddynion ddygwydd bod yn annyben a brwnt, ac ar yr un pryd fod y cyfryw yn meddu ar gymmeriad moesol gwych a da, onid yw y ffaith fod eu hymddangosiad corfforol yn fudr ac aflan yn rhoddi lle cryf i ddyeithriaid i ffurfio barn gul am eu moesau a'u cymmeriadau? Gan hyny, eu dyledswydd arbenig ydyw peidio â rhoddi cyfleusdra i neb i ffurfio barn gyfeiliornus am danynt.

Ym mhellach, fel y dywedir fod "ymddyddanion drwg yn llygru moesau da," gellir dyweyd hefyd fod byw yng nghanol budreddi ac aflendid allanol yn tueddu yn gryf i arwain at lygriad y galon: mae gan yr allanol ddylanwad a gallu cryf ar y mewnol, fel y mae gan y mewnol ar yr allanol. Y dyn neu y teulu sydd yn byw yng nghanol brynti ac aflendid allanol, mae bron yn rhwym o deimlo fod sefyllfa ei galon a'i foesoldeb yn gwaethygu yn raddol, ond sicr. Y plant a fegir yng nghanol aflendid teuluaidd, bydd creithiau eglur i'w canfod ar eu cymmeriad moesol wedi y tyfont i oedran a phrofiad. Nis gallant dderbyn argraffiadau daionus ar eu calonau ieuengaidd yng nghanol tryblith o lygredd ac aflendid. Hefyd, y mae y ffaith fod ymddangosiad personol aflan yn creu drwgdybiaeth o barthed i'r cymmeriad, yn arwain yn uniongyrchol at ddrygu a niweidio yr amgylchiadau. Er enghraifft, tybiwn fod ysgolhaig gwych, ond o ymddangosiad bawlyd ac annghryno, yn cynnyg am ryw swydd bwysig yng nglŷn â masnach neu rywbeth arall, er fod ynddo, hwyrach, bob cymhwysderau naturiol i'r gwaith, eto, byddai ei ymddangosiad gwael a salw yn rhwym o beri i'w gyflogwyr ei ddrwgdybio. Naturiol iawn fyddai iddynt dybio ei fod yn ddyn meddw ac afradlawn—y fath fel nas gallent drosglwyddo eu hymddiriedaeth bwysig hwynt byth i'w ddwylaw. Gwyddom am brofion o bethau felly wedi cymmeryd lle. Ië, gwyddom am rai talentau dysglaer wedi cael eu claddu i ebargofiant bythol, yn unig o herwydd eu bod yn llochesu yng nghanol tomenau drewedig o aflendid a ffieidd-dra. Y fath drueni dybryd fod gemau dysgleiriaf a drutaf y ddynoliaeth yn cael eu crystio i fyny yng nghanol llaid a budreddi drewllyd; y rhai, pe cawsent eu dynoethi, a allent fod y ser dysgleiriaf ar wyneb ffurfafen llenyddiaeth a chrefydd.

Yn wir mae yr oes hon ar y byd yn un nodedig am farnu dyn wrth ei ymddangosiad allanol a'i wisgoedd. Ni osodwyd erioed fwy o bwysigrwydd ar liw a thoriad y brethyn, ar oruchwyliaeth y dwfr a'r sebon, &c., ac felly, dylid, ar bob cyfrif, ofalu bod y gwisgoedd yn lanwedd a threfnus, onid e, fe geir teimlo sen a gwawd cymdeithas yn bur fuan. Gwyddom yn dda fod rhai yn rhoddi *gormod* pwys ar hyn, ond yn wir mae yn anhawdd bod yn rhy greulawn wrth aflendid ac aflerwch rhai dynion yn eu gwisgoedd. Dyledswydd pawb sydd yn parchu eu cymmeriadau

ydyw bod yn ddestlus a glanwedd o ran eu cyrff a'u gwisgoedd, hyd mae yn eu gallu i fod felly.

2. *Glanweithdra yn ei berthynas â chysuron personol a theuluol.* Mae dyn yn fod sydd yn llawn o gymhwysderau i fwynhau cysur a dedwyddwch yn y byd a'r bywyd hwn; ac y mae y cyfryw fendithion gwerthfawr i ddylifo i'w enaid o wahanol gyfeiriadau. Mae yn drachtio ei gysuron o wahanol ffynnonau, ac os bydd un o'r ffynnonau gloew, hedegog hyn wedi ei chau, bydd ei gysuron yntau yn brinach, a'i ofidiau yn dra sicr o luosogi a mwyhau. Felly ei ddyledswydd ydyw bod ar ei oraf i gadw y ffynnonau gwerthfawr hyn yn agored bob amser, fel y gallont ddiwallu angenion ei enaid lluddedig. Ym mhlith ereill, ffynnon loew risialaidd, o ba un y disycheda dyn ei hun yn aml, ydyw glanweithdra. Y mae y ffynnon ragorol hon wedi profi ei hun yn foddion effeithiol iawn i ddyddanu llawer ysbryd isel, ac i fywiogi llawer calon lesg cyn hyn, ac y mae yn parhau yn ei rhinwedd o hyd, ac i barhau eto yn y dyfodol.

O, gymmaint mwy o gysuron sydd yn y teulu hwnw sydd yn parchu deddfau glanweithdra, nag yn y teulu sydd yn ymdroi yng nghanol eu budreddi. Er enghraifft tröwn am ennyd, o ran ein meddwl, am bump o'r gloch yn y prydnawn, i dy rhyw weithiwr cyffredin, gwraig a phlant yr hwn sydd yn parchu glendid a destlusrwydd, ac yn ymddwyn yn unol â'u deddfau. Dacw y wraig siriol yn eistedd ar aelwyd lân a thaclus, a'i phlant mor hoew ac mor lân ag adar y nefoedd. Mae Moc wedi berwi er ys meityn bellach, ac yn canu yn braf ger llaw y tân. Mae llonaid yr aelwyd o dân gwresog yn taflu ei belydr ar ddodrefn dysglaer y ty, y rhai sydd mor loew a'r gwydr. Mae y ty oll fel Paradwys fechan, a phob peth ynddo yn ymddangos yn ei le priodol ei hun. O, mor ddestlus a phert yr olygfa. Ym mhen ychydig fynydau dacw wr y ty yn dyfod tuag adref, a golwg lesg a blin arno. Ond erbyn ei fod yn anadlu yn awyrgylch iachus ei deulu, ac o flaen gwenau siriol priod ei fynwes a phlant ei ymysgaroedd, anghofia ei holl flinder. Dacw ef bellach yn eistedd yn gymfforddus yn yr hen gadair freichiog gyssegredig a gafodd yn ewyllys ei dad; ac erbyn hyn dyna swn y llestri te fel sain clychau arian yn disgyn yn felodaidd ar ei glustiau, ac y mae pobpeth o'i amgylch mor lân a thlws a phe buasai yn byw mewn byd anllygredig. O mor fwynol yr olygfa deuluaidd hon.

Tröwn eto tua'r un amser yn y prydnawn i dy y wraig ddiog, aflan, nad yw yn gwneuthur nemawr o ymgais at fod yn ddestlus a glân. Och, mor wrthun yr olygfa geir yno—llwch a baw yn anurddo holl brydferthwch ei thy, er fod yno rai dodrefn costfawr a chywrain. O'r braidd y gallwn weled un wreichionen o dân ar yr aelwyd, ac nid oes un arwydd am wneuthur parotoadau gogyfer â dyfodiad y gwr adref oddi wrth lafur maith a chaled y dydd. Mae gwynebau a dillad ei phlant yn cael eu cuddio gan drwch o faw, ac y mae pobpeth yn tystio fod gelyniaeth rhwng y dwfr a brenines y teulu. Yn y man daw y gwr i'r ty, ac wfft mor sych y derbyniad a rydd ei briod iddo. Druan o hono, dydd ei briodas oedd y dydd mwyaf chwerw a thwyllodrus hyd yn hyn. Credwn fod amryfusedd ac aflendid teuluaidd o'r fath yna wedi peri i ugeiniau o ddynion gobeithiol unwaith fyned i'r dafarn i geisio rhyw wag bleserau, am nad oedd yr un pleser i'w gael iddynt ar eu haelwydydd eu hunain, a'r diwedd fu iddynt fyned yn feddwon cyhoeddus. Ow! drueni dybryd, onid e?

Credwn fod yn ammhosibl i unrhyw un sydd yn esgeuluso glanweithdra i etifeddu cymmaint o gysuron a'r

hwn sydd yn ei feithrin. Nis gall yr anghryno a'r budr, debygem, fwynhau ei hun yn dda ym mhlith dosbarthiadau moesgar ac urddasol, o herwydd y byddai mewn perygl o gael ei gymmeryd yn destyn gwawd gan y cyfryw. Nis gall y wraig fudr ennill cymmeradwyaeth a pharch ei rhyw ei hun, ac nis gall neb ymddiried fod yr hyn a goginodd ei dwylaw yn ymborth glân a chymhwys. Y mae diffyg glanweithdra ar unwaith yn anghymhwyso dyn neu ddynes i etifeddu lleng o gysuron gwerthfawr ag sydd yn meddiant dynion ereill. Credwn fod hir ymarfer â byw newn aflendid yn ysbeilio dyn o rai o deimladau godidocaf ei natur, ac yn foddion i'w ddarostwng yn nes at yr anifail yn barhäus. Mae dyn wedi ei fwriadu i fod yn arglwydd y greadigaeth; efe yw y creadur mwyaf ardderchog ar wyneb daiar Duw, ond yn sicr wrth hir ymarfer â byw mewn brynti, mae ei gynneddfau goraf yn rhwym o fod yn cael eu niweidio yn fawr. Po fwyaf cydnaws y byddo yn myned â'i sefyllfa ddarostyngedig, gwanaf oll y mae ei ddynoliaeth yn myned. Mae yn crebachu ac yn gwanhau fwyfwy yn barhäus o ran ymadferthoedd ei enaid.

Math o rwd difaol ydyw aflendid ag sydd yn bwyta holl gysuron gwerthfawr corff ac enaid dyn, ac yn ymdaenu tros holl harddwch ei berson nes ei ysbeilio yn llwyr yn y pen draw o'i holl ardderchogrwydd uchel. Cynghor y gwr doeth ydyw, "Bydded dy ddillad yn wynion bob amser," ac y mae y neb sydd yn gommedd ufuddhau i'r cynghor yn gorfod dwyn penyd llym o herwydd eu hystyfnigrwydd ffol. Yn wir adwaenwn rai dynion â chanddynt y fath ymlyniad wrth yr arferiad o wisgo hen ddillad budr a charpiog, fel mai gorchwyl anhawdd iawn ydyw cael ganddynt i wisgo dim yn amgen, er eu bod yn meddu ar ddigon o gyfoeth i fforddio gwneuthur yr ymddangosiad mwyaf gwych a thrwsiadus; gwell ganddynt wisgo hen ddillad crestiog ac aflan, na chael eu gwisgo â dillad pryd-weddol a hardd. Pe gelwid arnynt i fyned i wyddfod y brenin, credwn yr elent yno mewn carpiau aflan yn hytrach nag mewn dillad gweddus a glân. Mae y dosbarth hwn hefyd yn meddu y fath ragfarn dwfn at lendid a gweddeidd-dra, fel y galwant y cyfryw yn eu ffurfiau mwyaf syml yn goegni a balchder gwastraffus a difudd. Atolwg, pa fath chwaeth a raid fod gan y dynion rhyfedd hyn? Nid oes ganddynt ddim parch i foesgarwch cyffredin, nac iddynt eu hunain, mewn gwirionedd. Maent yn fwrn drewedig ar gylla cymdeithas, ac yn llawn o anghysurwch iddynt eu hunain, debygem ni; ac, fel rheol, myned yn fwy ystyfnig yn eu ffordd y maent fel y byddont yn heneiddio, ac os byddant mor anffodus a byw i weled hen ddyddiau, ow, mor welw a thruenus yr olwg arnynt—maent wedi hanner pydru yn eu llygredd.

Gwelwn yn eglur, ynte, fod a fyno glanweithdra, i fesur pell iawn, â chysuron bywyd teuluoedd a phersonau; mae yn dyrchafu, yn urddasu, ac yn dedwyddu llawer ar y rhai a'i hoffant; ac o'r tu arall, y neb a'i diystyra a wna ei hun cyn hir yn ddiystyrllyd a gwael yng ngolwg y byd, ac a bentyra ddefnyddiau gofid a galar iddo ei hun ryw adeg o herwydd ei aflendid ffol.

(*I'w barhau.*)

---

## SYLWADAU AR IEITHYDDIAETH.

NID oes braidd un astudiaeth yn fwy dyddorol na ieithyddiaeth. Y mae nid yn unig yn dangos tarddiad geiriau mewn iaith, ond hefyd yn taflu goleuni ar berthynas gwahanol ieithoedd i'w gilydd. Dengys ieithyddiaeth gydmariaethol (*comparative philology*) nas gallai fod mwy camsyniad nag eiddo Dr. W. O. Pughe a'i

ddysgyblion, yn olrhain pob gair Cymreig i wreiddyn Cymreig, yn hollol anymddibynol ar bob iaith arall. Gorfodir arnynt yn aml i ffurfio gwreiddiau na fuont erioed mewn bodolaeth ond yn eu hymenyddiau eu hunain, gan briodoli ystyr dychymmygol i'r cyfryw wreiddiau a fyddai yn taro oreu at eu pwrpas. Y gwirionedd yw, nad oes un iaith yn y byd yn sefyll ar ei phen ei hun, ond eu bod oll yn dwyn perthynas i'w gilydd fel chwiorydd, neu ferched, neu gyfnitherod, ac felly yn y blaen. Gallwn ddychymmygu rhyw hen famiaith yn y dechreu (fel y mae yn sicr yr oedd) yn cael ei siarad gan gymmaint o'r teulu dynol ag oedd y pryd hyny ar y ddaear, ac yna, fel yr oeddynt yn amlhau ac yn ymwasgaru, fod cyfnewidiadau yn cymmeryd lle yn raddol ynddi, nes o'r diwedd yr oedd iaith y gwahanol ddosbarthiadau yn hollol annealladwy i'w gilydd. Gwelir hyn, i raddau, ym mhlith trigolion Gogledd a Deheudir Cymru, y rhai sydd yn gwahaniaethu nid ychydig y naill oddi wrth y llall, a hyny mewn dau beth ag sydd yn elfenau cryf o amrywiaeth, sef *swn* ac *ystyr* geiriau. Rhaid i ni gofio bod yr un achosion o amrywiaeth yn parhau i weithredu ym mhob oes, eu bod yr un yn awr ag yn y dechreu, a'r un yn y dechreu ag yn awr; ac felly cymmerwn enghreifftiau diweddar yn y sylwadau hyn i esbonio ein meddwl mewn perthynas i'r hyn a gymmerodd le yn yr oesoedd cyntefig.

Nid annyddorol fyddai i ni fanylu ychydig ar yr achosion a barent amrywiaeth mewn ieithoedd, neu y gwahanol ffyrdd ym mha rai y gallwn feddwl iddi ddyfod i fodolaeth. Un achos oedd neillduolrwydd swnio llythyrennau mewn rhai personau, yn tarddu naill ai o ryw ddiffyg yn y peiriannau ymadrodd, neu, ef allai yn fynychaf, o ddiffyg yn y glust (*want of ear*, fel dywed y Saeson). Er enghraifft, lle y rhoddai'r Cymry sain *p* mewn geiriau, byddai'r Gwyddel yn rhoddi sain *c*; megis, Cymraeg, *pen*, *pren;* Gwyddelaeg, *ceau*, *cran*. Clywsom ddau frawd weithiau yn swnio geiriau yn wahanol iawn i'w gilydd. Yn awr, pan ymwasgarai brodyr o'r fath hyn, a sefydlu llwythau ar wahân, ac ym mhell oddi wrth eu gilydd, disgynai y cyfryw wahaniaeth i'w hiliogaeth, ac arosai felly. Dan y pen hwn gellir gosod y tueddiad cyffredin iawn ym mhob oes a gwlad i swnio llythyrenau yn o chwith i'w gilydd, yn ol y ffugr *metathesis*, megis *wysnoth* yn lle wythnos, a'r cyffelyb. Weithiau, ymddengys y *metathesis* a'r cyfnewidiad llythyren gyda'u gilydd, megys *apped* yn lle ateb, *wymed* yn lle wyneb, &c. Mae y cyfnewidiadau hyn yn ddigon aml yng Nghymru.

Cyn gadael y pen hwn, gallwn sylwi ar arferion gwahanol lwythau o newid geiriau trwy adael allan ryw lythyrennau, neu ynte ychwanegu llythyrennau attynt. Gadewir llythyrennau allan weithiau yn nechreuad geiriau, weithiau yn y canol, ac weithiau yn y terfyniad. Gwelir tueddiad neillduol at hyn yn y Ffrangcaeg pan yn benthycca geiriau oddi wrth y Lladin, &c., megis *croire* (credu) oddi wrth y Lladin *credere*, trwy adael y *d* yn y canol allan. Pan ddechreuir gair Lladin â *sp*, yn gyffredin rhagddodir y bogail *e*, ac yn fynych gadewir allan y cydsain *s*, megis Lladin, *spina* (draen), Ffrangcaeg, *épine*. Drachefn, nid oes dim yn fwy cyffredin na gadael allan swn y llythyren olaf; yn fynych, trwy fod *cyfnewidiad* llythyrennau a'u *gadawiad allan* yn cydweithredu mewn ieithoedd, daw gair i wisgo agwedd mor ddieithr, fel nas gellir ar yr olwg gyntaf eu hadnabod. Dyna'r Groeg, *dakru* (deigryn); yn y Lladin ceir ef yn *lachry*-[ma]; ac yn Ffrangcaeg yn *larme*. Mae y *d* wedi troi yn *l*, a'r *k* neu *ch* ganol wedi ei thynnu allan. Mewn cyffelyb fodd, trwy gyfnewid *d* yn *t*, a gwneud yr

un peth ag o'r blaen â'r llythyren ganol, mae yr un gwreiddyn *dakru* yn troi yn Saesonaeg *tear*. (A ellir dychymmygu dau air mwy gwahanol na *larme* a *tear?* ac eto gwelir mai dwy gyfnither, neu rywbeth cyffelyb, ydynt.) Ychwanegiad at eiriau eto. Fel enghraifft o hyn, digon yn awr fydd nodi y llythyren *s*, yr hon a osodir i mewn mor aml yn nechreu geiriau mewn amryw ieithoedd, megis Cymraeg, *mwg;* Saesonaeg, *smoke;* Groeg, mewn un dalaith, *mikros* (bychan); mewn talaith arall, *smikros*.

Ffordd arall trwy ba un y cyfododd amrywiaeth ieithoedd oedd—bod un genedl yn cadw y gwreiddair (yr hwn ar hyn o bryd y cyfrifwn yn sylweddair neu *substantive*), ac ereill yn colli *hwnw*, ac yn defnyddio ei darddeiriau yn unig. Enghreifftiau: Hebraeg *kōl* (llais), Groeg *kaleo*, Cymraeg *galw;* Cymraeg *llaw*, Gwyddelaeg *lamh*, Groeg *lambano* (cymeryd); Cymraeg *troed*, Allmaenaeg *treten* (damsang), &c. Mae'r ieithoedd y perthyna'r berfau (*verbs*) uchod iddynt wedi colli'r sylweddeiriau o ba rai yr hanasant, ac felly defnyddiant sylweddeiriau ereill, yr hyn o angenrheidrwydd a bair ddieithrwch yn y naill iaith at y llall.

Maes dyddorol iawn i'w chwilio, pe caniatäi amser, fyddai olrhain tarddiad lluaws o ansoddeiriau (*adjectives*) oddiwrth y gwahanol wrthddrychau y galwyd hwy oddiwrthynt. Cyfyngaf fy hun yn awr at yr un sydd yn dynodi y lliw *melyn*. Diammeu i'r Cymry ei gymmeryd oddiwrth *mêl*, gan fod hwnw yn wrthddrych y trigai'r ansawdd a feddylir ynddo, ac y mae yr un mor debygol i'r Gwyddelod gymmeryd eu gair oddiwrth *ymenyn*, i'r hwn y perthynai yr un lliw. Dewisid y geiriau hyn wrth fympwy y gwahanol genedloedd: cymmerent unrhyw beth y perthynai y lliw *melyn* iddo i arwyddo yr hyn a geisient ei ddynodi. Gallwn feddwl y byddai amrywiaeth fawr iawn yn tarddu oddi wrth achos fel hwn.

Achos arall o amrywiaeth ieithoedd oedd, bod y llwythau gwasgaredig yn myned o dipyn i dipyn i ddefnyddio geiriau mewn gwahanol ystyr. (Cofier eto, ein bod yn dwyn enghreifftiau diweddar i ddangos yr hyn sydd wedi bodoli erioed.) Dyna'r Gymraeg, *prudd;* Lladin a Seisoneg, *prudens* a *prudent* (gan mai naturiol yw cyssylltu callineb â sobrwydd gwedd neu ymarweddiad); Ffrangcaeg a Saesonaeg, *prude* (h.y., mursen, neu fenyw a fyddo'n cario'r ymddangosiad allanol o ŵylder i eithafion); Saesonaeg *proud;* Ffrangcaeg, *prud'homme* (un a fyddo'n feddiannol ar y cyfryw falchder ag a'i hettyl rhag cyflawnu gweithred isel neu annheilwng). Gwelir bod rhyw berthynas yn rhedeg trwy'r geiriau hyn i gyd, er bod eu hystyr pennodol yn amrywio.

Achos arall drachefn o amrywiaeth ieithoedd oedd, bod rhaid i ddynion gael geiriau i ddynodi pethau anweledig a thufewnol, y rhai nid oeddynt wrthddrychau y cynneddfau allanol neu gorphorol; ac felly yr oeddynt dan yr angenrheidrwydd o ddefnyddio hen eiriau mewn ystyr newydd a chyffelybiaethol. Gan na fyddai pob llwyth yn trosglwyddo *yr un gair* fel hyn o'i ystyr blaenorol a llythyrenol i ystyr cyffelybiaethol, hawdd i ni weled fod yma ffynnonell helaeth o amrywiaeth. Dyna'r Lladin, *video*, yn aros yn ei ystyr llythyrenol (*gweled*), a dim ond yn hwnw; yn y ffurf Gymreig, dyna yr un gair (*gwyddost*, *gwyddom*, &c.) wedi ei ysgaru'n hollol oddiwrth yr ystyr llythyrennol, a'i gylymu wrth yr ystyr cyffelybiaethol yn unig. Byddai gwahanol lwythau yn amrywio cymmaint yn eu dewisiad o eiriau allanol (fel y gellir eu galw) i ddynodi pethau tufewnol, ag y mae mympwyon gwahanol ddynion yn amrywio; ac felly braidd y gallwn osod terfyn ar y peth.

Nid yw yr hyn a ddywedwyd yn dangos bod y Lladin yn henach iaith na'r Gymraeg, ond yn unig fod

Lladin wedi digwydd cadw ystyr blaenaf y *gair hwn*, tra mae y Gymraeg wedi digwydd ei golli. Y mae yn eithaf tebyg fod geiriau ereill yn y rhai y mae go chwith i hyn.

Gan yr elai ein hysgrif yn rhy faith i geisio dim ond crybwyll am yr aneirif achosion a barent gyfnewidiadau mewn iaith, rhaid i ni brysuro tuâ'r terfyn. Gallwn sylwi fod y fath *dueddiad* anorchfygol mewn iaith i amrywio, fel y byddai yn hollol tu hwnt i ddyfais a gallu dyn i'w wrthsefyll. Sonia dynion am yr hyn a gymmerodd le yn Babel megis yr unig achos o gymmysgiad ieithoedd, a'u hymddyeithriad oddiwrth eu gilydd; ond y gwir yw, na ddarfu i'r gwyrth hwnw ond gwneyd ar unwaith yr hyn fuasai yn sicr o gymmeryd lle o hono ei hun ym mhen talm o amser, a dim ond un ymysgariad ieithoedd ydoedd ym mhlith cannoedd sydd wedi bod wedi hyny. Yr unig wahaniaeth oedd, fod hwnw yn uniongyrchol, a'r lleill yn raddol.

Mae yn eglur oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, ba mor hawdd oedd i'r iaith gyntefig ymrannu mewn ychydig amser yn amrywiol ieithoedd, ac i bob un o'r rhai hynny drachefn ymrannu yn amrywiol ganghennau, nes o'r diwedd i'r byd arddangos yr amrywiaeth fawr a welir yn bresennol. Ofer, ynte, dyweyd fod unrhyw iaith yn anymddibynol, ac yn sefyll ar ei phen ei hun. Ychwanegir at yr hyn a ddywedwyd o'r blaen, y *cymmysgiad* ieithoedd a ddeilliai o angenrheidrwydd oddiwrth ymgymmysgiad gwahanol genedloedd â'u gilydd ar ol eu hymraniadau cyntaf, ac yna gwelwn y rhaid bod benthyciad mawr gan y naill oddiwrth y llall. Pwy a all lai na theimlo'n sicr fod y Rhufeiniaid, ar ol llywodraethu yn yr ynys hon am bedwar cant o flynyddoedd, wedi gadael lluaws mawr o'u geiriau ar ol, i ymgymmysgu â'n Cymraeg ni yn bresennol? Ac etto nid yw hyn yn profi bod y Lladin yn henach iaith na'r Gymraeg, ond bod y Cymry naill ai wedi gollwng eu geiriau eu hunain i golli, a mabwysiadu rhai o eiddo eu llywodraethwyr yn eu lle, neu eu bod wedi derbyn geiriau i ddynodi pethau ag oeddynt yn anadnabyddus iddynt o'r blaen, ac felly nad oedd angen am danynt. Y mae genym dystiolaeth Varro, i'r Rhufeiniaid fenthyca *dau* air o leiaf oddi wrth y Brytaniaid, sef *bascauda* (basged) a *petorotom* (cerbyd â phedwar rhod, neu olwyn), ac felly nid yw'r ddyled i gyd o un ochr. At y rhai hyn gellir ychwanegu *rheda* (cerbyd), oddiwrth *rhedeg*. Megis y darfu i'r Brytaniaid fenthycca geiriau oddi wrth y Rhufeiniaid, gallent hefyd fenthycca geiriau oddi ar genedloedd eraill ar eu taith o Asia i'r wlad hon, a rhoddi rhai o'u geiriau eu hunain iddynt hwythau mewn ffordd o gyfnewid. Nis gallwn feddwl bod cydgyffyrddiad hir rhwng unrhyw genedl a'r llall, heb fod cymmysgedd iaith i ryw raddau. Y peth a feiwn mewn rhai geirdarddwyr Cymreig yw hyn; eu bod o lwyr benderfyniad cael gwreiddyn Cymreig i bob gair Cymreig (yr hyn a wnai'r iaith yn wahanol i bob iaith ar wyneb y ddaear), ac i'r dyben hyn yn llunio gwreiddiau wrth eu mympwy, heb ofalu a oes awdurdod am danynt neu beidio. Y ddau air a ddaw i'n cof yn bresennol ydyw *tangnefedd* a *chelfyddyd*. I'r cyntaf, lluniant y gwreiddyn *tangc*, yr hwn nid oes genym un sail i feddwl ei fod yn perthyn erioed i'r iaith Gymraeg; ac i'r olaf, saernïant y gwreiddyn *celf*, yr hwn sydd mor ddiawdurdod a'r llall. Pa ham y mae hyn yn bod? O herwydd eiddigedd dros anrhydedd y Gymraeg, tebygem; ond y mae hyny yn hollol afreidiol. Mae'r Gymraeg mor hened ac mor bured iaith, ef allai, ag un sydd yn awr ar y ddaear, ond gan mai *free trade* sydd wedi bod rhwng yr ieithoedd trwy'r oesoedd i gyd, pob un yn

rhoddi ac yn derbyn, nid yw yn un dianrhydedd iddi nad yw ei geiriau oll yn hanedig o honi ei hun.

---

## HANES LLOFRUDDIAD WILLIAM POWELL, YSW., GLANARAETH, SIR GAERFYRDDIN, YN 1770.

(*Parhâd o dudalen* 322.)

CYMMERWYD William Thomas a William Morris i fyny y drydedd waith yn y Drefnewydd, Maldwyn, gan Mr. Richard Williams ac ereill, a thraddodwyd hwy i garchar Caerfyrddin. Dygwyd William Morris i fyny yn gyfrwywr, ond yr oedd yn gweithio yr amser yma mewn tanerdy. Yr oedd William Thomas yn pasio fel crydd, er iddo gael ei ddwyn i fyny yn fenygwr. Cafwyd caseg Williams gan Mr. Richard Williams o fewn tair milltir i Drefnewydd. Traddodwyd William Charles, mab Charles Dafydd Morgan, i Gaerfyrddin ar ddrwgbybiaeth. Bu Mr. Illtyd Thomas, cyfreithiwr, Abertawy, yr hwn oedd yn gyfaill i Mr. Powell, yn ddiwyd iawn, yr hyn oedd yn anrhydedd iddo. Er fod y gost yn fawr, erlyniodd y fileiniaid hyn ei hunan. Symmudwyd y carcharorion i Henffordd ar y 23ydd o Fawrth trwy wŷs *Hæbeas Corpus*, Llys y *King's Bench*. Aeth sirydd Caerfyrddin, Syr William Mansell, ac ereill gyda hwy i'r Gelli, lle y cyfarfu sirydd Henffordd a'i swyddogion â hwynt.

### Y PRAWF.

William Spiggot neu Spickett, John Spiggot neu Spickett, William Morris, William Thomas *(Blink)*, Dafydd Morgan, *alias* Lacey, William Walter Evan, Charles Dafydd Morgan, William Charles, Dafydd Llewelyn, a gyhuddwyd o lofruddio William Powell, boneddwr, ar y 27fed o Fawrth, yn y 10fed flwyddyn o deyrnasiad Brenin Sior III., ac ym mlwyddyn ein Harglwydd 1770, o flaen yr Anrhydeddus Mr. Barwn Perrot a Mr. Yates. Yn ol gorchymmyn y Llys, yr hwn oedd yn eistedd, dygodd ceidwad y carchar gyrff y carcharorion o flaen y *bar*. Dygodd uchel-reithwyr sir Henffordd *true bill* yn eu herbyn. Darllenodd y *Clerk of Arraigns* y cyhuddiadau:—"Yr ydych chwi wrth eich henwau, William Williams, diweddar o dref Llanymddyfri, yn sir Gaerfyrddin, llieinydd; John Spiggot neu Spickett, diweddar o'r un lle, eilliwr; William Morris; William Thomas (Blink); Dafydd Morgan neu Lacey; William Walter Evan, diweddar o Llangadog; Charles Dafydd Morgan o'r un lle, ffermwr; William Charles o'r un lle; Morgan James o blwyf Llandeilo Fawr, *pedler;* a Dafydd Llewelyn, ffermwr o blwyf Myddfai, sir Gaerfyrddin; heb ofn Duw o flaen eich llygaid, ac yn cael eich hannog gan y Diafol ar yr 8fed o Ionawr, yn y 10fed flwyddyn o deyrnasiad ei Fawrhydi Arglwydd Penadur Sior III., Brenin Prydain Fawr, &c.; arfogi eich hunain ym mhlwyf Llangadog, sir Gaerfyrddin, yn lledradaidd yn wirfoddol, ac o falais rhagfwriadol, ymosod ar William Powell, yr hwn oedd yn y lle a'r pryd mewn heddwch â Duw a'r rhagddywededig Arglwydd Frenin, ac i'r dywededig William Williams, â chleddyf noeth wedi cael ei wneyd o ddur a haiarn o werth pum swllt, yr hwn oedd yn llaw ddeheu William Williams yn y man a'r lle; ac iddo yn y man a'r lle yn wirfoddol, ac o falais ym mlaen llaw, daro, gwthio, a gwanu y dywededig William Powell yn ac ar ochr ddeheu brest y dywededig William Powell, gan glwyfo y dywededig William Powell yn farwol, yn un fodfedd o led a phump o ddyfnder, yn ac ar ochr ddeheu y dywededig William Powell; o'r clwyf hwn bu William Powell farw yn y man a'r lle; a bu i'r dywededig William Spiggot, John Spiggot, William Morris, William Thomas, *alias* Blink, Dafydd Morgan neu Lacey,

William Walter Evan, Charles Dafydd Morgan, William Charles, Morgan James, Dafydd Morgan, Morgan a Dafydd Llywelyn, gyflawnu y llofruddiaeth dywededig yn wirfoddol ac o falais ym mlaen llaw, yn bresennol i bleidio a chynnorthwyo y dywededig William Williams i ladd a llofruddio y dywededig William Powell yn y dull a'r modd a nodwyd."

Tyngwyd John Price, cyfreithiwr, i fod yn gyfieithydd, yr hwn a'i cyfieithodd i'r carcharorion. Plediodd yr oll o honynt yn ddieuog. Ar ol hyn dygwyd hwy yn ol i'r carchar am hanner awr wedi chwech yn y boreu. Dygwyd deuddeg rheithiwr ar y pannel:—Mathew Millar, Ross; William Hardwick, Weston Penyard; Phillip Palmer, Llangarren; James Wellington, Ross; James Mynd, Hampton Bishop; Henry March, Pontrylass; Nicholas Gilbert, Cluddock; John Oven, Canon Pyon; Thomas Baylys, Bromyard; John Hebb, Kington. Ymddangosodd y Meistri Walker ac Ashurt dros y Goron. Galwyd Walter Evan. Tystiodd ei fod yn byw yn Llanymddyfri, Ionawr diweddaf, a'i fod yn egwyddorwas i Dafydd Morgan, tincer. Yr oedd ef yn adnabod William Williams a Dafydd Llewelyn. Ffermwr oedd yr olaf. Yr oedd yn adnabyddus â William Spiggot beth amser, ac yr oedd yn credu mai barfwr oedd, ac yn cadw tafarn. Gofynodd y barnwr iddo am nodi allan Dafydd Morgan, William Spiggot, a William Morris. Cyfrwywr oedd William Morris, ac yn byw yn Llanymddyfri, ond ni welodd Morris cyn eu cyfarfod cyntaf. Nid oedd yn gwybod beth oedd William Walter Evan, neu ym mha le yr oedd yn byw. Nid oedd yn ei adwaen cyn y cyfarfod cyntaf yn y *Bear*. Yr oedd yn credu fod Charles Dafydd Morgan yn ffermwr, a'i fod yn byw yn y ty lle yr oeddynt cyn myned i dy Mr. Powell. Yr oedd William Thomas yn byw yn Llanymddyfri, ac yn fenygwr wrth ei alwedigaeth. Yr oedd John Spiggott yn byw gyda Mr. Howe yn Glantowy fel gwas, yr oedd ef yn meddwl, pan welodd ef yno. Yr oedd William Charles yn fab i Charles Dafydd Morgan. Tua pythefnos cyn y llofruddiaeth aeth ef, y tyst, gyda John Williams a Dafydd Morgan y tincer i'r *Bear* gyda'r nos. Pan oeddynt ar y llofft, gofynodd William Williams pa fath ddyn oedd Mr. Powell. Tyna eu cyfarfod cyntaf. Cafodd yn yr ystafell ar y llofft William Williams, William Thomas Williams, a Tom Drayn-fun-dhu, ac yr oedd yn credu fod William Thomas, y carcharor, yno, John Williams, a Dafydd Morgan, y carcharor. Aeth ef a William Thomas i fyny i'r llofft yng nghyd. Yr oedd Will Watt Evan yn yr ystafell yn barod. Daeth William Spiggot a John Isaac i'r ystafell ar ein hol. Cadwodd Williams John Isaac a Tom Drayn-fun-dhu yn y *Bear* trwy'r nos. Yr oeddynt yn siarad am gymmeryd Mr. Powell â *writ*, a darllenodd William Williams hi. Gofynodd William Williams iddo a allai ef ladd dyn. Dywedodd na allai. Gofynodd Williams a allai efe ei ladd ond i rywun ddechreu; a dywedodd y gallai. Dywedodd Will Watt Evan iddo fod yn nhy Mr. Powell yn edrych am dano, ond nid oedd gartref. Aeth y tyst a'r tincer i'w letty. Yr oeddynt yn siarad yn blaen am ladd Mr. Powell. Dywedodd Williams wrtho cyn myned, os y gwnai ddadguddio y gyfrinach y buasai iddo ei wanu trwyddo. Dywedodd y gallai ef gymmeryd dyn neu ei ladd. Yr oedd ef yn y *Bear* dranoeth, dydd Sul, a chyfarfyddodd â Dafydd Morgan, John Isaac, Tom Drayn-fun-dhu, a William Williams. Dywedodd William Williams,—"Y mae yn rhaid lladd y gwr boneddig [sef Mr. Powell], ac ni fyddai un perygl i'r sawl a gyflawnai y weithred." Pan oeddynt yn cyfarfod, yr oeddynt yn wastad yn siarad am ladd

Mr. Powell. Y tro nesaf y darfu iddynt gyfarfod yn y *Bear* oedd ar ddydd Calan. Yr oedd Dafydd Morgan ei hunan, John Isaac, Dafydd Llewelyn, Will Watt Evan, William Thomas, a William Williams yno. Yr oedd ef yn credu fod William Spiggot yno hefyd. Yr oeddynt yn siarad fod Mr. Powell yn Abertawy. Will Watt Evan ddywedodd hyny. Yr oeddynt yn siarad am ladd Mr. Powell, a gorchymmynodd Williams i'r tyst a Dafydd Llewelyn fyned tuag Abertawy i gyfarfod Mr. Powell, a'i ladd os caent gyfle. Aethant mor bell a Llangadog, lle darfu iddynt feddwi a chysgu. Pan ddihunodd y tyst, yr oedd Dafydd Llewelyn wedi myned. Arosodd yno ddiwrnod arall, ac aeth oddi yno i Abertawy i ladd Mr. Powell os celai ef gyfle. Rhoddwyd y gorchymmyn iddo wneyd hyn o flaen Will Watt Evan, Dafydd Morgan, a William Thomas, ac yr oedd ef yn credu John Isaac. Cyfarfuasant ar y pedwerydd dydd ar ol y Calan yn y *Bear*, yn Llanymddyfri, lle y rhoddodd y tyst hanes ei hynt i Abertawy. Yr oedd y tincer, William Williams, a John Isaac yno. Difrïodd William Williams ef am na fuasai iddo fod yn fwy manwl yn ei fusnes. Dywedodd iddo fod yn y *Carmarthen Arms*, yn Abertawy; ond ni welodd Mr. Powell. Gofynodd Williams yn gyhoeddus a ddarfu iddo weled Mr. Powell mewn lle cyflëus i'w ladd. Dywedodd y tyst na welodd mo hono. Yr oedd Dafydd Morgan a John Isaác yn bresennol pan ofynodd y cwestiwn. Nid oedd yn cofio iddynt gyfarfod ar ol hyn nes iddo ef, Dafydd Morgan, a John Isaac fyned i Gilcwm ar ddydd Sadwrn cyn i Mr. Powell gael ei lofruddio. Williams a'i hanfonodd yno rhag y buasai i bobl ddrwgdybio wrth weled cynifer o ddynion segur o gwmpas. Aeth y tri yn gyntaf i dy Mr. Bowen, a dywedasant fod Williams wedi eu hanfon yno i aros dros y nos. Dywedodd Cadben Bowen nad oedd lle ganddo yn y ty, ond y buasai iddo ysgrifenu nodyn i'r tafarndy. Dywedasant mai eu neges oedd lladd Mr. Powell. Tarawodd y cadben ef ar ei ysgwydd, a dywedodd mai bachgen gwrol oedd: os gwnelai ef hyn, nid oedd dim perygl iddo gael ei erlyn na bod mewn angen. Aethant i'r tafarn yng Nghilcwm fel y gallent gael gwerth coron o wirod. Nid oedd dim un enw uwch ben y drws. Daeth Mr. Bowen yno yn yr hwyr, a gwariodd ddeuswllt gyda hwy. Boreu dydd Sul aeth ef, y tyst, John Isaac, a Dafydd Morgan y tincer, o Gilcwm tua naw o'r gloch, ac aethant i'r *New Bear*, Llanymddyfri. Arosasant hyd y nos, a dygodd morwyn Leech fwyd a pheth i'w yfed iddynt. Ymunodd William Williams, William Spiggot, William Morris, John Isaac, Dafydd Llewelyn, C. D. Morgan, W. W. Evan, William Thomas, John Williams, i fyned i mewn yng nghyd, a dywedasant fod Mr, Powell wedi dyfod yn ol o Abertawy. Yr oedd William Williams yn mawr lawenhau pan glywodd hyny: rhwbiodd ei ddwylaw, a dywedodd, "Mi af yn union ac a'i lladdaf." Dywedodd ei bod yn bryd, a bod yn rhaid iddynt fyned yn uniongyrchol. Os na allent ei ladd, gwaith ofer oedd siarad yn ei gylch. Dywedodd hyn yn gyhoeddus, fel y gallent oll ei glywed. Gorchymmynodd iddynt fyned i dy Charles Dafydd Morgan, ac aeth gyda hwy. Mae ty Morgan ym mhell o Lanymddyfri, ac yr oedd yn credu fod ty Morgan filltir a hanner o dy Mr. Powell. Yr oedd C. D. Morgan, William Watt Evan, John Isaac, D. Morgan, D. Llewelyn, a William Thomas yn nhy Morgan. Arosodd William Spiggot a William Morris yn Llanymddyfri y noswaith hòno. Aeth Will Watt Evan a D. Llewelyn i ymofyn John Spiggot o'i wely. Nid aeth John Spiggot gyda hwynt y noswaith hòno. Nid oedd yn cofio am neb arall a aeth. Arosodd pob un yn nhy C. D.

Morgan y noswaith hòno a thranoeth. Yr oeddynt yn siarad yr holl amser am ladd Mr. Powell. Dranoeth daeth Morgan James y pedler, William Spiggot, a William Morris i dy Morgan. Gadawsant dy Morgan pan aeth hi yn dywell. Pan oeddynt yno yr oeddynt yn trafod y *frocks* a duo eu gwynebau. Yr oedd y naill yn gystal a'r llall yn siarad am ladd Mr. Powell. Williams gynnygiodd iddynt gael *frocks* mor bell ag yr wyf yn gwybod. Morgan James ddarfu eu cynghori i dduo eu gwynebau Yr oedd ef yn credu iddynt oll dduo eu gwynebau ond efe, C. D. Morgan, a'i fab. Cymmerasant ddwy *frock*. Gadawsant y ty yn y cyflychwyr. Yr oedd ganddynt ddau lawddryll a dau ddryll. Yr ydoedd ganddynt hefyd ddwy ffon â chleddyfau ynddynt. Yr oedd ef yn cario cleddyf, William Williams yn cario cleddyf neu *hanger*, Dafydd Morgan gleddyf, John Isaac ffon-gleddyf. Nid oedd ef yn gwybod i bwy y rhoddodd ef hi. Dywedodd Williams wrtho mai hon oedd y noswaith i gyflawnu y weithred neu ddim. Dywedodd Williams wrtho y cawsai gan punt, ac ni fuasai iddo wneyd dim un gwahaniaeth rhwng y naill a'r llall. Dywedodd yn uchel eu bod oll yn gwybod beth oeddynt yn ei gylch yn gystal ag yntau, ac nid oedd un achos i gredu fod y mater yn gyfrinach. Dywedodd wrthynt trwy y dydd os byddai iddynt lwyddo y cawsent eu gwobrwyo yn dda. Aeth William Charles i edrych a oedd Mr. Powell gartref. Yn y cyfamser gofynodd y tyst i Williams beth oedd yr achos ei fod yn myned i ladd y fath ddyn a Mr. Powell. Dywedodd Williams fod Mr. Powell yn ddyn drwg iawn, ac nad oedd ganddo ddim perthynasau; iddo newynu ei wraig a'i blant, ac nid oedd dim niwed i'w ladd. Dywedodd ef, y tyst, wrth Williams, "Ef allai bydd i'r wraig ein herlyn." Tynodd Williams ddarn o aur tua maint coron allan o'i boced, a dywedodd fod y dernyn hwn ym meddiant Mrs. Powell, ac yr oedd ef yn sicr na fuasai iddi erlyn neb. Ar ol hyn aethant oll yn groes i'r caeau a thros faes agored i dy Mr. Powell. Yr unig un oedd yn eisieu oedd John Spiggot, yr hwn a ymunodd â hwy wrth berth yr ardd. Yr oedd Spiggot yn ymddangos yn anfoddlawn i fyned. Arosodd ar ol i bwrpas naturiol, oedd ef yn meddwl. Aeth William Williams yn ol ato, a safodd uwch ei ben â dagr yn ei law, a dywedodd, "Y cyntaf a gilia yn ol a gaiff ei wanu trwyddo." Gwisgasant y *frocks* yn ymyl perth yr ardd. Gwisgodd Williams un a W. Spiggot y llall, a rhoddwyd rhywbeth i yfed iddynt, *brandy* neu *rum*, neu ryw wirod poeth arall. Williams, Llewelyn, a finnau, aeth at y drws gyntaf, drws bach yn y cefn, ac yr oedd yn gauad. Agorodd rhywun ef, a rhuthrodd ef, a Williams, a Dafydd Llewelyn i'r ty. Gafaelodd Williams ym mraich y tyst, a gosododd ef wrth ddrws y gegin, o herwydd ei fod yn ddyeithr i'r lle. Y rhai cyntaf welodd ef yn myned i'r parlwr oedd Williams a Dafydd Llewelyn. Yr oedd lle tywyll rhyngddo ef a'r drws. Nid oedd ef yn gallu gweled y goleu. Aeth y lleill i mewn yn frysiog, ond yr oedd ei gefn atynt. Nid oedd ef yn gwybod pwy aeth mewn gyntaf. Aeth Dafydd Morgan, Morgan James, William Spiggot, a William Morris i mewn. Aeth ereill heibio iddo, ond nis gallai ddywedyd pwy aeth i'r parlwr. Yr oedd Will Watt Evan yn y ty, a thaniodd lawddryll wrth gefn y tyst. Gwaeddodd y tyst, "Taniwch." Yr oedd ef yn credu fod y bacghen William Charles a'i dad allan. Clywodd rywun yn gwaeddi "Hwbŵb *murder!*" yn y parlwr pan oedd ef wrth y drws. Cododd un person yn y gegin raw i fyny. Yr oedd yn meddwl mai gwas Mr. Powell oedd. Ar hyn, gwaeddodd rhywun, "Taniwch." Mor agos ag oedd ef yn gwybod, taniodd Will

Watt Evan, a daeth amryw bersonau allan trwy'r *passage* o'r parlwr. Williams oedd y cyntaf. Yr oedd William Williams yn gwisgo *frock*, a chleddyf yn ei law, ac yr oedd William Spiggot â *frock* a llawddryll. Yr oedd llawddryll gan William Morris. Dywedodd Williams iddo drywanu Mr. Powell, a dywedodd Dafydd Morgan yr un peth. Aethant oll o dy Mr. Powell i dy C. D. Morgan. Gofynodd i'r carcharorion a oeddynt wedi lladd Mr. Powell. Dywedodd rhai iddynt ei ladd, a'r lleill na ddo; ond dywedodd Williams y rhoddai ef her i'r meddygon. Yr oedd gwaed dros gyllell Dafydd Llewelyn. Dywedodd y dynion iddynt drywanu Mr. Powell: dywedodd Williams a'r tincer hyny. Yr oedd blaen cleddyf Williams wedi tori, ac yr oedd gwaed ar y rhan arall. Dywedodd William Spiggot iddo golli ei het a'i *wig* yn nhy Mr. Powell, a daeth oddi yno yn bennoeth. Dywedodd Dafydd Morgan iddo adael ei ddagr yng nghorff Mr. Powell. Aethant o dy Mr. Powell ar frys i dy Morgan. Yr oedd ef yn credu iddynt fod awr ar y ffordd. Cwerylodd Williams, Dafydd Llewelyn, a William Thomas. Yr oedd Williams mewn natur ddrwg, a churodd hwy. Yr oedd gwaed ar *frocks* William Spiggot a Williams, ac ar gyllell Llewelyn, ac ar *cravat* Morgan James. Ni welodd efe ddim gwaed ar yr eira. Arosasant am ychydig amser yn nhy Charles Dafydd Morgad. Aethant ymaith oll ond Charles Dafydd Morgan a'i fab. Aethant yng nghyd am beth ffordd, a dywedodd fod yn rhaid iddynt ymadael ag ef. Rhoddodd gini yr un i Dafydd Morgan a Morgan James, a dywedodd wrthynt am ddyfod ato ym mhen wythnos i gael rhagor.

Yn ei groesholiad, dywedodd i Williams ofyn iddo pa fath ddyn oedd ef; ac iddo yntau ddywedyd nad oedd arno ofn neb yn y dref. "Beth wnewch chwi os bydd iddo eich gwrthsefyll?" Atebedd y gallai ef ei ladd. Dywedodd Williams wrtho ef a Dafydd Llewelyn am fyned i Abertawy i ladd Mr. Powell. Efe a aeth, ond ni aeth Llewelyn. Darfu iddynt feddwi yn Llangadog. Dychwelodd o Abertawy i Lanymddyfri. Nid oedd ef yn gallu darllen. Rhoddodd y papyr i fenyw y ty yn Cilcwm, yr hwn a roddodd Cadben Bowen iddo. Tyngodd i Cadben Bowen ddywedyd nad oedd ganddo le yn ei dy iddynt, ac iddo roddi papyr iddynt gael gwerth pum swllt o gwrw. Ni ddywedwyd dim am ddal Mr. Powell â *writ*. Yr oedd William Morris wedi ei arfogi â llawddryll.

(*I'w barhau.*)

## P'LE BYDDI CAN MLYNEDD I 'NAWR?

Ti feddwyn sy'n gwario dy arian
  I borthi dy flys a dy chwant,
Tra'th wraig ar yr aelwyd yn dyoddef,
  Heb damaid i gynnyg i'w phlant;
Ystyria y cwestiwn difrifol!
  Rho heibio dy gwpan yn awr,
Er cymmaint dy hawddfyd a'th bleser,
  P'le byddi can mlynedd i 'nawr?

Ti filwr ffroen-uchel sy'n gwisgo
  D' arfogaeth o'th goryn i'th draed,
Yn barod i ymladd mewn rhyfel,
  A'th fwriad ar dywallt y gwaed;
Goddefa im' ofyn y cwestiwn
  Sydd bwysig, a'i gynnwys mor fawr,
Er cymmaint dy nerth a'th wroldeb,
  P'le byddi can mlynedd i 'nawr?

Pa ham y gwnei dithau, enethig,
  Ymffrostio'n dy lendid a'th lun,
A chyfrif dy hunan yn uchaf
  O bobpeth yng ngolwg pob dyn?
Rho heibio dy ymffrost am fynyd,
  Gwna holi dy hunan yn awr,
Pa les it' falchïo mewn glendid,
  P'le byddi can mlynedd i 'nawr?

A thithau, y bachgen afradlawn,
  Diengaist, gadewaist dy wlad,
I chwilio y byd am drysorau,
  Diystyraist gynghorion dy dad;
Rho heibio dy arfer ddiystyrllyd,
  Fy nghyfaill, ystyria yn awr,
Daw terfyn ar chwilio am bleser,
  P'le byddi can mlynedd i 'nawr?

D.

*Eglwys Newydd.*

## DYFFRYN LLANDDEWI FELFFRE.

*Cân Moore, "The Meeting of the Waters," neu "The Vale of Avoca," wedi ei haddasu i Ddyffryn Llanddewi Felffre.*

| | |
|---|---|
| THERE is not in the wide world a valley so sweet | NID oes yn y byd maith un dyffryn mor hardd |
| As that vale in whose bosom the bright waters meet: | A Dyffryn Llanddewi â'i wrtaith fel gardd; |
| Oh! the last rays of feeling and life must depart | O! fy nheimlad diweddaf a'm bywyd a hed |
| Ere the bloom of that valley shall fade from my heart. | Cyn byth o fy nghalon ei degwch a red. |
| | |
| Yet it was not that nature had shed o'er the scene | Eto nid yw bod natur yn taenu ar maes |
| Her purest of crystal and brightest of green; | Ei chrisial dysgleiriaf a'i phuraf wyrddlas; |
| 'Twas not the soft magic of streamlet or hill, | Nid ychwaith ddenol swyniant ei afon na'i fro, |
| Oh! no—it was something more exquisite still. | Ond rhywbeth mwy hyfryd sy'n llenwi fy ngho'. |
| | |
| 'Twas that friends, the beloved of my bosom, were near, | Mae bod yma rai anwyl i'm mynwes yn byw, |
| Who made every dear scene of enchantment more dear, | Rhai wnânt bob swyn hudol y lle yn fwy gwiw; |
| And who felt how the best charms of nature improve, | Ac a brofant wedd natur yn llawn gwir fwynhâd, |
| When we see them reflected from looks that we love. | Pan lewyrchir ei gwên yn llon geraint y wlad. |
| | |
| Sweet vale of Avoca! how calm could I rest | Hoff Ddyffryn Llanddewi! yn ddedwydd, mi wn, |
| In thy bosom of shade with the friends I love best, | Gallwn fyw dan fwyn goedwig Trewern neu Blasgrwn; |
| Where the storms that we feel in this cold world should cease, | Hyll 'stormydd y byd oer mor ddystaw a'r bedd, |
| And our hearts, like thy waters, be mingled in peace! | Fel dy ddyfroedd, pob calon yn gymmysg mewn hedd. |

---

## GOLWG AR GWRS Y BYD.

### MR. FORSTER A'R RHYFEL DWYREINIOL.

MAE papyrau Llundain, oddi gerth y *Daily News*, wedi dyfod i'w hiawn bwyll ar greulonderau Bulgaria a'r Weinyddiaeth. Ychydig amser yn ol traddododd Mr. Forster anerchiad cymmedrol i drigolion Bradford ar y pwnc, ac y maent oll yn ei gymmeradwyo. Nid yw Mr. Forster wedi boddloni y *Daily News*, ond y mae y *Telegraph* yn ystyried yr araith yn adferiad o egwyddorion a ffyddlondeb Rhyddfrydol. Cyferbyniodd y *Standard* araith Bradford ag araith Mr. Gladstone yn Blackheath. Y mae y *Times*, yr hwn a wnaeth ei oreu i daflu rhwystrau ar ffordd Iarll Derby, yn orlawn o ddiolchgarwch i Mr. Forster. Ni wnaeth Mr. Forster ddim ond dadgan ei barodrwydd ef i bleidio Iarll Derby. Nid yw, meddai, yn myned i gyffroi teimladau pleidiol, nac am rwystro pobl y wlad hon i roddi pob cefnogaeth i Iarll Derby. Yr oedd ei iaith yn deilwng o ddyn o safon Mr. Forster, un sydd yn deall pwysigrwydd y cwestiwn hwn.

Y mae llawer o siarad am i'r tywysogaethau gael hunanlywodraeth, ond nid yw yn barnu y gweithia y

cynllun hwn, o herwydd yr elyniaeth sydd rhwng y Cristionogion a'r Mahometiaid. Dywedodd fod rhai o'r creulonderau gwaethaf a gyflawnwyd yn Bulgaria, wedi cael eu cyflawnu gan y pentrefwyr ar eu cymmydogion Cristionogol, ac nid gan filwyr rheolaidd. Y mae ef yn barnu na allwn ofyn dim mwy oddi ar ddwylaw y Porte nag adduned na chymmer y gyflafan le eto. Siaradodd Mr. Forster yn ddoeth. Yr oedd araith Dug Somerset yn Warminster yn un ddoeth hefyd Yr oedd y rhan fwyaf o honi yn ymosodiad ar araith y cyfaill Bright, a dangosodd mai Mr. Bright, er ei fod ef yn honi mai iddo ef yr oedd y clod yn ddyledus am wrthwynebu Rhyfel y Crimea—efe a'i heddwch am un pris, a'i gynffon rodresgar ac ymyrgar—a ddygodd y rhyfel hwnw o amgylch a neb arall. Cyfeiriodd hefyd at araith Mr. Gladstone. Ystyria Mr. Gladstone yn llywod-ddysgawdwr mawr, yr hwn sydd yn edrych ar Rwssia fel math o *Jack-a-lantern*. Y mae llawer o'r *Jack-a-lanterns* yma yn Bulgaria yn awr, ac nid llabwstiaid gwledig yn unig sydd yn eu hofni. Nid oedd y dug yn ystyried hunanlywodraeth ddim ond hud a lledrith; ond iddynt gael hyn, caiff geiriau y diweddar Iarll Derby yn 1854 eu gwirio, sef nad yw Rwssia yn myned ym mlaen trwy goncwest ond trwy weithio dan y sylfaen. Cynhyrfodd anghydfod yn y tywysogaethau cymmydogaethol, ac ar ol hyny cynnygiodd ei heiriolaeth. Anfonodd ychydig help i gadw yr heddwch, ac wedi hyny gofynodd am warantydd, ac wedi hyny gofynodd am eu huno â'r ymherodraeth. Ef allai fod Mr. Gladstone yn edrych ar hyn fel math o wrach y rhibin, ond y mae mawr berygl yng nglŷn ag ef.

Cynnaliwyd cyfarfod yn St. James's Hall er mwyn cynhyrfu y dosbeirth gweithiol yn erbyn y Llywyddiaeth; ond trodd allan yn ddieffaith, er i'r gynnulleidfa unochrog rwystro ysgrifenydd Cymdeithas Geidwadol Gweithwyr Llundain rhag anerch y cyfarfod. Ysgrifenodd Mr. Gladstone lythyr hirwyntog a gwenwynllyd yn ol ei arfer, ond mae effaith ei ystryw wedi ei gwrthwynebu gan lythyr pwysig gan un a feddylir yn well am dano na'r dyn siomedig hwn, sef gan Iarll Russell. Dyma beth a ysgrifenodd yr hen Ryddfrydwr a ystyrid bob amser gan ei blaid fel gwladgarwr ffyddlawn a seneddwr doeth a diofn:—

"SYR,—Yr wyf wedi derbyn eich llythyr yng nghyd â thocyn am gyfarfod y gweithwyr ar y 9fed o Hydref, am wyth o'r gloch yn yr hwyr; ond teimlaf fy hunan yn llwyr analluog i oddef gwres, ffwdan, ystŵr, a chynhwrf cyfarfod cyhoeddus yn dechreu am wyth yn yr hwyr. Dymunaf weled gorchymmynion Cristionogol yn hytrach na ffydd Gristionogol yn cael eu mabwysiadu yn y Dwyrain. Dylai dynion garu eu gilydd, nid arfer creulonderau erchyll dros neu yn erbyn llywodraeth Twrci. Nid rhyfel i amddiffyn Twrci, ond rhyfel i wrthwynebu cynllwynion Rhwssia oedd Rhyfel y Crimea. Y mae yn eithaf hysbys bod Ymherawdwr Rhwssia yn gwrthwynebu rhyddid gwladol a chrefyddol. Nis gallaf chwennych gweled Rhwssia yn rheoli llywodraeth Twrci, ac ni wnaf ddim ychwaith er dwyn ym mlaen y gwrthddrych hyny. Os oes cyfnewidiad i gymmeryd lle yn Twrci, dymunaf weled llywodraeth Twrci wedi ei rhoi dan ofal ei thrigolion, ac iddynt fabwysiadu fel eu harwyddair wirionedd a chyfiawnder, hyny yw, i ddweyd y gwir ac i wneyd cyfiawnder. Arosaf eich gwas ffyddlawn,

"RUSSELL."

Dim ond i Rwssia gael Caergystenyn, gallem gau i fyny ein prif ffordd i'r India trwy'r Môr Coch yn ddirybudd. Y mae yn rhaid i'r pwnc hwn gael ei drin yn bwyllog ac yn amyneddgar, ac nid gyda'r fath siarad, "Anfoner y Twrc yn ei grynswth allan o Ewrop." Byddai yn well gan y siaradwyr hyn droi allan y Weinyddiaeth o'i swydd. Yr oedd y Dug Somerset yn condemnio y cri am gael Senedd ar ddiwedd y flwyddyn, a dywedodd fod ganddo ffydd mawr yn noethineb Iarll Derby. Yr oedd yn ei adnabod er ys llawer

dydd: buont ar yr un pwyllgorau a chommissiynau, ac yr oedd yn sicr ei fod yn feddiannol ar deimlad boneddwr Seisonig, a'r doethineb sydd yn anhebgorol i Weinidog Prydeinig. Dywed y Mil. Lloyd Lindsay, yr hwn a fu yn Bulgaria, mai y Bulgariaid ddarfu daro yn gyntaf, ac iddynt groesu y Danube yn agos i Rutszuk, a lladd gweithwyr Circassiaidd pan oeddynt wrth eu gwaith ar y maes, a thaflu Tyrciaid i lawr i ffynnon. Pe buasai i'r Bulgariaid gael y llaw uchaf, yr oedd ef yn credu y buasai y creulonderau yn llawn cynddrwg. Cafodd ef allan fod tân gwrthryfel wedi cael ei gynneu gan y Rwssiaid yn y taleithiau Cristionogol, y rhai sydd yn breuddwydio am Gaergystenyn; y buasent yno cyn hyn pe buasai i Abdul Aziz fyw dipyn yn hwy, trwy ei gydsyniad. Y mae y rhan fwyaf o'r milwyr ym myddinoedd Serfia yn Rwssiaid.

YSTUM Y RHYDDFRYDWYR.

Nis gall pob Prydeiniwr a bob plaid boliticaidd lai na gofidio wrth weled ystum blaenoriaid y blaid Ryddfrydol yn y cyfwng presennol. Bostia y Sais yn wastad fod lles ei wlad yn uwch yn ei olwg na hunanles ac ysbryd plaid. Yn Ffrainc, pan mae y gweinidog mewn dyryswch oddi cartref, mae ei wrthwynebwyr yn sicr o gymmeryd mantais arno. Yn yr Hispaen, aberthir lles a llwyddiant y genedl ar allor cenfigen pleidiau politicaidd. Yn Germani a'r Eidal, mae yr ymraniadau rhwng yr Eglwys a'r Wladwriaeth fel drain yn ystlysau eu gwleidyddwyr. Dywed y papyrau Americanaidd nad oes neb o'u harweinwyr yn gyffelyb i Iarll Beaconsfield, yr hwn a ochelodd wneyd y Rhyfel Gartrefol yn fater pleidiol. Ond y mae yn ymddangos i ni ein bod yn cael ein harwain i drobwll ebargofiant, a'n bod wedi anghofio yr hen deimlad gwladgarol hwnw oedd yn ffynu gynt. Yr ŷm ni, ac yn wir holl Ewrop, mewn dwys gyfwng—mater a fydd yn debyg i beryglu ein Hymherodraeth yn yr India a heddwch Ewrop—pwnc ag sydd yn debyg o beryglu bywydau miloedd a gwneyd lleoedd yn anghyfannedd. Gallesid meddwl y buasai i bob gwleidyddwr Brytanaidd, uwch law cymmeryd mantais ar yr amgylchiad, gefnogi y Llywodraeth; ond yn lle gwneyd hyn, cododd yr arweinwyr Rhyddfrydol gyffro gwyllt, yr hwn ni ymostwng i reswm, na gwrando ar ffeithiau ac ystadegau; ac yn pardduo y Weinyddiaeth, er nas gall y Rhyddfrydwyr flurfio ei chystal. Peth rhwydd yw i ddyn siarad, ond peth arall yw cymmeryd y baich ar ei ysgwydd, baich ar yr hwn y mae bywydau miloedd o'n cyd-ddynion yn hongian wrtho. Cymmerodd y cynhyrfwyr hyn ofal i gadw eu tanffyrch o'r golwg nes i'r Senedd dori i fyny. Yr oeddynt yn gwybod nad oedd un siawns gan y Weinyddiaeth i'w hateb. Gall Mr. Gladstone agor llifddorau ei hyawdledd yn Blackheath, a Mr. Lowe ysgrifenu llythyrau miniog i'r papyrau, a Mr. Freeman a Dug Argyll arllwys eu llysnafedd politicaidd nes gwywo y Weinyddiaeth, ond rhodder y gofal arnynt, gadawer iddynt gydymddyddan â'r Tywysog Gortschakoff a Count Andrassy heb y bobl tu cefn iddynt i'w hannog ym mlaen, yna cawsem weled o ba fath ddefnydd maent wedi cael eu gwneyd. Nid oes ganddynt ddim un esgus dros eu hymddygiadau. Pe buasent yn deall pwysigrwydd y pwnc, ni fuasai iddynt fod mor barod a chodi cri, yr hwn a ddichon beri rhyfel ffanaticaidd yn Ewrop ac Asia. Y mae y cynhyrfwyr heddychol (?) hyn â'u holl egni yn ceisio agor drysau Janus, a gyru y ffyddloniaid i gigyddio y Cristionogion.

RHYFELGYRCH Y LIBERTINIAID.

Pan mae y Tyrciaid a'r Serfiaid yn croesi eu cleddyfau, mae Cymdeithas

y Dadgyssylltiad wedi dechreu ei hynt ymosodiadol ar yr Eglwys yng Nghymru. Dechreuwyd curo yr hen dabwrdd pulpudaidd yn Abertawy y mis diweddaf. Y Meistri Dale a Rogers a Mr. Dillwyn oedd yn arwain yr ymosodwyr yn yr ymosodiad cyntaf, ac yr oedd yn eu canlyn y *rank and file*, yr *awkward squad*, cryddion na allant fyned ddim ym mhellach na'u *lasts*, a doctoriaid duwinyddol wedi cael benthyg neu gwedi prynu teitlau, ac wedi eu gwisgo yn daclus fel y crychydd hwnw ym mhluf y paen, ac maent wedi bod yn gwastraffu eu hyawdledd yn ninas esgobol Bangor Fawr, yn Arfon, ac yng Nghaernarfon. Nid oedd dim yn newydd yn yr areithiau yn amgen i'r hen stwff yr ŷm wedi glywed lawer gwaith o'r blaen o fewn y deng mlynedd diweddaf. Mae eu hareithiau a'u rhesymau mor groenllwm a defaid Nani Siams. Nid oes dim un ammheuaeth na fydd i laweroedd eu credu—dall yn arwain deillion—*timber to timber*. Y mae yn ddyledswydd ar yr Eglwys i osod ei gwylwyr ar y muriau, a churo yn ol fleiddiaid y Gymdeithas â'i ffon gnwpa. Achwynodd rhai o'r areithwyr yng Nghynnadledd yr Eglwys yn Plymouth nad oedd yr Eglwys yn gwneyd y defnydd a ddylai o'r Wasg leol. Y mae yn rhaid i'r Eglwys yng Nghymru ac Eglwyswyr addef hyn yn neillduol. Os yw am agor llygaid y werin mae yn rhaid gwneyd hyn yn bresennol trwy gyfrwng y Wasg. Yr ŷm wedi clywed llaweroedd yn dywedyd, "Y mae genym ddigon o bapyrau Seisonig, ac nid oes dim angen am bapyrau Cymreig." Y mae yn amlwg nad yw y cyfryw yn gwybod dim am sefyllfa y Wasg yng Nghymru. Dosbarthir y papyrau gwrtheglwysig wrth y miloedd yn yr iaith Gymraeg, ïe wrth ddrysau ein gwŷr Eglwysig.

---

Mae llinell o fawl yn werth tudalen o weddi.—*Livingstone.*

## ORIAU GYDA'R BEIRDD.

### VII.

### GWILYM DROED-DDU.

Ar fin y brif-ffordd rhwng Caernarfon a Phwllheli, o ddeutu milltir a hanner i'r deheu o'r lle blaenaf, saif pentref bychan tlodaidd yr olwg o'r enw Cae Llechfaen. Yma, yn y rhan flaenaf o'r gaurif bresennol, trigai gwëydd tlawd, ond deallgar a gwybodus, o'r enw Hywel Parri, brodor o Lanidloes, os nad ydym yn camgymmeryd. Trigai ei weddw yn y fan a'r lle o fewn cof yr ysgrifenydd, a bu farw mewn oedran teg. Perchenogodd dau fab yr Hywel Parri uchod, sef Elis a William Parri, athrylith a gwybodau eu tad, a daethant yn dra chyfarwydd â theithi llenyddiaeth a barddas Cymru. Yr oedd Ellis Parry, neu yn ol ei enw barddonol, Elis ap Hywel, yn fardd da a rhyddieithwr gwych. Yr oedd ynddo duedd gref at wleidyddyddiaeth a dadleuaeth. Ysgrifenodd fwy na mwy i'r *Amserau*, tad y newyddiaduron Cymreig, pan ydoedd y newyddiadur hwnw yn ei ddyddiau goraf, á than olygiaeth Gwilym Hiraethog. Bu yn ornest boeth rhyngddo a'r Doethawr Rees ar faes yr *Amserau*, nid unwaith na dwywaith. Meddai y gwëydd disyml o Llainbupyr ei farn ei hun ar bynciau y dydd, ac ni phetrusai ddadgan ei farn, ïe pan y byddai yn groes i opiniwn yr oes. Dyn *straight-forward* ydoedd ac annibynol iawn, yn ormod felly i fod yn gymmeradwy mewn rhai cylchoedd, lle y prisir gweniaith uwch law gwirionedd. Daliai Elis ap Hywel yn wastad arf noeth y gwirionedd yn ei law yn ddiofn a diarswyd heb brisio na gwych na gwael. Perthynai i enwad yr Annibynwyr o ran ei olygiadau crefyddol, ac i'r blaid Ryddfrydol eithafol o ran ei olygiadau gwleidyddol. Yr oedd yn wr cymdeithasgar a diargyhoedd ei ymarweddiad. Efe a ysgrifenodd

dwysged mewn mesurau caeth a rhydd—darnau byrion bron yn ddieithriad—i'r cyfnodolion Cymreig. Efe ydoedd athraw barddonol Gwilym Droed-ddu, a goroesodd ei ddysgybl ieuanc addawol. Ond yntau hefyd a fu farw, ac a gasglwyd at ei dadau i fynwent Llanbeblig rai blynyddau yn ol. . . . William Parry, neu fel yr adnabyddid ef ym mysg ei gyfoedion, William Hywel, brawd Elis ab Hywel, ydoedd wëydd wrth ei alwedigaeth, a thrigai yn Llwyn Angharad, bwthyn bychan diaddurn ar dir y Gadlys, rhyw dair milltir i'r deheu o dref Caernarfon. Nid oedd William Parry, mwy na'i frawd Ellis Parry, yn *favourites* gyda duwies cyfoeth. Trwy lafur eu deng ewin dygodd y ddau i fyny deulu lluosog, a dygasant hwy i fyny yn anrhydeddus. Nid ydym yn tybied fod o fewn plwyf Llanwnda benau teuluoedd mwy darbodus tros yr eiddo na William a Sian Parry o Lwyn Angharad. Dygasant i fyny fagad o blant, a rhoddasant iddynt ysgol dda. Trodd eu plant yn anrhydedd iddynt. Maethasant eu meibion a'u merched yn ffyrdd rhinwedd, a rhoddasant iddynt y gynnysgaeth oraf, sef arf dysg i ymladd eu ffordd trwy y byd. Eu mab henaf, Harry Howell Parry, Ysw., sydd lawfeddyg medrus yn y Bont Newydd, ger Caernarfon, a'u hail fab, Mr. William Parry, a fu farw yn athraw Ysgol Genedlaethol Pwllheli. Yr oedd natur barddonol yn yr hen wr o Lwyn Angharad. Cyfansoddodd amryw fân ddarnau yn y rhydd fesurau, ond nid ydym yn gwybod iddo ymwneyd dim â'r mesurau caethion. Ni cheisiodd ychwaith gyhoeddusrwydd mewn un modd. Tangnefeddwr ydoedd, ac nid oedd ganddo archwaeth o gwbl at *politics* a *polemics*. Un o'r hen Fethodistiaid da gynt ydoedd William Parry, a chasäi â chasineb traws bob ffug a gwagrodres. Yr oedd yn wr craff, rhydd, a didwyll—yn gyfaill gwirioneddol.

"Yn ein plith gwir fendith fu,
Da ddyn oedd i'n dyddanu."

Cafodd yr ysgrifenydd flynyddau o gyfeillach felus â'r hen bererin duwiolfrydig a diymhongar.

". . . . Dy adgofion
Ennyn oerion dannau hiraeth."

Hir gofiwn y gyfeillach olaf. Yr oedd rhywbeth yn hynod ynddo y prydnawn hwnw, er ei fod yn ei gynnefinol iechyd, a dydd marwolaeth eto yn ymddangosiadol bell. Aeth drwy ei lyfrau o un i un gan adrodd eu hanes, a rhoddodd dro ar ei gronfa lenorol. Pwysai arnom i bigo allan lyfr "er cof a chadw," nes yr ofnem fod rhywbeth wrth y drws. Cyn in' ddychwelyd i'n bro enedigol drachefn, yr oedd yr hen wr ym mynwent y Llan, a chyn pen nemawr o fisoedd, cludwyd ei briod i'r un bedd. "Cariadus ac anwyl yn eu bywyd, ac yn eu marwolaeth ni wahanwyd hwynt." Cawsant gydddwyn y groes, mwyach cânt gydwisgo'r goron; cydocheneidio, cydlawenhau. Nid ydym yn deall i'r hynafgwr William Parry anfon ei gynnyrchion awenyddol erioed ei hunan i'r cyfnodolion. Yr oedd ei wylder naturiol yn lluddias iddo anfon ei farddoniaeth i'r argraffwasg. Achubodd ei ail fab amryw emynau o'i eiddo rhag difancoll, trwy ei anfon i'r *Cymro*. Yn adeg y geri marwol yng Nghaernarfon, tua diwedd y flwyddyn 1866, cyfansoddodd ddau bennill gogyfer â'r dydd o ymostyngiad mewn gweddi ger bron Duw ar ran y dref a'r gymmydogaeth. Yr oeddynt mal y canlyn:—

"Mae cwmwl du yn taflu dafnau i lawr,
Uwch ben ein gwlad fe geulodd cawod fawr;
Mae hon yng nghrog mewn Hollalluog law,
Fe all, os myn, ei droi bod defnyn draw.

* * * * * * *

"Mae gwialen lem yn taro ar ein tir,
Os plygu wnawn ä heibio cyn bo hir:
Mae hon yn llaw un tyner, sef ein Tad,
Down at ei draed, cawn eto lwyr iachâd."

Y Gadlys sydd ffermdy teg ar fryncyn uchel, cydrhwng y Gwyrfai

a'r Llifon. Saif y ty ar ganol hen amddiffynfa gref oedd unwaith yn gwylio tlws wastadedd Arfon. Yr oedd ond odid yn un o'r amddiffynfëydd oedd mewn cyssylltiad â Dinas Dinlle, hen gadarnle Rhufeinig anferth ar fin y môr goruwch adfeilion suddedig Caerarianrhod. Mae y Gadlys yn lecyn hanesyddol (*historical spot*), o blegid cyfanneddid y fan gan gyfran o wehelyth Llywarch a Brân, ac ar y terfyn saif Bodadan hynafiaethol. Hefyd bu y fan yn gartrefle yr Awen yn y ganrif o'r blaen, o blegid trigiennid y lle gan fardd o buraidd gân, o'r enw William Evans o'r Gadlys, swp o gynnyrchion awenyddol yr hwn oedd ar gael yn ei gartrefle gynt hyd yn dra diweddar. Is gwarchgloddiau y Gadlys, ar yr ochr ogledd-ddwyreiniol, saif penty Llwyn Angharad, adeilad hirgul isel. Yn yr annedd neillduedig hon, ar y 26fed o fis Tachwedd, 1836, y ganwyd William Parri, a gyfenwid Gwilym Droed-ddu. Derbyniodd elfenau dysg yn Ysgol Genedlaethol y Bont Newydd, a gedwid y pryd hyny gan Mr. John Pritchard, ysgolfeistr dihafal a llafurus. Tua'r flwyddyn 1853, aeth i Goleg Hyfforddiadol Gogledd Cymru, lle yr arosodd hyd Nadolig 1855, pryd y trodd allan yn athraw trwyddedig ei hunan. Yn nechreu y flwyddyn 1856, aeth i gadw ysgol i Llangorwen yn Nyffryn Clarach. Y Nadolig canlynol symmudodd i Laniestyn yn Lleyn. Tua'r flwyddyn 1859, symmudodd drachefn i'r Gaerwen ym Mon. O'r Gaerwen, symmudodd yn y flwyddyn 1860 i Bwllheli, ei ysgol olaf. Ymaflodd y darfodedigaeth yn ei gyfansoddiad eiddil, a bu gorfod iddo encilio o'i swydd lafurus a blin. Yr oedd yr ewyllys yn barod, ond y corff yn wan; y nerth yn pallu, a'r babell bridd yn araf ddadfeilio. Cafodd chwech wythnos o gystudd blin, yr hwn a ddyoddefodd yn dawel a dirwgnach. Bu farw ym mhentref Bont Newydd, Hydref 26, 1864, i ba le y symmudasai ei rieni oedranus. Ehedodd ysbryd yr addfwyn Gwilym Droed-ddu i "ardal lonydd yr aur delynau," a daiarwyd ei ran farwol gyda pharch a galar dwys yn Llanwnda.



"Gyda'r saint yn y nef a'u cartrefydd,
Yr wyt, goreufab, wr da ei grefydd."

Yr oedd Gwilym Droed-ddu yn Gristion trylwyr, fel y dywed ei englyn beddargraff:—

"Un cywir iawn, carai hedd,—da athraw,
Dieithriad ei rinwedd,
E fu, o'i febyd i'w fedd,
Na fu och ar ei fuchedd."
*Elis ab Hywel.*

Cafodd ei feithrin yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Ni fu addysg ei dad a chynghorion ei fam yn ofer. Cariodd allan i'r byd argraffiadau yr aelwyd. Ad-dalodd i'w rieni ar y ganfed y gofal a'r drafferth a gymmerasant erddo. Efe a ofalodd am danynt yn nyddiau eu henaint, a darparodd ar eu cyfer hyd eithaf ei allu. Bu yn dyner a gofalus o'i dad a'i fam. Ei eiriau olaf wrth ei frawd oeddynt, "Gwna dy oreu i 'nhad a 'mam; dyma fi'n myn'd." . . . Tawel oedd awr ei ymddattodiad; "Ni frysia yr hwn a gredo." . . . Sibrydai wrth ei gyfaill, Moelwynfab, y llinellau,

"Pa les yw ffrwythydd dolydd deiliog
A mwyn aur ethol i mi'n hiraethog?"

ac ychwanegai, "Ffarwel, fy nghyfaill; ond y mae genyf well cyfaill na thydi, sef Iesu Grist. Efe heddyw yw fy nghyfaill." Dywedai wrth un o'i chwiorydd, "Yr hyn a fawr ofnais a ddaeth arnaf." Ei eiriau olaf oeddynt, "Yr wyf yn myned yn eglurhâd yr ysbryd a nerth;" a chan sibrwd hyn efe a hunodd yn yr Iesu.

"Enneiniwyd ef yn anwyl—a grasol,
Wir groesaw i'w breswyl;
Yn Iesu rhoes ei noswyl,
Gydag Ef gwna gadw gwyl."
*Moelwynfab.*

Yr oedd Gwilym Droed-ddu yn *athraw* o'r iawn ryw, a'i ysbryd yn ei

waith. Teimlai bwysigrwydd ei swydd. Rhoddai bwys arbenig ar addysg grefyddol, a diangodd o'r byd cyn i awyr oerllyd seculariaeth, fel y dwyreinwynt gwenwynllyd, chwythu dros ysgolion ein gwlad. Tra y parotoai blentyn gogyfer â'r byd hwn, gofalai hefyd am ei roddi ar yr iawn ffordd i'r bywyd wedi angeu. Parchai ef y *Diocesan Inspector* gyfuwch a'r *Government Inspector*. Rhoddai grefydd ar yr orsedd, "A gair Duw yn uchaf." Prin y gall ysgolfeistr teilwng o'r enw fyned i ysgol lle y rhwymir ef â rheffynau seculariaeth fel na yngano enw y Bod Goruchel, ac na lefaro air yn enw yr Iesu. "Gan fygwth, bygythiwn hwy, na lefaront mwyach wrth un dyn yn yr enw hwn."—Actau iv. 17. "Goreu dysg, Gair Duw." Hir gofir y *parting scene* yn Ysgoldy Pwllheli, pan yr estynai yr athraw hoff ffarwel law i'w ddysgyblion gwynebdrist a galarus. Ond "o flaen drygfyd y cymmerir y cyfiawn ymaith."—Esai lvii. 1.

Fel *bardd* a *llenor* cerfiodd Gwilym Droed-ddu enw iddo ei hun ar y graig dragwyddol. Dechreuodd ymgymdeithasu â'r Awen yn lled ieuanc fel y gwelwn oddi wrth y *MS.* trefnus o'i weithiau barddonol a adawodd ar ol. Nid oedd yn fardd mawr—ni amcanai ehedeg i'r uchelderau nac esgyn i binaclau uchaf Parnassus Ymdroai gyda godreu y bryn i gasglu y mêlflodau peraroglaidd. Cawn ef yn anfon rhai canigion tlysion o "Borth Angel, Clarach," i *Faner y Groes*, ac anfonodd amryw ddarnau ar gân ar wahanol adegau i'r *Brython* a'r *Cymro*. Y mae naturioldeb yn rhedeg trwy ei *Delynegion ar destynau moesol a chymdeithasol*, a anfonwyd i eisteddfod Abertawy, 1863. Meddai ddawn at droi hen chwedleuon Cymreig ar gân, fel y prawf ei ddarnau prydyddol, "Taflu yr hosan," a'r "Biogen a'r Ysguthan." Anfonodd dreithgân ar *Enedigaeth a Darganfyddiad Moses*" i Eisteddfod Llandudno. Mae ynddi rai darnau teilwng o gadeir-fardd, ond cafwyd hi yn brin ym mantol y beirniad. Fel *llenor* yn hytrach na bardd yr ymenwogodd Gwilym Droed-ddu ei hun. Trodd ei sylw yn fore at lenoriaeth, yn bendifaddeu yr adran hynafiaethol o honi. Chwiliodd a chwalodd lawer ar gofiannau "Cymru fu," ac ymhyfrydai mewn "Llêu Gwerin." Croniclodd lawer o draddodiadau lleol ar dudalenau y *Brython*, megys *Y Fuwch gyfeiliorn*, Cilmyn a'r Seler Ddu, &c., ac anadlai fywyd i hen esgyrn sychion, gan beri iddynt ymwisgo gïau a chnawd. Nodwedd ei ysgrifau oedd y pur, y coeth, a'r arddunol, fel y prawf ei erthyglau ar "*Dor-cyssondeb Barddonol*," "*Am Ddadymchweliad*," "*Hynafiaeth Gwaith Alcan Cernyw*," &c., yn y *Brython*. Bu yn fraich gref i'r Wasg Eglwysig dros amser maith. Yr oedd yn ohebydd cysson i'r *Cymro* yn ei oes euraidd, ac yn deilwng o gael ei restri ym mysg cedyrn y newyddiadur hwnw. Ysgrifenodd lawer o dan y ffugenw PWY? ("Parry William, Ysgolfeistr") i'r *Arweinydd*, newyddiadur byrhoedlog a gyhoeddid gan Huw Tegai ym Mhwllheli. Ysgrifenodd nid ychydig i'r *Herald Cymreig* ar ei gychwyniad, ac yr oedd ar *staff* ohebyddol y *North Wales Chronicle*. Darfu i'w orlafur llenorol brysuro y darfodedigaeth. Cwynir yn gyffredin nad yw Eglwyswyr Cymru yn cefnogi y papyrau Eglwysig a Cheidwadol fel y dylent. Nis gellir dwyn y cwyn hwn yn erbyn Gwilym Droed-ddu. Llafuriodd yn ddiwyd a diball hyd y caniataodd ei nerth, ac yna noswyliodd. Gwnelai detholiad o'i ysgrifau rhyddieithol gyfrol ddestlus a chaddysgiadol, a gresyn eu bod yn wasgaredig yma a thraw.

"Athraw mwyn a bardd rhagorol
Gwych fel llenor—dysglaer ddawn,
Bu i'n gwlad yn dra defnyddiol,
Do, ei ddysg yn fuddiol iawn."

*G. ab Morys.*

## Y MILFLYWDDIANT AR WAWRIO.

*Ned.* Pa fodd yr ydwyt ti, Dai anwyl i, yn ymglywed y boreu heddyw? O'r goreu, hyderaf, y mis Hydref hydrwyllt yma.

*Dai.* Yr ydwyf o'r "goreu er garwed yr hin," a pha fodd yr wyt tithau, Ned bach, yn ymdeimlo yn dy deml yna? Yn dy gorff, yr wyf yn feddwl.

*Ned.* Yn bur dda yn siwr i ti, Dai anwyl, ac ystyried pobpeth gyda'u gilydd, megys toi yr helmi, tynu a chladdu y cloron, a thalu mor ddrud at y Bwrdd Addysg yma, a minnau â chrug o blant genyf, ac yn eithaf isel fy amgylchiadau bydol.

*Dai.* Oni ddywedais i wrthyt ti, Ned bach, mai yr hunllef neu gorff y farwolaeth fuasai y Bwrdd Addysg ar gefn y plwyfolion, ac y buasai yn well i ni o lawer ymdrechu cario ym mlaen ein hysgolion ar yr hen *system*, na mabwysiadu yr un newydd. Ond diolch i Arglwydd Sandon a'i fil, drwy ba un gallwn wrthod neu daflu ymaith y Bwrdd, os bydd hyn a hyn o'r plwyfolion yn ei erbyn.

*Ned.* Ni fuaswn i, Dai anwyl, ddim yn grwgnach nac yn gommedd talu y *school pence* a'r *rate* pe baent yn myned yn uniongyrchol ac yn gyfangwbl at gyfranu dysgeidiaeth a gwybodaeth i'r plant; ond pan mae llawer iawn o honynt, fel yn yr *unions*, yn myned i dalu y swyddogion, megys y *secretaries*, y *treasurers*, yr *auditors*, a'r *whippers-in*, &c., mae yn annyoddefol, ïe, y mae fel tân gwyllt ar fy nghroen i.

*Dai.* Yr ydwyt yn dywedyd calon y gwir, Ned bach, ac yr wyf yn cydweled â thi i drwch y blewyn; but let us return to our former subject, sef y Milflwyddiant.

*Ned.* Beth sydd genyt ti ym mhellach, Dai anwyl, i hysbysu yng nghylch y cyfnod hynod hwnw.

*Dai.* Y mae yr Ymneillduwyr yn ei hyrwyddo drwy ddefnyddio ein dull eglwysig ni o adeiladu. Gynt, fel ag yr ydwyt ti a minnau, Ned bach, yn cofio, yr oeddynt yn adeiladu eu tai cyrddau ym mron yn ysgwâr —penau gweddol fflat iddynt, muriau o geryg plaen diaddurn, ac o'r un natur i gyd, ffenestri go lydain, rownd yn y top ac o'r un lliw i gyd, a chorau uchel â drysau arnynt fel *boxes* trymion yn *dempting* a chysurus iawn iddynt gysgu ynddynt. But now, my boy, y mae yn rhaid eu hadeiladu yn hirgrwn (*oblong*), a rhyw fath o gaughell i amryw o honynt; rhaid cael cronglwyd o'r *Elizabethan* neu *perpendicular pitch;* rhaid cael ffenestri o'r *lancet* neu'r *Gothic style*, wedi eu gweithio yn *elaborate* iawn o Bath neu Forest of Dean *stones* a *bricks*, a gwydr o amryw liwiau, coch, glas, gwyrdd, a melyn; rhaid cael corau isel ac agored (*open seats*), ac yn gogwyddo yn ol, yn ffitio yn gysurus gefnau yr addolwyr; a rhaid cael y muriau o *freestone*, *limestone*, *red-sand stone*, a'r *granite*, a'r rhai hyny i gyd wedi eu caboli a'u cerfio yn y modd mwyaf destlus a chostus ag y gall arian byth eu gwneyd.

*Ned.* Gad iddynt, Dai anwyl, i adeiladu eu tai cyrddau fel ag y mynont hwy, os gallant dalu am danynt, canys dyna'r pwnc mawr. "Diwedd y gân yw y geiniog."

*Dai.* Ni buaswn i yn crybwyll un sill am danynt oni bai eu bod yn haeru yn noeth taw Pabyddiaeth oedd hyn oll pan nad oedd neb yn eu mabwysiadu a'u defnyddio ond yr Eglwys, ac yr wyf yn meiddio dweyd, os Pabyddiaeth oedd hyn y pryd hyny gyda ni, taw Pabyddiaeth yw gyda hwythau yn bresennol. Chwi Ymneillduwyr o bob enwad, cofiwch yr hen ddiareb, sef fod "yn rhaid cael geneu glân i oganu;" and "Those that live in glass houses, had better not throw stones," *et* "*Sera nunquam est ad bonos mores via,*" *et etiam*, "*Ingenuas didicisse fideliter artes, emollit mores nec sinit esse feros.*"

*Ned.* Garw mor gyfnewidiol a deuwynebog y mae dynion, ïe Cristionogion a chrefyddwyr, wedi myned yn yr oes oleu hon.

*Dai.* Nid yw yn arw nac yn rhyfedd yn y byd, canys oes y twyll, y rhagrith, a'r Phariseaeth mwyaf yw, ac yn hyn y gwirir yr hen ddiarebion, a dyma nhw:—

"Tri pheth sydd anhawdd 'nabod,
Dyn, derwen, a diwrnod—
Y dydd sydd yn frau,
Y dderwen yn gau,
A dyn yn ddauwynebog."

Ac hefyd,

"Dyn sydd yn gwneyd dau wyneb,
Duw ni wnaeth ond un i neb."

*Ned.* Mi fuais i, Dai, yn y Ffynnonau yn Llanfairmuallt yr haf diweddaf, ac mi welais yno gapel Seisoneg â thŵr a *spire* uchel—uwch na chlochdy yr Eglwys wrth ei ochr, ac yr ydwyf am gael dy farn di, Dai, ar y mater yna.

*Dai.* Ned bach, ai yr haf diweddaf y gwelaist ti y fath olygfa gyntaf, canys y maent mewn bod er ys blynyddoedd bellach. Dos di i Gaerfyrddin, Llanelly, Abertawy, a'r trefi mawrion i gyd drwy Gymru a Lloegr, a thi a gei eu gweled yn gyffredin iawn; a thi a wyddost, Ned, taw dyben a defnydd y cyfryw bethau gyda ni, yr Eglwyswyr, ydyw codi cloch neu glychau ynddynt i'w canu, i'r dyben o alw dynion i'r Gwasanaeth dwyfol, foreu, nawn, a hwyr, ac ar achlysuron ereill, ac ni ryfeddaf fi ddim tamaid na chawn ni weled a chlywed clychau yn y tyrau hyn cyn pen nemawr o flynyddoedd, canys y maent yn dilyn ol traed yr Hen Fam ym mhob ystyr, dull, a modd, mor fuan ag y gall rhesymoldeb a gweddeidd-dra ganiatäu iddynt.

*Ned.* Diolch yn fawr i ti, Dai anwyl, am agor fy llygaid o led y pen ar y pwnc dyrys a thywyll hwn i mi. Mi a welaf eu bod wrth ein sodlau, Dai anwyl, ac y mae yn rhaid i ni fyned yn y blaen, onid e, hwy a'n disodlant ni, os nad ânt o'n blaen ni o ddigon.

*Dai.* Yr oeddwn i ar fy nhaith ryw ddiwrnod yn ddiweddar, ac yn myned heibio i gapel ymneillduol, a pheth wyt ti yn feddwl, Ned, a glywais yn canu yno.

*Ned.* Na wn i yn wir Dai, os nad Twm y saer, Dick y crydd, Dai y teiliwr, Sion y spaddwr, a Sian a Mali a Nel o'r tai draw.

*Dai.* Nag e yn wir, ond yr *harmonium*.

*Ned.* No go, Dai, you cannot make a fool of me this time, at all events. "Ni thwyllir ddim o hen dderyn ag us sydd wedi cael ei fagu â barlys," canys mi a glywais â'r clustiau meinion a chraffus hyn, a hyny nid can mlynedd yn ol, un dyn, a phroffeswr mawr ac enwog hefyd, yn haeru ac yn herio nad ai neb i'r nefoedd byth ag oedd yn cydganu mewn addoliad ag unrhyw fath o offerynau cerdd, er fod Miriam a'r gwragedd gynt wedi chwareu eu tympanau yn ardderchog dros ben ar ol eu gwaredigaeth drwy y Môr Coch, a bod y Salmydd yn galw arnom i foliannu yr Arglwydd â llais udgorn, â nabl ac â thelyn, â thympan, â symbalau, â thannau, ac ag organ.

*Dai.* Y mae yn eithaf gwir, Ned, cred di neu beidio.

*Ned.* Y mae yn dda iawn gan fy nghalon i, Dai, i glywed am yr organ, canys gyda ni yn yr Eglwys y mae yr offeryn cerdd hwnw. Os ydynt hwy yn cymmeryd at yr harmonium, yr ydym ni yn monopolizo yr organ, o herwydd dyna'r offerynyn cerdd a arferir ac a chwareuir genym ni yn ein Heglwysi Cadeiriol (*Cathedrals*), ac Eglwysi israddol ereill drwy yr holl deyrnas i gyd.

*Dai.* Ust, ust, Ned, paid â bod yn rhy fyrbwyll a blaenllaw gyda golwg ar y cwestiwn hwn, rhag ofn i ti wneuthur *mistake* yn ei gylch, o blegid fod yr Ymneillduwyr hefyd yn ei arfer yn eu haddoldai.

*Ned.*

Baw, Baw
Y sydd i gyd ar ben y rhaw
A ddaeth yn rhwydd o ardd ty draw;
Nid oes dim baw mor frwnt ag e',
Y mae'r baw yma yn bur gryf,
Ond bryntaf yw o faw y dre'.

*Dai.* Ned, Ned, gan bwyll, fy machgen anwyl, canys yr ydwyt wedi colli arnat dy hunan, neu mewn geiriau ereill, yr ydwyt wedi myned yn wallgof, ac mae yn rhaid i ni dy ddanfon di i'r ty mawr acw sydd ger llaw Caerfyrddin, a elwir yr *Asylum.*

*Ned.* Nid gwaeth genyf fi asyn llwm neu asyn llawn, ni chreda i ddim o honot ti, oni ddeui di ag enghraifft o hyny mewn rhyw gapel yn y gymmydogaeth hon, ac nid myned draw tu hwnt i Glawdd Offa at yr hen Seison *saucy* acw.

*Dai.* Dyma un wrth fy llaw yn y fynyd, a dyma hanes yr agoriad, yr hyn a gymmerais allan o'r *Carmarthen Journal* ryw bythefnos yn ol, ac a red fel y canlyn:—"*Congregationalism in Carmarthen.*—The members and pastor (Rev. T. Davies) of the English Congregational Chapel here have succeeded in procuring an excellent organ, and a recital was held in the chapel at 7·30 on Monday evening, the proceeds of which go to clearing off the debt incurred by the purchase of the instrument, &c. The splendid instrment cost £270, and the amount already paid from the proceeds of collections, &c., was £139, leaving a debt of £110 10*s.* still due. A collection was then made. The organ, which was built by Messrs. Edward Wadsworth Bros., Manchester, has two manuals, and an independent pedal organ, with 13 stops."

*Ned.* Yr ydwyf, Dai anwyl, wedi dyfod i'm lle, ac wedi cael fy llwyr argyhoeddi ar y pen hwn, sef eu bod yn uso organs yn eu capeli; ond a oes ganddynt ryw ddefnydd iddynt heb law eu chwareu ar y Suliau?

*Dai.* Oes y mae, sef eu chwareu yn y Choral Festivals, neu fel y galwant hwy hwynt, y Corau Undebol, pryd y cyferfydd corau pedwar, pump, neu chwech o gapeli mewn un capel i ganu ac i chanto y Salmau.

*Ned.*

"Mi feddyliais yn y boreu,
Buaswn amser maith cyn hyn
Wedi dyrnu'r helem wenith,
A'i bwyta oll yn fara gwyn;
Siomedigaeth, siomedigaeth,
Bwyta bara haidd o hyd."

Ha! ha! ha!

*Dai.* Oni ddywedaist ti, Ned, dy fod wedi dyfod i dy le?

*Ned.* Do, ond yr wyt ti yn fy hela i allan o'm lle, gyda fy mod wedi dyfod i'm lle. Nid oes dim ond y gwr drwg yn dy gorddi di, Dai, canys yr ydwyt â'th holl egni am fy hela i nwydau drwg. Pa ham yr oeddit ti, a thi yn gwybod hyny, yn crybwyll fod y Dissenters yn chanto y Salmau, o herwydd yr Eglwys, a hi yn unig, sydd yn gwneyd hyny.

*Dai.* Digon gwir fod yr Eglwys yn chanto llawer o'r Gwasanaeth, ac yr wyf yn eithaf boddlawn iddi chanto gymmaint ag y mae y rhuddell (*rubric*) yn ganiatäu; ond am yr hen intonio yma, yr wyf yn methu yn fy myw â deall o ba le y tarddodd yr arferiad annaturiol, babanaidd, a *whinaidd* yma. Da chwi, yr offeiriaid sydd yn arfer intonio, rhowch ef i fyny, a darllenwch y Gwasanaeth yn eich lleisiau naturiol eich hunain.

*Ned.* Come to the point, Dai. Oni ddywedaist ti bod yr Ymneillduwyr yn eu Choral Festivals yn chanto y Salmau.

*Dai.* Do mi a ddywedais, ac yr ydwyf yn dala at hyny eto, ac er na allaf roddi y chapter a'r verse y trohwn, eto y mae yn *fact* fy mod wedi darllen yn y *Western Mail* yn ddiweddar am y fath gyfarfod a gynnaliwyd yng Nghydweli, pan y dywedir, "that the Psalm chanting was most exquisitely executed by the different choirs present."

*Ned.*

How do you do, and how do you dan?
Siwt 'rych chwi a siwt mae'ch mam?
Siwt mae pawb o'r tylwyth gartre'?
A siwt mae f'anwyl gariad innau?

*Dai.* For shame, Ned, for shame; a oes dim cywilydd arnat ti?

*Ned.* "Nid oes dim cywilydd lle mae gras, ac nid oes dim gras lle mae andras." medd yr hen ddiareb.

*Dai.* Y mae genyf fi destyn *beautiful* i'm llith nesaf ag a fydd yn sicr o dy electrifio di, Ned, o wadu dy droed hyd goryn dy ben.

*Ned.* Rho ei glywed, rho ei glywed, Dai anwyl.

*Dai.* "Caffed amynedd ei pherffaith waith." "Pwyll ac amynedd sydd dda." Ië,

"Pwyll sydd well nag aur,
A gras sydd well na grym;
Duw sydd well na da,
A Christ sydd well na dim."

Adieu for the present, Ned.

SYLWEDYDD SALA' YDYW.

---

## AWDL.

### YR ALLOR DEULUAIDD.

WELE deulu hudolus—ar aelwyd
Wir hylon gysurus,
Uwch chwerwedd, cabledd, ac us—annuwiol,
Ië mor fuddiol mewn tymmer foddus.

Yn addoli'n eiddilaidd,—er hyny
Teimlir rhinwedd sanctaidd
Yn eu helynt, trwyddynt traidd,—er drwg bla,
A Duw a lywia'r allor deuluaidd.

Gwelir y teulu gwylaidd
A dihalog enwog aidd,
Eu holl nerth yn aberthu
I Dduw ein câr ddoniau cu:
Ar yr allor Ior ŵel—eu hamcan,
E ddaw â'u hegwan waith yn ddiogel.

Gwr y ty sydd ger y tân—yn llywydd
Llawen ar y cyfan;
A'i wraig lwys, un rywiog lân,
A'u byw obaith—eu baban.

Yn eu plith y ceir y plant,
O wir awydd chwareuant,
Yn llawn nwyf cynllunio wnânt,
Ac eilwaith o gylch ciliant
I roddi mwy o ryddid
A gwres iachusol i'w gwrid:
Llyw anwyl eu llawenydd
Ger eu bron sy'n rhodio'n rhydd,
A chael blas iach hwyl heb lid,
Ac hoender uwch pob gwendid.

O'u deutu y fam dotio fydd,—a chwardda
Uwch eu hurddas beunydd;
Gwylia eu dawn, gwel y dydd
Cludant i Dduw eu clodydd.

Gwel fôr o hedd ar Galfari,—a hwythau
Weithian yn llaw Celi,
A'u henaid yn llawn yni—nefol,
Yn ysbrydol rhagorol gewri.

I Dduw Iacob hwy ddeuant—â'r allor,
I ollwng aberthiant;
O iawn hwyl cyduno wnânt
I ganu ei ogoniant.

Boreu a hwyr gwnânt barhau—i ddilyn
Addoliad Duw'r duwiau;
Gwel eu huniawn galonau,
Yn môr ei hedd maent yn mawrhau.

Ger yr allor yn rhagorol,—y maent
Mewn hwyl addoliadol;
Siarad y geiriau siriol—mae y tad,
A'i hoff rodiad fel gwr offeiriadol.

Esbonia wers o bennod,—myn afael
Mewn hufen heb sorod;
D'weda am allu'r Duwdod,
Hyn yw ei nerth a'i iawn nod.

Ephraim bach â'i offrwm bydd,
A'i galon gyda'u gilydd;
Ei aberth ef wrth borth Ior,
A'i 'wyllys ar yr allor;
Ei weddi wŷl yng ngŵydd Ion,
Yn llawn gan nef ddillynion,
A geir yn wir ragori,
Yn ol rhaith ein nefawl Ri.

Richard welir a Rachel,
A'u geiriau mewn doniau dèl,
Yn canu glwys acenion,
Fawl i'w Ner ar dyner dôn;
Y mae'r alaw mor hwylus,
Hedd a red yn ffrwd ddirus;
Jenny fach a Johnny fydd
Yno yn llawn dywenydd;
At yr allor tröellant
Yn eu nwyf yn llon a wnânt,
Ac uno mwy er canu mawl
Yn ddifyr y gân ddwyfawl.

Salmau ac odlau ddyhidlant—yn fawl,
Gorfoledd diffuant;
Y teulu nis attaliant,—yn fywiog,
Yn ddolenog y gerdd ddilynant.

Cân Moody a Sanky sydd
Yn hoewi'u dawn o'r newydd;
Llifeiria o'u lleferydd—ddiliau mêl,
Ddeil y man yn glodrydd;
A'r ganiad ä ar gynnydd,
A mael fwy mewn moli fydd.

Eu Haleliwia sy'n hwyl i lawer,
A Duw eu llawndid yn rhoi dillynder;
Tania'r alawon tyner—bawb â swyn,
A'u doniau hyfwyn nid ä yn ofer.

Dyna bert mae'r doniau byw
Yr adeg—hawddgar ydyw;
Dwyn i'w plith mae doniau plant,
Gynnydd sy'n llawn gogoniant.

Cario'r hwyl mae côr yr aelwyd,—urddas
Y cerddor ddadblygwyd,
Mewn symledd hoenwedd unwyd,
O frwd nerth ac hyfryd nwyd;
I borth Ior rhoi aberth hedd,
Am gael ei wir ymgeledd.

Adrodd wnânt yn ddirodres—ger y fam
Gair o Feibl, am hanes
Hoff brophwydi Rhi yn rhes,
A'u hygar ddwyfol neges;
Ac eilwaith yn gu hwylia—yr holl blant,
Ac hwyl a fwriant i gân Calfaria!

Mynych i Gethsemana—'n hwylus ânt,
Yno y seiniant y gân "Hosanna!"

Bywyd dan burdeb awen—a roddant
Mewn rhyddid yn llawen,
A rhinwedd heb un ddraenen—O mor syw,
O dwf hael ydyw fel dwyfol Eden.

Gwelir y fam yn ei serch yn fflamio,
Wrth eu clywed a'u gweled,—eu gwylio,
A gwaedda'n hoenus—mewn gweddi'n uno,
"O Dduw hoff anwyl, Ti'n amddiffyno;
Uniawn y byddom heno—yn d' olwg,
O dan dywyllwg ein Duw'n diwallo."

Yn y boreu yn beraidd—y deuant
I'w Duw offrwm sanctaidd;
Eglur a pheraroglaidd,
Nwyf hael yw i'w nefol aidd.

O! na bai mwy yn y byd
A nwyf elfen nefolfyd;
Dawn y gerdd f'ai'n dân i gyd,—caent o'r fan
Yn fynych hedfan uwch eu hadfyd.

Hen awen yr annuwiol
Yw geiriau a phethau ffol;
Y cwbl ddeil yw cablu'i Dduw
O wynias erch yr ennuw!

Llwyr dilëir drwy'r allor deuluaidd
Yn hyf elynion a'u gwŷn afluniaidd;
Gyru i awyr y teulu'n garuaidd
Mae hwyl gyhoeddus, a'u moli gweddaidd
Yn nwyf alaw nefolaidd,—sy'n orau,
Heb rym ias tônau y llu brwmstanaidd!

Ar yr allor Ior a ollwng—ei dân,
Dyna'r byd 'n ymollwng
O'u gafael o dan gyfwng,—a'r Duw ddyn
Yn dir estyn ei nerth i'w darostwng!

Ar y Sabbath ceir seibiant—yn nhy Dduw
Ei nawdd Ef rydd ffyniant;
Ger yr allor yno'r ânt
I aberthu am borthiant.

I'r Iesu mawr a'i ras mwy
Redodd yn glodforadwy,
Ar ddoniau'n llawn urdduniant
Y ceir mêl yn sel y sant;
Melus yw clywed moli
Ag hwyl fawr am Galfari;
Hwylia'u ffydd i ol y ffon
Ar y gwaed drwy'r ergydion,
Heibio rhwng darnau'r aberth,
Yno ânt yn llawn o nerth!
Y cleddyf a fu'n claddu
Ei drochion i'r galon gu,
Heddyw ni fedr gyrhaeddyd
Heibio ar ben neb o'r byd!

Crogai'r Iesu, "Craig yr Oesoedd,"—y cledd
Uwch clwy'i 'mysgaroedd,
A'i fawr gariad yn foroedd—ymchwydda,
A dafnau dora lawr i'r dyfnderoedd!

O! 'r Iawn mawr, cyfrana i mi—y dafnau,
Nid ofnaf ddrygioni;
Eilchwyl os caf fy ngolchi,
Gwyl fawr o hedd am Galfari
A gadwaf yng nghysgodau
O nwyf bur yn y nef bau!

O! am nerth i aberthu—o gariad,
I'r Gwr wnaeth fy ngharu:
Trwy y byd ei fywyd fu
Yn rhad er fy ngwaredu!

Adsain mae ein dyledswydd
Yn llawn mai dyma ein llwydd.

Rhoi i'r Iesu ar allor deuluaidd
Yr iawn addoliad, er yn eiddilaidd,
Daw iach loniant yn y gwaith dichlynaidd,
A sut i ennill y llu Satanaidd
I gywair hoew mewn ffordd garuaidd;
Gras, y dawn hygar yn Gristionogaidd,
Welir arnynt yn wylaidd,—ar bob hynt
Nofia eu helynt mewn hwyl nefolaidd.

R. Lloyd (*Cenydd*).

*Caerffili.*

---

## ADLENWAD I'R WEINIDOGAETH.

Y pwnc hwn oedd un o'r pethau olaf fu dan sylw y Gynnadledd Eglwysig yn Plymouth. Yr achwyniad cyffredinol yw prinder ymgeiswyr am urddau. Barnai rhai y dylent, er cyflenwi y diffyg, wneyd yr un peth ag a wnaeth y Llywodraeth yn amser Rhyfel y Crimea—gostwng y safonbrawf. Yr oedd y Parch. Saumarez Smith yn dywedyd na allai ond ychydig astudio Groeg, Lladin, ac Hebraeg. Gwell fyddai rhoddi addysg Seisoneg dda, na chrachwy-

bodaeth o'r ieithoedd meirwon. Yr oedd Mr. Randall, o Clifton, yn meddwl, fel Dug Caergrawnt, ei bod yn rhaid cystadlu am adlenwad fel swyddau ereill yn y farchnad. "Onid yw yn syndod," meddai, "fod nifer yr ymgeiswyr yn lleihau, pan mae dyn yn ymgeisydd am urddau sanctaidd? y mae yn golygu tlodi sanctaidd." Y mae llawer yn ddiammheu yn myned i'r weinidogaeth heb gymmeryd dan ystyriaeth angenrheidiau bywyd; ac mae llawer yn dwyn cynnysgaeth gyda hwy, ac mewn gwirionedd yn derbyn dim oddi wrthi. Ond y mae ereill, heb law Trollope, wedi tynu pictiwr galarus o ymdrechion personiaid yn erbyn tlodi oddi fewn a phechod oddi allan. Yr oedd y Parch. R. C. Billings yn barnu fod *croquet lawns*, hela, saethu, pysgota yn anhebgorion i ddyn wrth ymsefydlu mewn plwyfydd gwladaidd. Nid oes achos i ni warafun, ar gyfrif y draul, *croquet lawns* i'r offeiriad gwladaidd, yr hwn sydd yn cadw ei hun rhag cweryla â'i yswain, trwy gario ei wn; ac yn gwneyd ei waith yn ffyddlawn. Gall y curad heinyf ddifyru ei hun wrth chwareu *cricket*. Mae helwyr llwynogod yn anaml iawn yn ein hoes ni, mor anaml a gwerniar yn Lloegr a Chymru. Nid oes dim braidd dwsin a rodda yr un ateb i'r esgob, a'r offeiriad hwnw yn sir Dyfnaint i Henry o Ecseter, pan ddywedodd yr olaf wrtho fod difyrwch gwladaidd yn niweidiol i ddylanwad yr offeiriadaeth. "Yr wyf fi, fy arglwydd, yn dywedyd wrth fy mhraidd am ganlyn y goleu ac nid y llusern." Nid yw hunan-aberth yn debyg o dynu dynion ieuainc i'r Eglwys, neu adael i'r person ieuanc i ddewis byw yn dlawd, neu hela am gynnysgaeth ym mhlith eu cynnulleidfaoedd; fel y sylwodd Sydney Smith mewn atebiad i un ag oedd yn gofyn iddo am guradiaeth Combe Florey. "Cafodd fy nghurad diweddaf dri chynnyg ar ol ei bregeth gyntaf, dau o'r rhodfa ogleddol, ac un o'r *gallery*." Annoethineb mawr yw cynllunio mesurau er cael gwragedd er mwyn cynnorthwyo eu cyflogau. Y cwestiwn yw, a oes prinder yn bod? Yr oedd y siaradwyr yn Plymouth yn derbyn hyn fel ffaith. Pan gymmerwn dan ystyriaeth y miliynau sydd wedi cael eu tanysgrifio o fewn yr ugain mlynedd diweddaf, at adeiladu Eglwysi newyddion, nid ŷm wedi clywed iddynt gau un, neu fethu ei hagor o eisieu offeiriad. Ar y cyfan nid oes dim prinder mawr; y mae yn wir fod diffygion achlysurol yn cymmeryd lle. Nid yw y prinder yn ddigon i beri i ddrysau yr Eglwys gael eu hagor i ddynion anwybodus a chrachddysgedion. Yr ŷm ni yn gwybod am rai o'r rhai hyn yn awr yng Nghymru.

Yr oedd y Parch. G. H. Moberly, caplan Esgob Caergaradog, yn barnu fod yn rhaid i ni gael adgyflenwad o ryw ddosbarth is nag yn yr amser aeth heibio. "Mae ysgolfeistri trwyddedig a'u meibion," meddai, "am fyned i'r Eglwys." Nid oedd ef yn gweled fod un achos iddynt bryderu. Yn y cyntaf o'i dair siars, gwasgodd yr archesgob ar ei wrandawyr y pwysigrwydd o gael dynion dysgedig yn gystal a duwiol, pan y mae ysbryd anffyddiaeth mor flodeuog. Nid yw yr amser yma yn un addas i ostwng y safon-brawf, a dwyn i mewn ddynion anaddas, y rhai sydd, er eu bod yn eu cuddio, yn ymwybyddus o'u hanwybodaethau. Dywedodd Deon Manchester fod anwybodaeth meistroldysg yr offeiriaid ar bynciau gwyddonol, am y rhai mae eu gwybodaeth yn ammherffaith, wedi gwneyd mwy i yru dynion i anffyddiaeth nag un astudiaeth o waith Duw, er fod tueddiad ynddo i wneyd eilun o'r gweithiwr, a'i fod yn fwy treiddgar nag ereill. Nid oes neb yn fwy parod i gael allan ddiffyg gwybodaeth, yr hon y mae ef yn chwilio am dani. Awgrymwyd yn y gynnadledd y dylai yr archddiaconiaid edrych allan am y dynion mwyaf addas a defosiynol—dynion ieuainc addawol, am y rhai y maent

**yn gwybod rhywbeth ym mlaen llaw, i ddyfod yn ymgeiswyr am urddau.** Dywedodd yr Hybarch Archddiacon Denison fod digon o amser gan yr archddiaconiaid. Nid oes neb ond y deoniaid ag mor lleied o waith. Deued yr ymgeiswyr o'r dosbarth a fynont, ond gadëwch i ni gael dynion dysgedig i'n harwain, dynion sydd yn feddiannol ar wybodaeth lenyddol, gwyddonol, yn gystal a duwinyddol: y mae yn rhaid cael hyn mewn oes ag y mae cymmaint o ddaleu a chwilio allan.

RHEIDIOL.

---

## Adolygiad y Wasg.

CHRISTIANITY AS TAUGHT BY *St. Paul. Dr. Irons's Bampton Lectures*, 1870. *Llundain: Parker.*

MAE y llyfr hwn yn un o'r gyfres werthfawr o lyfrau duwinyddol a gyhoeddir flwyddyn ar ol blwyddyn ar draul cymmynrodd y diweddar Barch. John Bampton, Canon Caersallwg, gwr haelionus a adawodd yn ei ewyllys ystâd o werth 120*p.* y flwyddyn i dalu am wyth darlith dduwinyddol, i gael eu pregethu yn Eglwys Sant Mair, Rhydychain, ac i gael eu cyhoeddi mewn dau fis ar ol eu pregethu. Mae'r pregethwr i ddarlithio ar un o'r pynciau canlynol: Cadarnhâd y Ffydd Gristionogol, a Gwrthwynebiad i Hereticiaid ac Eglwysrwygwyr; Awdurdod Dwyfol yr Ysgrythyrau; Awdurdod y Prif Dadau mewn materion yn perthyn i Ffydd ac Arfer Gristionogol; Dwyfoldeb Crist; Dwyfoldeb yr Ysbryd Glân; Credo yr Apostolion a Chredo Nicea. Rhaid bod y darlithiwr wedi graddio yn A.C. Caergrawnt neu Rydychain; ac nid yw yr un person i bregethu mwy nag un flwyddyn. Pregethwyd y cwrs cyntaf yn 1780, ac oddi ar yr amser hyny mae ewyllys eu sylfaenydd wedi cael ei chyflawnu oddi eithr yn y blynyddau 1834, 1835, ac 1841. Mae rhai o brif feddylwyr Eglwys Lloegr wedi cyfrannu at y darlithiau pwysig hyn, ac yn eu plith gellir enwi Esgob Heber, Whately, Milman, Mansell, Rawlinson, Liddon.

Mae yn dda genym weled fod galwad am argraffiad arall o ddarlith ragorol Dr. Irons. Mae hyn yn profi nad ydym, beth bynag, gwedi cyrhaedd mor belled ym mlaen mewn meddwl fel ag i fod tu hwnt i addysgiaeth Sant Paul; ac y mae Dr. Irons, fel yr ŷm yn credu, gwedi llwyddo i newyddu yr addysgiaeth hwnw heb leihau ei nerth. Y mae efe, fel y gellir dywedyd, gwedi ei ail-lunio at yr oes hon; a phan yn dangos y modd yr oedd yr apostol mawr yn llanw lle yn hanes Cristionogaeth a'r Eglwys ag ydoedd y pryd hwnw wedi ei barotoi yn arbenigol iddo, a'r hwn le fe ddichon na ellid ei lanw gan neb arall, y mae'r Dr. yn arddangos yn eglur fod Sant Paul, yn y cynllun Dwyfol, gwedi byw, gweithio, addysgu, ac ysgrifenu i bob oes a chyfnod, a bod ei fywyd a'i addysgiaeth yn awr yn fwy na digon i ddamcaniaethau a dadblygiadau diweddar. Y mae mor wir yn ein plith ni yn bresennol ag yn Corinth neu Ephesus y pryd hyny, ei fod yn siarad ag arddangosiadau o'r Ysbryd Glân a chyda nerth. Y mae Dr. Irons yn cyfrif mewn ffordd arall am ledaeniad cyflym Cristionogaeth yn ei chychwyniad. Yr oedd yn wyrthiol. Yr oedd gan bob lle ag y planwyd yr Efengyl ynddo gyntaf, ei Bentecost; ac er bod gan y gwirionedd i ymladd yn erbyn anwybodaeth, ofergoeledd, a drygioni, eto yr oedd, nid yn unig yn dal ei dir, eithr yn cynnyddu—cynnyddu yn rhyfeddol; a dyfod yn allu ag y teimlid ei fod yn rhywbeth gwahanol i bob peth a glywyd am dano o'r blaen.

Ymddengys mai amcan y darlithiau ydyw olrhain cenadwri Sant Paul yn yr Eglwys Gristionogól, ac yn neillduol i ddilyn ei addysg megys ag

yr ŷm yn ei gael yn ei areithiau a'i Epistolau yn ol eu hamseryddiaeth. Dangosir i ni pa fodd y mae pob epistol dilynol, nid yn unig wedi ei gyfaddasu yn neillduol i angenion ac amgylchiadau y rhai ag yr ysgrifenodd ef atynt, eithr ei fod ym mhellach ym mlaen na'r un blaenorol, a'i fod yn angenrheidiol er mwyn gwneuthur i fyny un gyfundrefn gydrywiog a chyfan.

Nid llai annyddorol ydyw y rhan o'r gwaith hwn ar " Ystyr Parhaol yr Areithiau a'r Epistolau." Yn y rhan yma, yr hwn, er ei fod yn cael ei alw yn attodiad, sydd yn gwneyd i fyny tuag hanner y gyfrol, y mae yr awdwr wedi ymdrechu, ac fel y tybiwn gyda llawer o lwyddiant, i gyflwyno i ddarllenwyr yr oes hon gyflwr a theimladau gwirioneddol yr apostol mewn perthynas i'r rhai ag oedd efe yn eu cyfarch; ac er bod yr iaith yn ddiammheu yn colli peth o'i hardderchogrwydd a'i harucheledd wrth aralleirio areithiau'r apostol, mae ganddi yr holl eglurdeb a'r nerth â'r rhai yr appeliai at y rhai hyny a'i clywsant gyntaf. Mae'r gwaith yn dra gwerthfawr at eglurhau ystyr gwirioneddol llawer o frawddegau yn ysgrifeniadau Sant Paul, y rhai, er eu bod yn gynnefin i'r rhan fwyaf o honom, eto nad ydynt yn dwyn gyda hwynt unrhyw feddylddrych neillduol i'n meddyliau, ond fe ddichon mewn rhai achosion yn creu rhyw feddylddrych rhanol a neillochrog.

Er bod y darlithiau, fel y crybwyllir yn y rhagymadrodd i'r argraffiad presennol, gwedi eu traddodi yn yr amser pan yr oedd gwaith Renan ar Sant Paul wedi newydd gael ei ddwyn allan am y tro cyntaf i gylchrediad yn ein mysg, ac felly yn neillduol gyfaddas a dyddorol y pryd hyny, eto credwn y bydd i adargraffiad o'r darlithiau hyn yn yr amser presennol, ac yn y ffurf ag y cyhoeddir hwynt, sicrhau iddynt gylchrediad mor helaeth a gwerthfawrogiad mor drwyadl ag yr haeddant, ym mhlith y rhan fwyaf meddylgar a dysgedig o'n darllenwyr.

---

LLYFR I BOBL IEUAINC: *Ieuan Gwynedd, ei Fywyd a'i Lafur. Gan R. O. Rees. Dolgellau: Cyhoeddedig dros ei Weddw gan R. O. Rees.*

MAE Cymru dan ddyled i Mr. Rees am ei waith llafurus yn anrhegu'r wlad â'r llyfr dyddorol hwn. " Llyfr i Bobl Ieuanc" y mae yn ei alw; ond "llyfr i bob un sydd â gwaed Cymro yn rhedeg yn ei wythïenau" yr ydym ni yn ei ystyried. Er nad oedd barn Ieuan Gwynedd mewn allanolion crefydd ac egwyddorion gwleidyddiaeth yn cyduno bob amser â'n barn ni a mwyrif ein darllenwyr; eto nis gallwn ymgadw rhag dadgan ein teimlad mai un o wroniaid Cymru ydoedd—un y byddai lle i unrhyw wlad ymfalchïo o'i herwydd; un ag y mae ei wlad ei hun, ac yn enwedig merched cabledig ei wlad, dan ddyled annhaladwy iddo.

Torwyd ef i lawr yn gynnar yn ei oes. Ni welodd ond 31 gwanwyn a haf; ond mae gwaith ei dymmor byr yn helaethach nag eiddo llawer llenor clodfawr a gyrhaeddasant henaint a phenwyni. Ei lafur gormodol yn ddiammheu oedd achos byrhâd ei fywyd. Parod oedd yr ysbryd; ond llesg oedd y cnawd.

Rhy wan oedd ei babell i'r enaid mawreddog,
A grym ei athrylith a wywodd ei wedd;
Bu raid i'w gorff deimlo ei feddwl gorfiniog,
Fel wain yn ymagor gan lymder y cledd.

Nid ydym fel yr awgrymasom yn cydsynied â llawer yn ysgrifeniadau Ieuan Gwynedd; ond yr ydym yn parchu ei goffadwriaeth am ei ddiwydrwydd, ei ddewrder, ei wladgarwch, a'i anhunanoldeb; ac y mae genym bleser mawr wrth wneyd yr hyn sydd yn ein gallu i gymmeradwyo yr hanes hyn am dano i sylw a chefnogaeth ein darllenwyr.

# Congl y Cymrain.

## GWEHELYTH Y DIWEDDAR J. JOHNES, YSW., DOLAU COTHI.

Y MAE y teulu hwn a'i wahanol gangenau — Dinefawr, Abermarlais, Llanbadarn Fawr, Abermâd, Llanfair Clydogau, a Dolau Cothi a'r Hafod —yn euwog yn hanes y Deheubarth, yn neillduol yn siroedd Caerfyrddin, Aberteifi, a Phenfro, y rhai ddarfu iddynt gynnrychioli yn y Senedd. Un o'i hynafiaid, Syr Thomas Johnes o Haroldstone, oedd yr Aelod Seneddol cyntaf dros sir Benfro, yr hwn oedd yn hanu oddi wrth y Rices Fitz Urien o Dinefawr. Dywedir fod sylfaenydd y teulu, Urien Rheged, yn hanu o Goel Cadebog, brenin Prydain, gwrhydri yr hwn a'i feibion a gofnodir gan y bardd Taliesin a Llywarch Hen. Yr oedd Urien yn dywysog Rheged, yr hon a elwir yn awr Dumbarton. Yr oedd ef yn gydoeswr â'r Brenin Arthur, yr hwn a laddwyd ym mrwydr Camlan. Gorfu i Urien a'i feibion ymfudo i Ddeheudir Cymru, lle yr adeiladodd gastell, a elwir yn awr Careg Cennen, a daeth yn Arglwydd Iscennen a Chydweli. Ei wraig oedd Leffoy neu Leffay, merch Gwrlais, Dug Cernyw. Eu gwehelyth oedd,—

1. Syr Owen a saith o feibion ereill. Yr ieuengaf oedd Cyndeyrn, Esgob Glasco a Llanelwy, i'r hwn mae Eglwys Llangyndeyrn wedi ei chyssegru.

Yr oedd Syr Owen ab Urien yn un o Farchogion Bwrdd Crwn y Brenin Arthur, a'i wraig oedd ferch Latho, brenin y Pictiaid.

Y chweched o'r llinach oedd Gronw ab Einon ab Inon Fawr ab Llywarch ab Ryrid ab Mor ab Pasgen ab Syr Owen; Arglwydd Iscennen, p. Llewelydd, merch Einon Clyd, Arglwydd Elfed.

Rhys ab Gronw, Arglwydd Iscennen, p. Margaret, merch ac aeres Gruffydd ab Cydrych, Arglwydd Gwynfai.

Elydr ab Rhys, Arglwydd Iscennen, p. Gwladys, merch Phylip ab Bach (Gwaethfoed, Arglwydd Ceredigion), Arglwydd Yscynfraith neu Escairfach, Morganwg. Eu mab oedd,—

Syr Elydr Ddu neu Leonard Ddu, yr hwn a gymmerodd y Groes, ac a aeth gyda Risiart yr II. i Ryfel y Groes, yn erbyn y Saraceniaid, a chafodd ei wneyd yn Farchog y Bedd. Yr oedd yn cyfanneddu yn Crug, Llandeilo Fawr. Efe oedd y cyntaf i ddefnyddio yr enw Fitz Urien. Efe a briododd Cessyl, merch Sitsyllt ab Llewelyn, Arglwydd Cantref Selyff.

Phylip ab Elydyr, Fitz Urien o'r Crug, a briododd Gwladys, merch ac aeres Dafydd Fras o Gydweli, Ysw., ab Einon Goch ab Gruffydd. Eu mab oedd Nicolas ab Phylip Fitz Urien o'r Crug, yr hwn a briododd Jonnett, gweddw Gruffydd Fychan, Arglwydd Caio a Chilcwm. O blant ei gwr cyntaf y disgynodd Williamsiaid Ystradffin, Arglwyddi Cilcwm (gweler tudalen 100 o *Lewys Dwnn's Heraldic Visitations in Wales*), merch i Gruffydd ab Llewelyn Foethus, yr hwn a gyfanneddai yng Nghastell y Dryslwyn, Arglwydd Llangathen, un o wehelyth Elystan Glodrydd, Tywysog Ferlix. Bu farw yn fuan wedi iddo briodi, a ganwyd ei fab ar ol iddo gael ei gladdu, sef Syr Gruffydd ab Nicolas, yr hwn a alwyd yn "Eryr Caerfyrddin," yr hwn a gymmerodd ran bwysig yn Rhyfel y Rhosynau. Yr oedd ef yn un o'r pleidwyr mwyaf diysgog a dylanwadol o Deulu Yorc. Mewn amseroedd heddychol, yr oedd ef yn hoff o noddi y beirdd a llenyddiaeth. Efe oedd llywydd Eisteddfod fawr Caerfyrddin. Yr oedd ei fawr gyfoeth, a'i ddylanwadau politicaidd gyda holl bendefigion y Deheubarth, yn ei alluogi i ddwyn byddin i'r maes, yr hyn oedd yn ei wneyd i ymddangos fel penadur yn hytrach

na deiliad. Bu yn briod dair gwaith, yn gyntaf a Mabli, merch Meredydd ab Henry Dwn o Gydweli a Chwrt Pabwr. Ar ol ei marwolaeth efe a briododd â Margaret, merch Syr Thomas Perrot o Haroldstone, Marchog, a'i wraig, Alice Picton o Cernmaes, yr hon oedd yn disgyn o'r Marchog y Gardas Cyntaf yn amser Iorwerth II., sef Gwyde Bryan o Gastell Llacharn, Llyngesydd, a anfonwyd yn erbyn y Ffrancod, yr hwn a gladdwyd ym Mynachlog Tewkesbury. Yn ail, Jane, merch Jenkin ab Rhys o Gilfach Wen, Ysw., yr hwn oedd yn disgyn o Gadifor ab Dinawol, Arglwydd Castell Hywel Cafodd Gruffydd ab Nicolas ei ladd ym mrwydr Wakefield. Gadawodd amryw o blant, sef Thomas ab Gruffydd o Dinefawr, milwr enwog yn ei ddydd. Cymmerodd yntau ran yn Rhyfel y Rhosynau. Efe a briododd yn gyntaf Elizabeth, merch ac aeres (o'i wraig, merch Arglwydd Mountjoy) Syr John Gruffydd o Abermarlais, Arglwydd Llansadwrn.

Thomas ab Gruffydd, o Ddinefawr, oedd filwr enwog yn Rhyfeloedd y Rhosynau. Priododd yn gyntaf ferch Syr John Gruffydd o Abermarlais, Arglwydd Llansadwrn. Blinodd Thomas ar y rhyfeloedd cartrefol; teithiodd mewn gwledydd tramor, a phriododd Elizabeth, merch Phylip y Dewr, Dug Burgundy, trwy drwydded y Pab. Er fod Thomas ab Gruffudd o dymmer heddychol, o herwydd sefylla gyrthryblus yr oes, yr ŷm yn cael ei fod yn ornestwr. Yr oedd yn arfer ymladd ar ei geffyl; ymladdodd â Henri ab Gwilym, o Gwrt Henri, droion, ac yr oedd yn wastad yn fuddugoliaethus. Ymladdodd ar ol hyn ag un Tuberville yn Sir Henffordd, a thorodd asgwrn cefn yr olaf. Ei ornest olaf oedd ag un Dafydd Gough, yr hwn a laddodd. Ar ol yr ymladdfa, ymddiosgodd o'i arfogaeth a gorweddodd ar y llawr. Pan yn y sefyllfa hon, trywanodd un o gyfeillion Gough ef â'i gleddyf trwyddo. Claddwyd Thomas yn Ynys Enlli. Gadawodd,—1. Morgan ab Thomas, yr hwn a ymladdodd o blaid teulu Yorc, yr hwn a fu farw yn ddiblant. 2. Dafydd ab Thomas, "Dafydd Ceffyl Cwta," yr hwn a gymmerodd blaid teulu Lancaster. 3. Henri ab Thomas, o Glansouthy (Glansawdde), Llanymddyfri. Cyffelyba y bardd Lewys Glyn Cothi ef o ran ei gorffolaeth i Harri II. a Harri III. Dywed ei fod yn cyfanneddu yn Llanymddyfri. Rhodda iddo y cymmeriad o fod yn ddyn doeth a gochelgar, yn llawn o wroldeb, ac mai cleddyf Henri oedd mur ei wlad. Efe a briododd Agnes, merch Llewelyn ab Gruffydd, yr hwn oedd yn disgyn o Gwaethfoed o Gastell Grosmont, ac Arglwydd Gwent, yr hwn a dderbyniodd y groes o law yr Archesgob Baldwin, 1188.

Thomas ab Henri, o Glansouthy, Llanymddyfri, a Dolau Cothi, Cynwyl Gaio, a briododd Gwenllian, merch Rhys ab Rhys, o Dolau Cothi, Ysw., ab Llewelyn ab Gruffydd Vychan ab Dafydd Fongam, o Ystradffin, Arglwydd Cilcwm.

John ab Thomas, neu Parry, o Dolau Cothi, a briododd yn gyntaf Maud, merch ac aeres Thomas ab Rhydderch ab Thomas Ychan, o'r Cryngae, Castell Newydd. Yn ail, Elen, merch Syr Risiart Vaughan, o Bredwardine, ac Anne ei wraig, merch Syr John Butler, o Gastell Dunraven. Eu plant oeddynt Morgan Parry, Dolau Cothi, yr hwn a fu farw yn ddiblant; Risiart Parry, eto; ac Anne Parry, etifeddes i'w brawd, yr hon a briododd yn gyntaf, James Lewes, ac yn ail â James Jones, trydydd mab Syr Thomas Jones, o Abermarlais. Trwy briodas James Jones ac Anne Parry fe unwyd y ddau deulu yn 1671 yn James Jones.

Dychwelwn yn awr at y canghenau ereill o'r teulu. Syr Thomas Jones, Abermarlais, a briododd yn gyntaf Elizabeth, merch ac aeres Syr Edward Dunn (o'i wraig Ann, merch Syr John Verney), ac wyres i Syr John

Dunn, o Abercyfor a Cwrt Pabur, maenoriaeth yng Nghydweli, a chafodd ddwy ferch. Ann Jones, yr hon a briododd John Cotton, o Wellington, sir Gaerloew; Frances Jones a briododd Ralph Lee, o Downterton; ei ail wraig oedd Mari, gweddw Syr Thomas Perrot, o Haroldstone.

Trwy y briodas hon, cynnrychiolodd Syr Thomos sir Benfro fel y marchog cyntaf yn amser Harri VIII., a llanwodd y swydd o Uchel Sirydd dros siroedd Caerfyrddin, Aberteifi, Brycheiniog, a Phenfro. Gadawodd,—1. Syr Henry Jones, o Abermarlais a Chastell Newydd Emlyn, Marchog Rhyfel, yr hwn a briododd yn gyntaf Elizabeth, merch (o'i wraig Mari, merch Syr Thomas Gamage, Arglwydd Coity,) Mathew Herbert, o Cogan Pill, yr hon a fu farw 1596, mab ac etifedd Syr Mathew Herbert, Abertawy. Ar ol marwolaeth ei wraig gyntaf priododd yn ail y Bendefiges Elinor Vaughan, gweddw Syr Roger Vaughan, Porthamyl, Brycheiniog, a merch Henry Somerset, ail Iarll Caerwrangon; ei drydedd wraig oedd Elizabeth neu Jane, merch Syr John Salisbury, o Llewenny, Canghellydd ac Ystafellydd Dinbych, ac A.S. yn amser Harri VIII. a Mari. Ei unig fab a'i etifedd oedd Syr Thomas Johnes, o Abermarlais a Chastell Newydd Emlyn, yr hwn a wnawd yn Farchog, Uchel Sirioedd Caerfyrddin, Penfro, ac Aberteifi; aelodd Seneddol dros Sir Gaerfyrddin, 1598. Efe a briododd Jane, merch ac aeres Rowland Puleston, Ysw., a'i wraig Agnes, merch Rowland Gruffydd o Plasnewydd, Mon. Gadawodd—1. Syr Henry Jones, yr hwn a grewyd yn Farwnig. Priododd yn gyntaf merch Richard Herbert o Drefaldwyn; yn ail merch Syr Henry Williams o Gwernefed, Brycheiniog, Marchog. Bu iddynt ddwy ferch—Elinor, yr hon oedd yn weddw, 1705, ac Elizabeth, yr hon a briododd Syr Francis Cornwallis, Marchog. 2. Thomas Jones, yr hwn a fu farw yn ddiblant, 1608. 3. Rowland; 4. Risiart, a fuont farw yn ddiblant. 5. Herbert Jones, M.A., Llanofer, rheithor Llangadog, Crughywel, Canghellydd Llandaf, a briododd Susan, merch John Jones o Gwrt Llanofer, Cofrestrydd Caerloew. Priododd ei ferch Elizabeth â Howel Gwynne, Ysw., Glanbrân.[1] Eu plant oedd Rowland Gwynne, a Susan, yr hon a briododd Thomas Gwynne, Ysw., Cynghordy. 6. Elizabeth, gwraig Syr William Aubrey. 7. Mari, a briododd Rhytherch Gwynne, Ysw., Glanbrân, a'i fab ef oedd yr Howel Gwynne uchod. 8. Anne, yr hon a briododd yn gyntaf George Mortimer o Goedmor; yn ail John Steadman o blas Cilcennin;[2] ei disgynyddion o'r briodas hon yw Ieirll Lisbwrn o'r Trawsgoed, a Lloyds Glangwili. Brodyr Syr Henry Jones oedd,—

2. Risiart Jones, ail fab Syr Thomas Jones, cyntaf o Abermarlais, a Mari Perrot, yr hwn a ymgartrefodd yn Cwmgwili trwy ei briodas ag Elizabeth, merch ac aeres Gruffydd Lloyd ab Gruffydd ab Lewys, Ysw., o'r lle hwn. Nodir ei enw ef yn *Llyfr y Merthyron* Fox, sef "Risiart Jones, mab i Farchog, yr hwn a ymwelodd â'r Esgob Farrar cyn ei ferthyru," 1555.

3. Elinor Jones a briododd Gruffydd Rice o Dinefwr. Eu plant oedd Syr Walter Rice, Dinefwr; Barbara,

---

[1] Mari Gwynne o Glanbrân, wyres Herbert Jones, Llanofer, a briododd Miles Steadman o Dolygorer, Brycheiniog, yr hwn a fu farw 1719. Priododd Miles Steadman, mab yr uchod, â Mari Lloyd, merch ac aeres Cwmgwili. Elizabeth a briododd y Parch. Francis Beale, Pentrecŵn, ficer Llangammarch. Cynnrychiolydd y Steadmans Prothero, Dolygaer a Pantygof, Llanllawddog, yw Mr. William Gwynne Steadman Thomas, Caerfyrddin.

[2] Gwraig John Steadman a mam Miles Steadman oedd Margaret Phillips, merch William Phillips, Llettygariad a Love Lodge, a Blanch Gwynne, Llanelwedd, teulu yr hon oedd, trwy Gwilym ab Gwallter Iscennen, y chweched o Owen ab Gruffydd, Piodau, Llandybïeu.

yr hon a fu farw yn ddiblant; Mari, gwraig Walter Vaughan o'r Gelli Aur, mam Syr John Vaughan, wedi hyny Iarll Carbery.

4. Catherine, gwraig Thomas Vaughan, Penbre, a Dunraven, mam Syr Charles Vaughan, Cwrt Penbre a Porthamyl; ei hail wr oedd Risiart Bassett o Beaupre.

5. James Jones, Abermâd, Llanbadarn Fawr, trydydd mab Syr Thomas Jones a Mari Perrot, brawd Syr Henry Jones o Abermarlais. Gwasanaethodd fel uchel sirydd dros Aberteifi, 1586. Efe a briododd yn gyntaf Elizabeth, merch Watcin Thomas, Llwyniorwerth, a gweddw Morgan Dafydd Llwyd, Glasgrug. Ei ail wraig oedd Anne, gweddw James Lewes o Abernant Bychan, a merch John Thomas Parri ab Henri, o'r Cryngae yn Emlyn a Dolau Cothi, yr hon a ddaeth yn etifeddes i'w brawd. Gadawodd Mr. Johnes neu Jones, ferch o'r enw Mari, yr hon a briododd David Jones, Ysw., Glansefin. Ei etifedd oedd,—

Thomas Johnes, Ysw., Abermâd a Dolau Cothi, sirydd Aberteifi, 1618. Priododd Mari, merch (o'i ail wraig Anne, merch John Wogan o Wiston, Ysw., a Cecil ei wraig, merch Syr Edward Carnewenny, Llysgenadydd olaf yn Llys y Pab) James Lewes, Abernant Bychan. Ar ol marwolaeth Mr. Johnes, priododd ei weddw â Rowland Pughe, Ysw., Mathafarn, Meirionydd; a hi oedd mam ei etifedd, John Pugh, Ysw., a llysfam yng nghyfraith i Mari Pughe, gwraig gyntaf ei mab James Johnes, Ysw., Dolau Cothi.

James Johnes, Abermâd a Dolau Cothi, sirydd Caerfyrddin, 1667, sir Aberteifi, 1670. Ei wraig gyntaf oedd Mari Pughe, merch Rowland Pughe, Mathafarn, A.S. dros Aberteifi. Gadawodd ei wraig gyntaf Thomas Johnes o Llanfair Clydogau. Dywed Mr. Steadman Thomas mai un o'r teulu hwn ddechreuodd ddefnyddio yr enw Johnes yn lle Jones.

Priododd yn ail Mari Price, merch Syr John Price, Aberbechan a Gogerddan, a chwaer Syr Richard Price, Gogerddan, yr hwn a grewyd yn Farwnig, 1641. O'i ail wraig cafodd

2. John Jones o Abermâd, yr hwn a briododd Anne, merch Howel Gwynne o Glanbrân, Ysw., o'r hwn y disgynodd Jones, Abermâd.

3. Risiart, yr hwn a fu farw yn ddiblant.

4. James Jones o Landre Griffith, 1709.

1. Anne Johnes, yr hon a briododd yn gyntaf John Lloyd o Glangwili ac Ystradcorwg. Ar ol marwolaeth ei gwr cyntaf, 1784, priododd ag Edward Jones o Llanina. Gadawodd y lle olaf i'w fab, a chyfanneddodd gyda Anne ei wraig yn Ystradcorwg.

2. Bridget Johnes, yr hon a briododd yn gyntaf â Thomas Lloyd o Bronwydd, Ysw.; yn ail, â John Williams, Ysw., Tal-llychau. Dywedir iddynt gyfanneddu yn Nolau Cothi.

*(I'w orphen yn y nesaf.)*

---

## HEN EGLWYS EIN TADAU.

Pa ham y gwnawn ni ddiystyru
  Ein tadau, a llwybrau eu hoes?
Pa ham yn amseroedd oer difraw
  Rhaid gadael hen Eglwys y Groes?

*Hwy* garent yr adail a'r fynwent—
  Lle 'nawr mae eu llwch yn y bedd;
Hen gartref merthyri, preswylfod
  Y seintiau sy'n gorphwys mewn hedd.

Can's yno'n ddiniwed fabanod
  Eu nodwyd ag arwydd y Groes,
Yn dadgan adduned y Cristion
  I ymladd hyd ddiwedd ei oes.

Ac yno'n blant bychain y dysgent
  I ganu hen Salmau mewn hwyl;
Ac yno yn addfwyn ymgryment
  Mewn gweddi a mawl ar yr wyl.

Ac yno yn bwyllog seliasant
  Adduned y Groes â pharhâd;—
Arddododd yr esgob ei ddwylaw
  Yn arwydd amddiffyn eu Tad.

Ac yno yr addunedasant
  Ffyddlondeb a chariad yng nghyd,
Gan uno bywydau a dwylaw
  'Flaen Duw, yr offeiriad, a'r byd.

Ac yno yn gysson bob Sabbath
I'r hen gôr teuluaidd yr aent,
Gan uno mewn hwyl yng ngwasanaeth
Hynafol merthyri a saint.

*Hwy* garent y llawr a dramwywyd
Gan deidiau yr oesau a fu,
A pharchent hen dy cyssegredig
Eu Duw, gan ei gadw mewn bri.

Mawr ofal a sel a ddangosent
Ar wyliau yr Eglwys mewn pryd;
Yn harddwych â dail ac â blodau
Addurnent y muriau i gyd.

At lân Fwrdd yr Arglwydd y deuent
I gadw gwyl cariad a gwledd;
A dygent eu rhodd er cyflwyno
Eu calon yn aberth o hedd.

Gwrandawent mewn ysbryd diolchgar
Am Grist, a'r oll erddynt a wnaeth;
'R hen hanes a ddysgwyd mor syml
A glywent, a gredent yn ffaith.

Cydgordio a wnaent yn heddychol,
Ymryson ni wyddent, na llid;
Fel engyl y nef mewn sancteiddrwydd,
Addolent a chanent yng nghyd.

Ond gwrol yn awr profedigaeth,
Pan ddaeth erlidigaeth ym mla'n,—
Dros Eglwys eu Duw ymdrechasant
Hyd farw, gan oddef y tân.

A chan mai'r un dwyfol wirionedd
Sydd genym, a'n tadau, yn awr;
A chan mai'r Un Sanctaidd sy'n tywallt
Enneiniad yr Ysbryd i lawr;

A chan mai'r un Cymmun Bendigaid
Sy'n c'lymu'n calonau yn un,
A'r un hen Wasanaeth yn dadgan
Ein gweddi a'n mawl yn gytûn;

Pam allan o lwybrau ein tadau
Gwnawn ni gyfeiliorni ar gam?
Pam, os bu yr Eglwys yn gysglyd,
Rhaid cefnu ar gariad ein Mam?

J. T. L.

*Persondy Llanfyrnach,*
*Sir Benfro, Medi,* 1876.

## Hanesion.

### SYR RISIART STEELE.

Y mae llawer ffaith wedi myned heibio er pan gladdwyd Syr Risiart Steele o fewn muriau cyssegredig Sant Pedr, ac ni wnawd dim ond gosod careg goffadwriaethol iddo yn Llangwnwr; ac nid oedd neb yn gwybod braidd dim am dano; ond y mae yn dda genym weled fod Mr. Valentine Davis yn myned i osod plât pres er cadw ei enw mewn cof. Bu priodas Steele â Miss Scurlock, merch Jonathan Scurlock, Ty Gwyn, yn foddion i'w gyssylltu â Chaerfyrddin. Miss Scurlock oedd ei ail wraig; ond nid oedd y pâr yn byw yn ddedwydd, o blegid yr oedd Steele yn wastraffus, a hithau yn gybyddlyd. Dywedir i wastraff ei gwr suro ei thymmer. Yr oedd yn arfer ysgrifenu yn barhäus, bron bob hanner awr, at ei "Anwyl Prue." Dywed un o'r newyddiaduron na ddarfu iddo ysgrifenu dim pan oedd ef yng Nghaerfyrddin; ar y llaw arall dywed awduron ereill iddo gyfansoddi y *Conscious Lovers* a *dramas* ereill yma. Tarawodd y parlys ef, ac efe a effeithiodd ar ei gynneddfau. Eto yr oedd yn hynod hapus. Yr oeddynt yn ei gario allan ar brydnawnau teg i weled y bechgyn a'r merched yn dawnsio, ac yr oedd yn arfer rhoddi gŵn i'r ddawnsferch oreu. Priododd ei ferch â'r barnwr Syr John Trevor.

## HANESION TRAMOR.

### Y DWYRAIN.

*Heddwch neu Ryfel?*—Hwn yw y cwestiwn y mae Ewrop wedi bod yn gofyn iddi ei hun er ys amryw wythnosau. Hwn yw y cwestiwn sydd yn cael ei ofyn o hyd. Nid oes un dyn byw a all ateb ond Ymherawdwr Rhwssia, yr hwn sydd yn cau ei hun i fyny gyda'i uchel swyddogion mewn palas yn ymyl mynydd Parnasus yn gweu rhwyd o gwmpas Twrci na all holl wleidyddwyr Ewrop ddim ei dadwneyd. Y mae y Czar yn siarad am heddwch, a holl Ewrop yn gwrando, ac yn ei longyfarch am ei amcanion, ac yn rhoddi credid i'w deimladau heddychol; eto nid oes dim un gallu yn Ewrop yn talu nemawr o sylw i'r hyn a ddywed y Czar o Rwssia: y maent oll yn parotoi i ryfel. Y mae ein Llywodraeth ni ar dŵr ei gwyliadwriaeth yn anfon allan filwyr, peiriannau rhyfel, a glo i Gibraltar a Malta, ac mae yn barod i anfon milwyr i Alexandria. Mae'r holl anturiaethwyr o Chicago i Gaergystenyn yn edrych ym mlaen am ryfelgyrch ar lanau y Danube cyn i fis fyned dros ein penau. Amser yn unig a ddengys pa un a ydyw Ymherawdwr Rhwssia yn ddidwyll yn ei amcanion. Yr ŷm oll yn gwybod mai yr un *policy* sydd gan ei swyddogion a'r Tywysog Milan. Mae y galluoedd dros y Serfiaid yn cynnyg i gau cegau cŵn rhyfel am chwech wythnos. Mae y Sultan yn cynnyg chwech mis o arf-attaliad, ac yn y cyfamser yn addaw gwneyd cyfnewidiadau a diwygiadau mawrion. Atebodd Rhwssia fod yn rhaid i'r Porte foddloni ar chwech wythnos. Os bydd i Twrci dderbyn hyn, dichon y cawn gweryla mewn perthynas i'r telerau. Mae galluoedd Ewrop, dan ddylanwad Rhwssia, yn gofyn am hunanlywodraeth i Bosnia a Bulgaria. Y mae Twrci yn cynnyg hunanlywodraeth i'r rhanau ereill o'r ymherodraeth. Y mae cyfansoddiad Tyrcaidd heb ddim mechniaeth. Y mae hyn yn golygu rhyfel—nid heddyw, ond yng nghanol y gauaf,

pan fydd y Tyrciaid Asiaidd yn marw fel cylion yn Nyffryn Morava; pan fydd natur wedi gwneyd pontydd i gludo milwyr a chyflegrau dros y Danube. Y mae ein sefyllfa ni yn y fusnes hon yn ddyryslyd a chymylog i'r eithaf. Y mae ein cyfles fel gallu Asiaidd o'r fath ag i'n rhwymo i'w hamddiffyn tra mae genym swllt a llong. Dywedir fod ein cyfles yn Asia yn gydglymedig â chadwraeth yr ymherodraeth Ottomanaidd yn gyfan. Er i alluoedd Ewrop, ugain mlynedd yn ol, wario miloedd ar filoedd o bunnau, ac aberthu miloedd lawer o fywydau, nid oes un yn barod heddyw i godi ei fys bach o blaid llywodraeth bwdr Twrci. Y mae cyfles Awstria yng nghadwraeth Twrci, fel llywodraeth, yn fwy ef allai nag eiddo Lloegr; ond y mae Awstria yn myned law yn llaw â Germani. Credir yn Belgrade nad yw y Tywysog Bismarc ddim yn hidio brwynen pa un a fydd y Danube yn nwylaw Rhwssia ai peidio. Ni wnaiff Ffrainc ddim ond sefyll â'i breichiau ym mhleth; ac os ydym ni yn myned i wrthwynebu dadgyssylltiad yr Ymherodraeth Ottomanaidd, y mae yn rhaid i ni wrthdystio ein hunain. Y mae Rhwssia yn bloeddio i'r gad; y mae y Tyrciaid yn rhynu gan oerfel, ac yn analluog i ddal eu gynau yn eu dwylaw; y mae cyffindiroedd Rhwssia yn cael eu heigio gan filwyr Rhwssiaidd, gynau mawrion i longau, ac amddiffynfëydd yn cael eu gwneyd; y mae'r ceirch wedi cael ei wahardd i fyned allan o borthladdoedd y Môr Du, a'r rheilffyrdd wedi cael eu hurio yn barod i gludo milwyr. Os bydd i'r Czar danio yr ergyd cyntaf, tyna fydd dechreu rhyfel grefyddol ffyrnig yn Ewrop. Os tor y rhyfel allan, bydd y bai yn gorwedd wrth ddrws Rhwssia. Nid yw ein Llywodraeth wedi penderfynu i wneyd dim yn y mater hyd oni fydd ein hunanles yn gwneyd hyny yn angenrheidiol. Dylai Twrci ofalu am dani ei hun, a dwyn ei baich ei hun. Nid yw yn beth tebyg y bydd i ni aberthu bywydau ein milwyr i gadw y dyn claf ar ei draed, os oes modd cadw ein hunain allan o'r ffrae. Dywedir gan rai anwybodus ein bod am gynnal Mahometiaeth i fyny yn erbyn Cristionogaeth. Dim o'r fath beth: dwy egwyddor sydd yn rheoli ein llywiawdwyr—cyfiawnder a gwladgarwch.

---

## ESGORODD,

HARRIES—Hyd. 7, priod Mr. Albert Harries, goruchwyliwr Hen Ariandy Brycheiniog, yng Nghaerfyrddin, ar fab.

NICHOLL—Hyd. 14, priod y Parch. T. B. Nicholl, periglor Llanegwad, ar ferch.

ROE—Hyd. 4, priod Mr. J. Roe, goruchwyliwr Ariandy Llundain a'r Taleithiau, yng Nghaerfyrddin, ar ferch.

THOMAS—Awst 20, yn Cymru Estate, Lindula, Ceylon, priod Mr. A. H. Thomas, ar fab.

## PRIODWYD,

GOWER—ISAAC—Hyd. 15, yn Eglwys Sant Pedr, gan y Parch. T. J. Bowen, Mr. John Gower, Cwmoernant, ag Anne, merch y diweddar Mr. W. Isaac, Pass-by.

HOWARD — CAMPBELL — Medi 21, yn Eglwys Sant Columba, Nairn, gan Arglwydd Esgob Rochester, yn cael ei gynnorthwyo gan yr Anrhydeddus a'r Parch. A. Campbell, a'r Parch. Mr. West, E. S. Howard, Ysw., A.S., Castell Thornsbury, Carloew, â'r Arglwyddes Rachel Anne Georgina, merch ieuengaf Iarll Cawdor.

## BU FARW,

DAVID—Hyd. 25, yn Heol Spilman, Mr. Evan David, dros lawer o flynyddau yn brif argraffydd yn swyddfa'r *Welshman*, ac unig fab goroesol i'r diweddar John David, haiarnydd, o'r dref hon, 71 oed.

JONES—Hyd. 7, yn Uchelrodfa Picton, Mr. William Sutton Jones, cyssodydd, 39 oed.

THOMAS—Medi 19, gweddw y diweddar David Thomas, Ysw., Llanfair a Dôl Llan, 89 oed.

### Y LLITHIAU PRIODOL, TACHWEDD, 1876.

| Tach. | Sulian a Gwylian. | Boren. | Prydnawn |
|---|---|---|---|
| 1 Mer. | Dydd yr Holl Saint | Doeth. iii. hyd 10<br>Heb. xi. 33 a xii. hyd 7 | Doeth. v. hyd 17<br>Dad. xix. hyd 17 |
| 5 Sul | 21 Sul gwedi'r Drindod | Daniel iii.<br>Titus ii. | Dan. iv. neu v.<br>Luc xxiii. hyd 26 |
| 12 Sul | 22 Sul gwedi'r Drindod | Daniel vi.<br>Heb. vi. | Dan. vii. 9, neu xii.<br>Ioan iii. hyd 22 |
| 19 Sul | 23 Sul gwedi'r Drindod | Hosea xiv.<br>Heb. xi. 17 | Ioel ii. 21, neu iii. 9<br>Ioan vi. 22—41 |
| 26 Sul | 24 Sul gwedi'r Drindod* | Preg. xi. a xii.<br>Iago v. | Haggai ii. hyd 10, neu Mal. iii. a iv.<br>Ioan ix. 39 hyd x. 22 |
| 30 Iau | St. Andreas, Apostol a Merthyr† | Esai liv.<br>Ioan i. 35—43 | Esai lxv. hyd 17<br>Ioan xii. 20—42 |

* Y Colect, yr Epistol, a'r Efengyl am y 25 Sul gwedi'r Drindod i'w harfer.
† Credo Sant Athanasius i'w arfer.

CARMARTHEN:
Printed and published by WILLIAM SPURRELL, at his Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Tuesday, the 31st of October, 1876.

# YR HAUL.

## Cyfres Caerfyrddin.

"YNG NGWYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI."
"A GAIR DUW YN UCHAF."

RHIF. 240. | RHAGFYR, 1876. | CYF. 20.

## CYFRES FER O BREGETHAU ER AMDDIFFYNIAD Y FFYDD.

### GWYRTHIAU.—X.

"Hyn o ddechreu gwyrthiau a wnaeth yr Iesu yn Cana Galilea, ac a eglurodd ei ogoniant; a'i ddysgyblion a gredasant ynddo."—SANT IOAN ii. 11.

GWELSOM ei bod yn gredadwy i Dduw fwriadu dadguddio i ddynolryw wirioneddau am dano ei Hun, ac yn awr mae yn rhydd i ni fyned ym mlaen i ofyn a ydyw *gwyrthiau yn foddion o'r fath* ag i wneyd eu defnyddiad i'r dyben hwn yn gredadwy. Prin iawn oedd ein defnyddiau er penderfynu y cwestiwn cyntaf o'r ddau hyn, ac am hyny mae yn ofynol i ni fod yn bur ofalus wrth ystyried yr ail gwestiwn, lle mae y defnyddiau yn fwy o fewn ein cyrhaedd.

Mae yn eglur fod pob dadguddiad *neillduol* yn ymadawiad oddi wrth drefn gyffredinol y bydyssawd. Nid yw yn rhan o ddeddf y meddwl i ennill gwybodaeth o wirioneddau newyddion yn uniongyrchol oddi wrth Dduw: yn hytrach mae yn groes i unffurfiaeth meddyliol i hyn ddygwydd, ïe llawn cymmaint ag yw hi yn groes i unffurfiaeth naturiol i wyrthiau ddygwydd. Am hyny, gelwir dadguddiad yn briodol yn wyrth meddyliol, yn wyrth ym myd y meddwl. Ond os yw pob dadguddiad fel hyn yn ei sylwedd yn wyrthiol, ymddengys fod ein cwestiwn wedi ei benderfynu heb ddim dadl bellach. Mae gwyrthiau nid yn unig yn foddion addas i ddadguddio gwirioneddau, ond hwynt-hwy yw'r unig foddion trwy ba rai gellid eu dadguddio. Mae dadguddiad ei hun yn wyrth, ac felly heb wyrthiau nis gall fod dim dadguddiad. Os yw dadguddiad, gan hyny, yn gredadwy, mae gwyrthiau hefyd yn gredadwy. Os nad oes rhwystr, ond yn hytrach cefnogaeth, i gredu i Dduw fwriadu dadguddiad neillduol, nid oes rhwystr ond yn hytrach cefnogaeth i gredu iddo fwriadu gwyrthiau.

Ond codir gwrthddadl fan yma, a gwedir yn groew nas gallasai Duw byth fwriadu cyflawnu gwyrth, o herwydd byddai yn anghysson â'i gymmeriad ac â'i berffaithderau iddo wneyd hyny. Mae hyn mewn effaith yr un peth a dyweyd na roddai Duw ddadguddiad byth; a buasai, hwyrach, yn fwy priodol i ystyried yr haeriad o dan y pen blaenorol; ond mae yn fwy cyflëus i ni ei ystyried o dan y

pen presennol, o herwydd mae ffurf yr wrthddadl yn gwadu ewyllys Duw nid i esbonio rhai gwirioneddau, ond i ddefnyddio y moddion neillduol *(gwyrthiau)* i'r perwyl. Mae yn wir fod hyn yn cynnwys y cyntaf, ond mae yn ddigon prydlawn i ni edrych i mewn i werth yr wrthddadl yn awr.

Mae yr wrthddadl yn un gyffredin, a ni a ymdrechwn ei gosod i lawr yn deg ac yn helaeth yn gyntaf. Tebyg i hyn yw hi: yr unig foddion sydd genym i ffurfio barn yng nghylch cymmeriad Duw a'i ddull o weithredu, yw'r amlygiadau o honynt a welir yn natur. Yn awr, nodwedd briodol natur yw ei bod hi yn unffurfiol, a bod yr unffurfiaeth hwn yn ddios ac yn ddiwyro. Mae amgylchiadau yn cymmeryd lle yn barhäus pan yn ol ein golygiad ni byddai yn hynod o lesaol, pe byddai rhyw gyfnewidiad bychan neu oediad yn cymmeryd lle yn yr unffurfiaeth hwn. Mae genym angenrheidiau i'w digoni, a dymuniadau i'w boddloni, ac ymddengys yr angenrheidiau a'r dymuniadau hyn mor gyfreithlawn ac mor bwysig, ïe llawn cymmaint felly a'r rhai a ddygir ym mlaen o blaid dadguddiad. Ond ar ffordd y dymuniadau hyn saif unffurfiaeth natur. Nis gall yr hyn a ddymunwn ddyfod i ni ond trwy weithrediad eithriadol yn nhrefn gyffredinol natur. Ym mhob amgylchiad o'r fath dysgir ni gan brofiad nad yw natur yn cyfnewid un iod er ein mwyn. Yn lle bod natur yn cyfnewid ac yn plygu i ni, nyni bob amser, yng nghyd â'n hangenrheidiau a'n dymuniadau, raid ystwytho a phlygu iddi hi, neu hwyrach a ddryllir ac a ddinystrir ganddi. Dim haws: nid yw natur yn plygu dim. A chredwn mai felly mae, o herwydd fod natur yn deillio oddi wrth Dduw, ac yn adlewyrchu ei gymmeriad. Y mae Duw yn hollwybodol, yn anfeidrol ddoeth. Efe yn unig sydd felly. Rhagwelodd Duw o ganlyniad bob peth wrth lunio natur, a rhagdrefnodd Efe hefyd gyferbyn â phob dygwyddiad a allai gymmeryd lle, ac nid oes neb yn alluog i farnu y doethineb a'r angenrheidrwydd o'r hyn a ordeiniodd. Pa fodd bynag yr ymddengys i ni, mae natur *fel y mae* yn iawn, ac yn y wedd oreu. Hefyd, nid yw Duw byth yn cyfnewid; o dragwyddoldeb i dragwyddoldeb parhâ ei ewyllys yr un—yn ddigyfnewid, yn anghyfnewidiol. Rhaid i natur, gan hyny, fyned yn y blaen, gan weithio ei hunan allan yn ol y cynllun a fwriadwyd iddi ar y dechreu gan ei Hawdwr. Mae y syniad fod gwyrth yn cymmeryd lle yn dychymmygu un o ddau beth—naill ai fod y cynllun a drefnwyd ar y dechreu wedi profi ei hun mewn gweithrediad yn annigonol, ac felly yn galw am ddiwygiad—neu fod Duw wedi cyfnewid ei amcan, ac am hyny yn troi oddi wrth ei gynllun blaenorol. Mae y cyntaf o'r ddau ddychymmyg uchod yn myned ar y tir nad yw Duw yn anfeidrol ddoeth; yr ail o honynt ar y tir nad yw yn ddigyfnewid. Ond mae natur yn ein dysgu fod Duw yn hollwybodol, ac yn anghyfnewidiol. Mae natur fel adlewyrchiad o gymmeriad Duw yn berffaith adnabyddus, ac mae ei thystiolaeth yn sicr. A'r cymmeriad dwyfol a adlewyrchir yn natur ac a dderbynia y fath dystiolaeth oddi wrthi, mae gwyrthiau yn anghysson. Mae gwyrthiau o ganlyniad yn anghredadwy o herwydd eu bod yn ein gorfodi i feddwl fod Duw yn wahanol i'r hyn a ddengys natur ei fod. Nis gallwn gredu fod yr Hwn a feddianna, yn ol tystiolaeth llyfr natur, y cymmeriad o hollwybodaeth ac anghyfnewidioldeb erioed wedi iselhau ei hun a chymylu ei berffeithrwydd trwy ddewis gweithio gwyrth.

Dyma'r wrthddadl sydd yn awr o'n blaen; mae yn hen gyfaill mewn gwisg newydd, ond i ryw radd mae yn newydd hefyd. Mae unffurfiaeth natur wedi bod dan sylw o'r blaen mewn dwy ystyriaeth, fel mater o

brofiad mewn cyssylltiad ag ymddangosiadau, ac fel effaith deddf naturiol. Yr ydym yn ei dilyn i fyny yn awr at ei ffynnon—ewyllys anghyfnewidiol a hollwybodol Duw. Mae yr wrthddadl, gan hyny, mor belled ag y try ar unffurfiaeth natur, yn hen, ond mae y golygiad newydd o *achos* unffurfiaeth natur, sef ewyllys Duw, yn dwyn gydag ef anhawsderau newydd ag oedd yn absennol o'r llall, ac o ganlyniad gelwir arnom roddi i'r wrthddadl ystyriaeth annibynol a newydd.

Mae y gwirionedd nad yw ein dymuniadau a'n hangenion yn brawf y gwna Duw o angenrheidrwydd eu cyflenwi yn un pwysig. Mae profiad yn ei gadarnhau. Nid oes lle genym ddysgwyl eithriad yn nhrefn arferol natur er boddloni ein hangenion; nid oes genym le i ddysgwyl dadguddiad chwaith o herwydd ein bod mewn angen am dano, ond nid yw hyn yn profi *nas gall* eithriad yn nhrefn natur, na dadguddiad, gymmeryd lle. Un peth yw casglu fod eithriad *yn ammhossibl*, peth arall nad yw *yn ddysgwyliadwy*. Mae y gosodiad yn arwyddo y cyntaf; am hyny, angenrheidiol rhoi i lawr y gocheliad.

Eto, mae yr wrthddadl hefyd yn sylfaenedig ar ddau wirionedd arall. hollwybodaeth ac anghyfnewidioldeb Duw, fel maent yn amlygedig yn unffurfiaeth natur. Yn nesaf ar ol bodolaeth Duw nid oes dim mewn duwinyddiaeth naturiol (*natural theology*) yn fwy pwysig na'r ddwy briodoledd hyn o eiddo'r Duwdod Nis gallwn chwaith ddychymmygu unrhyw ddelwedd mwy prydferth o'r gwirioneddau hyn na'r hyn a adlewyrchir yn natur, ac a welir yn neillduol gan lygad astudiwr gwyddoniaeth. Mae y twyll-resymeg yn gorwedd yn y syniad a gesglir; byddai *unrhyw fath o weithrediad heb law unffurfiaeth digyfnewid* yn anghysson â'r priodoleddau o hollwybodaeth ac o anghyfnewidioldeb. Gellir yn hawdd dangos fod y syniad yn hollol ddisail. Meddyliwch fod Duw wedi rhagweled y byddai adegau yn hanes y byd a ellid (er cario allan ei ddybenion) yn oreu eu cyfarfod mewn ffordd neillduol, ac iddo o herwydd hyny benderfynu pan gyfodent i ymadael â'i ffordd gyffredinol o weithredu—a ddangosai hyny ryw anghyssondeb â'i hollwybodaeth a'i anghyfnewidioldeb? Na wnai yn y gradd lleiaf. Byddai ei weithrediad anarferol wedi ei ragweled, a'i raglunio, ac yn rhan o'i drefn anghyfnewidiol llawn cymmaint a'i weithrediad arferol. Gwir ni ddygai ar ei wyneb argraff y priodoleddau hyn; ni fyddai yn adlewyrchiad o honynt fel y llall, ond ni fyddai mewn un modd yn anghysson â'r priodoleddau hyn. Os bydd dygwyddiadau anarferol yn ein cyfarfod yn natur ynte, y cwbl a allwn ei ddyweyd yw nas gallem oddi wrth yr eithriadau hyn byth gasglu fod Duw yn hollwybodol ac yn anghyfnewidiol. Ond cofiwn hefyd nas gallem gasglu oddi wrthynt *nad oedd* felly. Ni fuasem yn dysgu dim o gwbl un ffordd na'r llall yng nghylch y priodoleddau hyn.

Ond fe ddywedir, pe buasai Duw wedi rhagweled yr adegau y cyfeiriwyd atynt, buasai wedi darparu ar eu cyfer trwy gyfrwng unffurfiaeth natur. Dichon mai dyna ein barn ni, ond beth wedyn? A ydyw ein barn ni o'r hyn a fyddai Duw yn *debyg* o wneyd i fod yn safon *o'r hyn a wnaeth*, fel y dywedem, "Rhaid oedd iddo wneyd hyn," neu "nis gallasai fod wedi gwneyd y peth arall." Rhan o'r wrthddadl a gyfarfyddwn yn awr, yw bod casgliadau oddi wrth yr hyn a ddysgwyliem ni, neu a farnem yn debygol ac yn addas, yn ein galluogi ni i benderfynu yr hyn a wna Duw, yn hollol ddiwarant. Ar y tir yma byddai yn eithaf cyfiawn i ni wrthod y gwrthwynebiad fel diwerth; ond ym mhellach, mae rheswm da dros ei wrthod ar dir arall. Ymddengys yn

**wir os edrychwn ar natur a gwerth** gwyrthiau, y gellid yn hawdd eu hebgor trwy ryw gyfnewidiad gwreiddiol yn nhrefn natur. Er enghraifft, yn lle bod dynion yn derbyn iachâd yn wyrthiol, gallent trwy drefniad gwreiddiol fod wedi eu creu yn y fath fodd fel na byddent mewn angen am iachâd. Ond gwelsom mai nid y dyben amserol oedd y cwbl a berthyn i wyrthiau, nad oedd hyn ond rhan bychan a bron dibwys o'u pwrpas. Eu prif ddyben oedd amlygu rhyw wirionedd am Dduw tu allan iddynt eu hunain; ond dyma'r hyn ni allai ymddangosiad naturiol o hono ei hun byth wneyd. Pe buasai'r drefn gyffredin yn llanw lle gwyrthiau, collasid yn hollol eu hystyr neillduol. Ar bob tir, gan hyny, mae anghyssondeb gwyrthiau â rhagwybodaeth Duw yn wrthddadl a ddygir ym mlaen yn ofer. Nid oes dim grym ynddi. Gallasent llawn cystal fod yn ranau o gynllun rhagweledig a rhagdrefnedig. A chofiwn mai yn y golygiad yma y geilw yr Ysgrythyr arnom eu derbyn. Ni elwir arnom i gredu mewn gwyrthiau fel gwelliantau canlynol, ond fel rhagdrefniadau cyn dechreuad na bodolaeth unffurfiaeth natur. Ymddengys hyn oddi wrth ddau beth; yn gyntaf, oddi wrth ddywediadau eglur yr ysgrifenwyr sanctaidd. Er enghraifft, llefarant yng nghylch prif amgylchiadau bywyd Crist fel rhai wedi eu rhagordeinio cyn sylfaeniad y byd. Yn ail, oddi wrth un rhyw neillduol o wyrthiau, sef *prophwydoliaethau*, swydd pa rai mewn rhan yw rhagfynegu ym mha fodd y cyfryngai Duw yn y dyfodol i ddwyn ei amcanion i ben. Yr oedd llawer o'r amgylchiadau eu hunain a broffesid eu rhagwybod neu eu rhagfynegu yn wyrthiau; yr oedd ereill mor gydwauedig â gwyrthiau, nes mae yn amlwg fod rhagwybodaeth o un yn arwyddo rhagwybodaeth o'r llall. Os oedd marwolaeth Crist a'i ddyrchafiad yn rhan o'r cynllun dwyfol yn y dechreuad, felly hefyd gwyrth yr adgyfodiad, hyd yn oed pe na byddai dim son am hyny, o herwydd yr oedd y dygwyddiadau a arweinient at hyny i gyd yn rhagweledig. Yn awr, pa un bynag a dderbynir y golygiad ysgrythyrol am wyrthiau ai peidio, pa beth bynag yw'r anhawsderau cyssylltedig â'r golygiad ysgrythyrol, mae cymmaint a hyn yn eglur, nad oes dim pwys i'r wrthddadl mai gwelliant canlynol neu ffrwyth ailfyfyrdod yw gwyrthiau. Canys mae hyny, sylwch, yn syniad diangenrhaid yn y lle cyntaf: yn yr ail le yn anghysson â gwir ystyr a dyben gwyrthiau; ac yn drydydd yn groes i olygiad yr Ysgrythyr ei hun. Er cryfed yw tystiolaeth unffurfiaeth natur i ragwybodaeth ac anghyfnewidioldeb Duw, nid llai clir yw tystiolaeth yr Ysgrythyr i'r un perffeithderau dwyfol, a hyny mewn cyssylltiad â gwyrthiau cystal a dygwyddiadau ereill.

Ond gellir gwneyd gwrthwynebiad i'r hyn a ddywedwyd. Gwrthddadleuir, ei bod hi yn fwy teilwng o Dduw lynu wrth unffurfiaeth natur nag ymadael â hi yn eithriadol; canys caniateir nad yw y ddau briodoledd mawr o eiddo Duw, a enwyd, ac a amlygir mor eglur yn natur, i'w gweled mewn gwyrthiau; am hyny, gan fod gwyrthiau yn llai gogoneddus, ac yn llai dwyfolaidd, rhaid eu bod mor belled a hyny yn llai tebygol. Gwir yn ddiammheu i ryw raddau, tra yr edrychwn yn unig ar y priodoleddau o hollwybodaeth ac anghyfnewidioldeb, ond hyd yn oed mewn gwyrthiau, rhaid cofio fod prophwydoliaeth yn eithriad pwysig, canys yn y gwyrthiau o brophwydoliaeth mae rhagwybodaeth ac ewyllys anghyfnewidiol yn cael eu hamlygu yn fwy tarawiadol a thanbaid nag yn natur. Ond y mae gwyrthiau wedi eu bwriadu i amlygu nodweddiadau ereill o gymmeriad Duw a'i berthynas â dynolryw. Beth os darfu i Dduw, er mwyn amlygu

gwirioneddau ereill, ymadael â threfn unffurfiaeth dragwyddol, a gweled yn dda i ddangos ei Hun yn ol dull dyn o weithredu. Ei ddyben yn y cyfan oedd addysg a llesâd dynion. A yw yn anghredadwy i neb ddefnyddio iaith gwlad estronol i ymddyddan â brodorion y wlad hòno yn hytrach na iaith ei wlad ei hun? Yn yr un modd gellir gofyn, a ydyw yn anghredadwy i Dduw, er mwyn gwneyd hysbysiadau am dano ei Hun i ddynion, ddefnyddio i'r perwyl y ffordd fwyaf ddealladwy iddynt. Prin ammheuir, mi feddyliaf, fod dynion bob amser wedi ystyried gwyrthiau yn amlygiadau mwy eglur a sicr o Dduw na natur gyffredin. Ac yn wir onid yw'r ymostyngiad i wendid dynol ar ran Duw i ddefnyddio gwyrthiau yn un o'r priodoleddau mwyaf gogoneddus o'i eiddo Ef, priodoledd a amlygir trwy wyrthiau? Os cymmerwn wyrthiau, gan hyny, mewn cyssylltiad â'u bwriad, neu eu harwyddiaeth priodol, nis gellir dyweyd fod gwyrthiau mewn un modd yn llai teilwng o Dduw, yn llai cysson â'i fawredd, na theyrnasiad deddf digyfnewid a welir yn argraffedig yn natur allanol.

Mae y casgliad y daethom iddo yn awr—y dichon gwyrthiau fod yn gysson â'r hyn a wyddom am gymmeriad Duw oddi wrth ffynnonau ereill, yn dymchwelyd sail olaf anffyddiaeth noeth. Gwelsom yn y lle cyntaf nad oedd dim sail gredadwy i wrthod gwyrthiau o herwydd eu perthynas â'n profiad fel ymddangosiadau, nac yn yr ail le o herwydd eu perthynas â Duw fel effeithiau anarferol gweithrediad ei ewyllys oruchlywodraethol, *os* oedd yn gredadwy iddo ewyllysio eu cyflawnu. Mae yr *os* yma yn awr wedi ei ystyried, ac mor belled ag y gwyddom ddim am gymmeriad ac ewyllys Duw, nid oes dim yn anghysson â'i gymmeriad yn y *dyben* a fwriada gwyrthiau ei ateb, nac mewn gwyrthiau fel *moddion* i'r dyben hyny. Nid oes rheswm digonol dros gasglu yn flaenorol y gwnai Duw ddefnyddio gwyrthiau. Ond ar yr ochr arall mae llai rheswm dros gasglu na wnai. Mae gwyrthiau yn gredadwy mewn geiriau ereill fel *arwyddion*. Dyma'r olaf o'r tri golygiad o dan ba rai yr ystyriasom wyrthiau, a'n casgliad yn awr yw yn gyffredinol eu bod yn gredadwy fel rhyfeddodau neu bethau anghyffredin, fel gweithredoedd nerthol neu effeithiau achosiaeth dwyfol, ac fel arwyddion i amlygu gwirioneddau goruchnaturiol.

Buasai'n briodol i ni derfynu fan yma oni bai ei fod o fewn cylch ein cynllun i brofi nid yn unig fod y gwyrthiol yn gredadwy yn gyffredinol, ond fod y dosbarth hwnw o'r gwyrthiol a gynnygir i'n sylw yn neillduol yn yr Ysgrythyrau yn gredadwy. Mewn cyssondeb â'r cynllun hwn, ystyriwyd o dan y pen o *ryfeddodau*, ac yn helaethach o dan y pen o *weithredoedd nerthol*, nid yn unig a oedd gwyrthiau ynddynt eu hunain yn gredadwy, ond a oedd gwyrthiau yr Ysgrythyr felly yn y ddau olygiad yna. Yn yr un modd yn bresennol dylem ystyried nid yn unig a ydyw y gwyrthiol yn gyffredinol yn gysson â chymmeriad ac ag ewyllys Duw, ond a ydyw gwyrthiau yr Ysgrythyr felly yn neillduol. Chwiliwyd, ar ol ystyried y gwyrthiol mewn cyssylltiad â throseddiad deddf, a oedd gwyrthiau yr Ysgrythyr yn eithriad i'r rheol: yn awr rhaid chwilio a ydyw gwyrthiau yr Ysgrythyr yn gysson â chymmeriad ac ag ewyllys Duw ai nad ydynt.

Mae gwyrthiau yr Ysgrythyr o ddau fath—meddyliol a sylweddol, hyny yw, rhai ar feddwl dyn a rhai ar natur allanol. Gellid enwi rhai hefyd yn cyfranogi o natur y ddau. Mae gwyrthiau meddyliol yn anocheladwy mewn dadguddiad, canys mae pob gweithred o ddadguddiad o'r hyn nas gall rheswm ei hun ddarganfod yn wyrth: ond gwrthwynebir credinolrwydd gwyrthiau ar natur, fel rhai diangenrheidiol, am nad ydynt yn

weithredoedd o ddadguddiad, a chan eu bod yn ddiangenrheidiol, fel rhai yn anghysson â chymmeriad Duw. Wrth ddefnyddio gwyrthiau ni ddefnyddiai Duw fwy nag oedd yn ddigon i gyflawnu ei amcan, a chan mai dadguddio gwirioneddau oedd ei amcan, nid oedd angen, meddent, ond am wyrthiau meddyliol. Mewn geiriau ereill, gwyrthiau meddyliol yn unig sydd yn gredadwy, a dylid gwrthod gwyrthiau materawl.

Yn awr, mewn atebiad i'r wrthddadl hon, rhaid sylwi nad oes genym fodd i benderfynu pa un a yw y wyrth yma neu y wyrth arall yn *angenrheidiol* ai peidio. Y cwbl a fedrwn ei wneyd yw holi a oedd dygwyddiad unrhyw wyrth yn fanteisiol, h.y., a dueddai hyrwyddo y dyben cyffredinol mewn cyssylltiad â'r hwn y cafodd ei chyflawnu. Os gwnai, yna mewn cyssylltiad â'r dyben hwnw mae yn amlwg yn gredadwy. Pa bryd bynag, gan hyny, yr ymddengys unrhyw wyrth neu restr o wyrthiau yn fanteisiol i ddadguddiad, ac y gwelwn na fyddai dadguddiad mor effeithiol hebddi, yna yr oedd yn gysson â dadguddiad, ac o ganlyniad yn gredadwy, er nas gallwn haeru ei bod yn angenrheidiol.

Gadëwch i ni weled a oedd gwyrthiau anianyddol yr Ysgrythyr o'r fath ag i hyrwyddo dadguddiad, ac y byddai dadguddiad yn llai effeithiol hebddynt. Yr oeddynt yn hyrwyddiadau mewn dwy ffordd.

1. Atebent y dyben o fod yn foddion cenadaethau a thystiolaethau i'r rhai a dderbynient ddadguddiadau ac a anfonid i fynegu y dadguddiadau hyn i ereill. Mewn cyssylltiad â'r cyfryw ddynion, ac yn fynychaf trwy eu hofferynoliaeth weledig cyflawnwyd bron pob gwyrth a gofnodir yn yr Ysgrythyr. Un llesâd neillduol, gan hyny, perthynol i wyrthiau oedd galw sylw at y cenadon hyn oddi wrth Dduw, a pheri i ddynion wrando ar eu geiriau. Felly yr oedd yn fynych iawn gyda'r gwyrthiau a gyflawnwyd gan Sant Paul ar ei deithiau cenadol, fel darllenwn yn yr Actau. Yn fwy mynych eto, dyben y wyrth oedd sefydlu perthynas rhwng yr Anfonwr a'r anfonedig, er gwneuthur ei genadwri yn dderbyniedig megys oddi wrth Dduw, ac nid oddi wrtho ei hun. Gwelir enghraifft o'r dybeu cyntaf yn Sant Ioan iv. 45: "Yna pan ddaeth Efe i Galilea, y Galileaid a'i derbyniasant Ef, wedi iddynt weled yr holl bethau a wnaeth Efe yn Ierwsalem ar yr wyl: canys hwythau a ddaethant i'r wyl." Mae adnod ein testyn yn dangos fod y gwyrthiau yn Galilea hefyd wedi cael yr un effaith ar ei ddysgyblion: "a'i ddysgyblion a *gredasant ynddo*." Enghraifft o'r dyben arall a effeithir gan wyrthiau a allwn ei weled yn Sant Ioan iii. 2: "Rabbi, nyni a wyddom mai dysgawdwr ydwyt ti wedi *dyfod oddi wrth Dduw:* canys ni allai neb wneuthur y gwyrthiau hyn yr wyt ti yn eu gwneuthur, oni bai fod Duw gydag ef." Dyma fanteision a fyddent yn absennol heb wyrthiau ym maes natur. Gallasai y rhai a dderbynient ddadguddiadau yn ddiammheu gyflawnu eu swydd o'u trosglwyddo i ereill llawn mor hawdd heb gydfynediad gwyrthiau gweledig: ond mor anhawdd fuasai iddynt yn fynych gael gwrandawiad; mor anhawdd i radd llawer mwy argyhoeddi y gwrandawyr fod y genadwri yn rhyw beth heb law barn unigol y llefarwr. Yr oedd gwneuthuriad arwyddion yn brawf fod rhyw allu yng nglŷn ag ef a hawliai barch uwch. Cyfiawn, gan hyny, yw ymresymu fod arwyddion o'r fath yn gysson â chynllun o ddadguddiaid, ac yn foddion hyrwyddiad iddi; ac os yw dadguddiad yn gredadwy, mae gwyrthiau hefyd.

Nid ydym yn dyweyd fod gwyrthiau gweledig yn angenrheidiol, a'i bod yn debygol o flaen llaw y rhoddid cynnorthwy gwyrthiau, canys nid oes genym seiliau i farnu yn flaenorol

beth fyddai cynllun Duw mewn perthynas i ddadguddiad. Yr hyn sydd yn eglur yw fod gwyrthiau yn help i ddadguddiad, a'r casgliad yw eu bod yn gredadwy os yw dadguddiad yn gredadwy.

2. Dyben mawr arall gwyrthiau ar natur oedd corffori mewn dull eglur a tharawiadol ryw rau o'r addysg â'r hwn yr oeddynt yn cydfyned. Dammegion *mewn gweithred* oeddynt, ac yn meddiannu hyn o fantais ar ddammegion *mewn gair*, eu bod nid yn unig yn amlygu y pwnc mewn llaw mewn fforddl danbaid, ond hefyd yn rhoddi gwystl hynod o wirionedd yr addysg. "Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion." Dyna ddammeg ddiarebol, trwy'r hon yr eglurai ein Hiachawdwr yn briodol egwyddor ei ymddygiad tuag at bechaduriaid; derbyniai yn llawen y dirmygedig a'r gwrthodedig, a hyny o herwydd eu bod y mwyaf eu hangen am gymhorth. Eglurai drachefn yr un peth wrth iachäu y gwahanglwyfus a wrthodid gan bawb ereill, ac ar yr un pryd hefyd fod ganddo allu i roddi y cymhorth angenrheidiol. Yr oedd meddyg y corff yn *arwydd* o feddyg yr enaid, a phan amlygid yr arwydd trwy wyrth, yr oedd gwystl hefyd yn cael ei roddi o'i allu. Felly drachefn pan fynai Sant Paul eglurhau rhai gwirioneddau yng nghylch yr adgyfodiad, defnyddia'r gymhariaeth ddammegol o had wedi ei gladdu yn y ddaiar, ac yn cyfodi â chorff newydd; ond pan fynai argraffu arnom fod yr adgyfodiad yn wirionedd ac yn ffaith, try ar unwaith at wyrth—Crist a fu farw, ac a gyfododd drachefn. Nid oes angen am un rheswm i ddangos fod y dyben yma o eiddo gwyrthiau yn fanteisiol i achos dadguddiad, gan eu bod yn cyflawnu swydd, mor belled ag y gwyddom, nas gallai dim arall ei gyflawnu mor effeithiol. Yn awr, eto, heb un dymuniad i hawlio ei bod *yn angenrheidiol* i'r cyfryw wyrthiau gydfyned â dadguddiad, yr ydym yn casglu eu bod yn cydfyned â dadguddiad gyda *chyssondeb* a *phriodolrwydd*, ac am hyny yn gredadwy fel y cyfryw.

Gallwn restru holl wyrthiau gweledig yr Ysgrythyr o dan un o'r ddau ddosbarth yma. Maent naill ai yn arwyddion a ddynodant ac a dystiolaethant fod y cenadwr oddi wrth Dduw, neu yn arwyddion a ddynodant ac a gadarnhâut y genadwri. Yn fynych ateba yr un wyrth y ddau ddyben. Daw gwerth yr ystyriaethau hyn yn fwy i'r golwg os cymmerwn dan sylw rai o'r gwrthddadleuon a gyfodir yn erbyn rhai o'r gwyrthiau Ysgrythyrol ar y tir hwn, sef anghyssondeb gwyrthiau â chynllun o ddadguddiad. Yn bresennol ni a derfynwn gan ddadgan ein diolchgarwch fod ffordd ffydd, er ei chwilio a'i phrofi, yn ymddangos bob cam yn fwy cysson a chadarn. Os yw llwybrau Duw yn anolrheinadwy yn fynych; os yw ei orsedd wedi ei hamgylchu â thywyllwch; eto credwn mai Efe sydd arni, a dywedwn, "Ti Dduw a folwn, Ti a gydnabyddwn yn Arglwydd."

D. W. THOMAS.

*Hydref* 31, 1876.

---

## GLANWEITHDRA PERSONOL A THEULUOL.

(*Parhâd o dudal.* 339.)

3. *Glanweithdra yn ei berthynas ag iechyd personol a theuluol.* Y fendith naturiol werthfawrocaf ydyw iechyd, a'r golled drymaf o bob colledion tymmorol ydyw ei golli. Mae yn rhaid wrth y fendith werthfawr hon tuag at fwynhau pob bendithion a breintiau naturiol ereill. Felly, dyledswydd arbenig pob person a phob teulu ydyw arfer y wyliadwriaeth fanylaf rhag ei niweidio neu ei golli; o herwydd y mae yn beth anhawdd iawn i'w adferyd neu ei ailfeddiannu ar ol unwaith ei golli. Mae ar law dyn ei hun, i raddau pell iawn, i

ddiogelu a chadw ei iechyd, er fod eithriadau lluosog, mae yn wir; ond ofnwn mai diofalwch ac esgeulusdod teg sydd wedi paentio llawer grudd, a fu unwaith mor wridgoch a glân a'r afal, â rhychni ac â gwelwder prudd a marwol, ïe wedi crymu llawer cefn a fu unwaith mor uniawn a'r saeth, ac wedi peri i'r pren almon flodeuo yn anamserol o gynnar. Ond, er yr holl wersi galarus a geir, parhau yn ddiofal a diystyr o'u hiechyd y mae plant dynion o hyd nes ei golli, ac yna gorchwyl pur anhawdd fydd ei adferyd drachefn, ïe yn wir, llwyr ammhosibl mewn miloedd o amgylchiadau.

Wel, gan fod iechyd o gymmaint pwys, onid teg ydyw i ninnau gael rhoddi gwers fechan yn ei gylch, o barthed i gyssylltiadau glanweithdra ag ef. Mae a fyno glanweithdra i fesur helaeth iawn â phwnc yr iechyd, fel y cawn ddangos ar fyr. Mae miloedd wedi llwyr ddinystrio eu hiechyd trwy sathru deddfau glanweithdra o dan eu traed; maent wedi dadfeilio a gwywo yr esgyrn a fuont unwaith fel pibellau pres o ran eu cadernid, ac wedi gwanhau a dinystrio rhai o'r enghreifftiau godidocaf o nerth a harddwch corfforol, yn unig trwy eu gwaith yn anadlu awyrgylch ddrewllyd, a phreswylio mewn tai ffiaidd ac aflan. Y dynion truenus hyny sydd yn byw mewn anneddau bawlyd, ac yn anadlu awyr afiach, gellir eu hadnabod wrth ystum ac agwedd eu cyrff. Mae arferion y cylch y troant ynddo wedi cerfio eu delw yn ddwfn ac annileuadwy ar eu gwynebau, ac y mae eu dynoliaeth yn brudd a diymadferth iawn. Ow! y golygfëydd gwaradwyddus a geir mewn rhai o gyrtiau bryntion prif ddinasoedd a threfi ein gwlad; ceir yno ddynion ag ydynt, trwy eu dull aflan o fyw, wedi colli pob gradd o ledneisrwydd a phrydferthwch corfforol a berthynai iddynt, ac wrth cwrs heb feddu cymmeriad moesol o gwbl ag sydd yn teilyngu yr ymddiried a'r parch lleiaf. Ffeuau aflan yw y tai, yn y rhai y preswyliant, ac ynddynt gan amlaf y mae esgoreddfau a meithriniad clefydau a heintiau difaol, y rhai yn fynych sydd yn ysgubo miloedd o'u cydgreaduriaid dynol mewn amser byr i'r byd tu draw i'r bedd. Magwrfëydd pob llygredd, trueni, a heintiau ydyw y lleoedd israddol y cyfeiriwyd atynt; lleoedd i ddifa pob lledneisrwydd a rhinwedd ydynt, ac i ddifodi dynoliaeth deilwng o gyfansoddiadau eu preswylwyr, a'r rhai sydd yn dyfod i gyffyrddiad mynych â hwynt, ac i wisgo cymmeriadau dynion â chythreuldeb mwyaf hagr gwlad annwn ei hun. Pa beth, tybied, sydd yn cyfansoddi rhan helaeth iawn o drueni y dosbarth y cyfeiriwyd atynt? Onid eu haflendid a'u budreddi adgas, a'u casineb dwfn at lanweithdra? Hyn yn y cychwyn a'u harweiniodd i ddibrisio pob rhinweddau dynol, ac a'u rhoddodd ar ben y ffordd i gyrchu at bob drygioni a phechod. Ond nid yn y lleoedd dirmygus yna yn unig y ceir gweled enghreifftiau o ddiffyg glanweithdra: na, y mae llawer o deuluoedd a fynant gael eu hystyried yn ddynion parchus a chymmeradwy, ac yn wir y maent felly, ar lawer golygiad, yn hynod o ddiffygiol yn y rhinwedd hon, os olrheinir eu holl deithi gyda graddau o fanylder. Ond nid ydym mewn un modd yn dyweyd fod y dosbarth yma yn haeddu cael eu cymharu yn eu dull o fyw i'r trueiniaid gresynus y soniwyd am danynt, sydd yn preswylio mewn rhai o drefi mawrion ein gwlad a'n teyrnas. Ni fuasai dyweyd hyny ddim amgen na chabldraeth teg ar gymmeriadau dynion parchus a chymmeradwy iawn ar amryw olygiadau. Ar yr un pryd rhaid ydyw cydnabod fod yn ac o gwmpas anneddau llawer o ddynion cyfrifol mewn byd ac eglwys, lawer o aflendid ac ammhuredd yn llochesu, ac y dylid cadw llygad mwy manol a gwyliadwrus ar ddulliau ac

agweddau pethau ag ydynt yn dwyn cyssylltiad agos â phwnc yr iechyd. Ie yn wir, pwnc y bywyd hefyd

Mewn trefn i ddiogelu yr iechyd, rhaid i bersonau a theuluoedd arfer glanweithdra manwl a chysson bob amser. Credwn mai anwybodaeth dynion o berthynas i ddeddfau iechyd ydyw y rheswm mawr dros fod cynnifer mor esgeulus yn y rhinwedd bwysig sydd dan sylw genym. Pe buasai dynion yn deall deddfau iechyd yn dda, canfyddid mwy o olion glanweithdra yn ac o gwmpas eu preswylfëydd a'u personau. Y dosbarthiadau uchaf mewn cymdeithas sydd fel rheol yn fwyaf gofalus am lendid a destlusrwydd yn eu teuluoedd, yng nghyd ag yn eu gwisgoedd, a'r prif reswm am hyny, debygem ni, ydyw mai y dosbarthiadau hyny sydd yn deall deddfau iechyd oraf Pe buasai *Llawlyfr Iechyd* ym mhob teulu, a sylw priodol yn cael ei roddi i'w gyfarwyddiadau a'i gynghorion, ni welid hanner cymmaint o olion bysedd diogi, esgeulusdod, ac aflendid ar hyd teuluoedd Cymru.

Mewn trefn i fod yn lanwedd a chryno, dylid gofalu am olchi dillad y corff o leiaf unwaith yr wythnos, hyny yw, y dillad agosaf i'r cnawd, gan beidio â gadael i ddim luddias cyflawniad y gorchwyl hwn beth bynag. Dylid golchi dillad y gwelyau hefyd yn aml a gofalus, ac os yn bosibl, ni ddylai ychwaneg nag un gwely fod mewn un ystafell. Dylid ysgwrio a glanhau holl ddodrefni a mân lestrïach y ty yn fynych, a golchi llawr pob ystafell yn y ty amryw weithiau yn yr wythnos, os bydd achos yn galw am wneyd hyny. Dylid lliwio muriau gwahanol ystafelloedd y ty hefyd yn rheolaidd a gofalus.

Mewn lluaws o dai. gwelir rhyw gonglau ac ogofëydd nad oes nemawr drafnidaeth yn cael ei ddwyn ym mlaen ynddynt. ond yn unig ar ryw achlysuron pur anaml. Ofnwn nad ydyw goruchwyliaeth y glanhau yn cael ei chario ym mlaen yn ddigon mynych yn y tyllau unig hyn; ac os felly, mae yn bosibl fod ynddynt lawer o fudreddi annymunol yn llochesu. Tueddfryd neillduol llawer o ddynion ydyw gwisgo rhyw bertrwydd arwynebol ac allanol; ond o'r tu cefn, yn y cuddfëydd, goddefant i lawer o fryntni afiach garirefi, heb wneuthur un ymdrech i'w lanhau. Nis gallwn gredu fod y dynion hyn yn caru glendid o'u calon, ond yn unig eu bod yn gwneuthur rhyw ymdrech lipa a llaes i ddilyn y ffasiwn ar y wyneb. Am y sawl sydd yn hoffi purdeb a threfn, ymdrechant hwy gael y cwbl yn lân, o fewn ac allan, yn y golwg yn gystal ag o'r golwg.

Ond wrth fyned ym mlaen yn ein sylwadau o berthynas i lendid a threfnusrwydd teuluol, yr oeddym yn bwriadu galw heibio i'r dosbarthiadau a'r teuluoedd hyny ag ydynt mor hoff o fyned i lawer o draul a thrafferth i brydferthu a thacluso eu hunain a'u tai ar ryw adegau neillduol o'r flwyddyn, neu pan fyddo rhywun dyeithr o bwys yn dygwydd galw gyda hwynt, a llettya o dan eu cronglwyd am ryw gymmaint o amser. Gogyfer ag adegau felly, ceir eu gweled yn ysgwrio, tacluso, prynu, a glanhau llawer iawn; ac erbyn y daw y gwr dyeithr i'w mysg, gall ef dybied yn naturiol ei fod wedi taraw wrth y teulu mwyaf *respectable* yn yr holl wlad—nad oes mo'u glanach na'u manylach yn yr holl fyd gyda'u dyledswyddau teuluol. Ond y mae yn camsynied yn ddybryd, druan; a phe buasai ond wedi dygwydd dyfod i'w plith ar ryw adeg arall, heb eu rhybuddio ym mlaen llaw am ei ddyfodiad, cawsai weled a theimlo felly: cawsai yno grug anferth o aflerwch ac annybendod; yn lle muriau wedi eu lliwio a'u papyro, cadeiriau wedi eu glanhau, a dodrefni wedi eu gloewi. Trugaredd fawr i deuluoedd felly ydyw fod rhyw achlysuron neillduol yn eu

symbylu i ymaflyd yn eu gorchwylion teuluaidd ambell waith, er mwyn iddynt gael profi tipyn o ammenthyn blasus, a thori ar eu hen ddull salw o fyw.

Ond ein gosodiad ydyw hyn, mai nid glendid a threfn achlysurol o'r nodweddiad uchod a wna y tro er diogelu a chynnal yr iechyd, eithr mewn trefn i gyrhaedd yr amcan teilwng hwnw, rhaid wrth ryw drefniadau sefydlog a pharhäus i weithredu wrthynt. Y parhäus sydd yn sefydlu nodwedd a chymmeriad pob teulu, ac yn dylanwadu ddyfnaf o lawer arnynt Pob gwraig sydd yn caru glendid a rhinwedd, mae yn sicr o ofalu cadw y ty a'r teulu yn y fath sefyllfa, fel na waeth ganddi lawer pa bryd y daw estron o dan ei chronglwyd; ac felly, y mae yn foddlawn dangos ei hun yn ei chymmeriad a'i lliw gwirioneddol yng ngŵydd pawb, yn hytrach na gwisgo hug ar ei gwyneb er mwyn ceisio dallu neb pwy bynag, trwy daflu lleni amryliw a phrydferth dros drwch o faw er mwyn cuddio ei hagrwch, neu, os priodol yr ymadrodd, trwy wisgo bryntni mewn dillad sidan fel y gwna rhai pobl.

Mae lluaws o bersonau unigol hefyd, ar wahân oddi wrth cyssylltiadau teuluol, yn dra euog o'r pechod yr ydym yn cyfeirio ato: yn eu cartrefi ac o gwmpas eu tai, maent yn hynod o aflêr ac annyben eu golwg, ond os ant ryw ychydig oddi cartref, nid oes neb yn gwneuthur ymddangosiad mwy rhwysgfawr a balch na hwynt. Mae rhai bechgyn ieuainc hefyd yn hynod hoff o'r dull hwn. Pe gwelid hwynt yn eu dullwedd cartrefol lawer pryd, ychydig o lendid a phrydferthwch a ganfyddid o'u cwmpas; ond os dygwydd i'r cyfryw fyned i ffair neu farchnad, neu i unrhyw fan cyhoeddus lle bydd lluaws o wyryfon glandeg a hardd yr olwg wedi ymgynnull, gellir casglu wrth eu hymddangosiad allanol mai hwynt-hwy ydyw prif arglwyddi ac urddasolion y wlad. Y mae eisieu mwy o gyssondeb rheolaidd yng nglŷn â glanweithdra. Hyny sydd yn cynnyrchu y buddioldeb a'r lles mwyaf bob amser.

Mae llawer o bersonau unigol hefyd yn euog iawn o dori deddfau glanweithdra a moesgarwch yn eu hymwneyd â'r myglys Gwelir lluaws o ddefnyddwyr myglys yn ei ddefnyddio yn llwtrach rhwng eu dannedd byd yn oed mewn tai addoliad, a chydag eofndra yn ei ystiffo allan o'u geneuau yn llysnafedd gwrthun ac afiach Credwn fod yr arferiad warthus ac aflan hon nid yn unig yn doriad llwyr ar ddeddfau moesgarwch cyffredin, ond hefyd yn afiechyd difaol i'r cyfansoddiad. Mae mynych ymwneyd rhai dynion â'r llysieuyn hudoliaethus uchod wedi eu gwneyd yn greaduriaid mor gaethiwus i'w blysiau, nes y maent yn rhy aflan eu harferion i droi gyda chymmeradwyaeth mewn unrhyw gylchoedd boneddigaidd a chyhoeddus. Rhyfedd mor ddiofal ydyw dynion yng'nghylch glanweithdra ac iechyd, os gallant rywfodd gael porthi eu blysiau llygredig a chnawdol.

Y mae genym eto rai sylwadau pellach o berthynas i lanweithdra teuluol yn ei wahanol ffurfiau. Yn y lle cyntaf y mae genym air i'w ddyweyd o berthynas i'r teuluoedd hyny lle megir lluaws o blant yuddynt. Wrth gwrs, po luosocaf a fyddo nifer y teulu, anhawddaf oll ydyw cadw trefn a dysgyblaeth briodol arno, yn enwedig os bydd yn cynnwys llawer o blant, y rhai sydd mor barod i neidio dros ben pob rheolau a deddfau oni chedwir meistrolaeth go fanwl a llym arnynt. Ond er hyny, naturiol ydyw casglu fod trefn briodol a glanweithdra yn bwysicach fyth o ran eu canlyniadau lle y byddo plant i ofalu trostynt, nag yn y teuluoedd hyny lle nad oes rhai. Y mae plant ieuainc yn dyner a gwanaidd iawn o ran eu cyfansoddiadau, ac os na ofelir am

eu cadw yn lân, a rhoddi awyr iachus iddynt i'w anadlu yn y teulu. hawdd iawn ydyw i ryw afiechyd wreiddio yn y cyfansoddiad, na threulir ef ymaith am yr oes. Y plant hyny a gawsant eu magu mewn bwthynod bychain ac afiach yn y trefi a'r pentrefi, mae rhyw fath o welwder a phrudd-der marwol i'w ganfod yn eu gwynebau ar hyd eu hoes, ac y mae eu cyrff yn eiddylchod eiddil a gwanaidd, tra y mae y rhai hyny a gawsant gyflawnder o awyr iach, a thriniaethau glân pan yn blant, wedi y tyfont i fyny, â chanddynt edrychiad cryf ac iachus, a'u holl gorff yn llawn bywyd a hoenusrwydd diflino. Felly dyledswydd pawb ag yr ymddiriedwyd plant i'w gofal gan Ragluniaeth ydyw eu cadw yn lân, pa beth bynag a fyddo ai ol. Mae gofalu am leudid corfforol y plentyn yn beth nesaf yn ei bwysigrwydd at geisio ei hyfforddi i ffurfio cymmeriad glân; ac fel y dywedasom yn flaenorol, mae y ddau beth pwysig hyn yn dal perthynas agos ac annattodol â'u gilydd.

Y sylw nesaf ydyw, y dylai penau teuluoedd ofalu am lanweithdra a threfn briodol o gwmpas eu tai. Y mae gan yr allanol, fel y dywedasom yn barod, lawer o ddylanwad ar y tufewnol: er i dy gael ei gadw yn lân a threfnus oddi fewn, os bydd llawn o aflendid o'i gwmpas, mae ei breswylwyr yn peryglu eu hiechyd i raddau helaeth iawn. Gwelir yn fynych gytiau moch a phethau cyffelyb o fewn ychydig latheni i ddrws y ty; ie yn wir, gadawa rhai dynion y creaduriaid budr hyny i ddyfod i'w tai, a chânt groesaw mawr ganddynt am eu heofndra. Onid ydyw pethau felly yn bradychu anwybodaeth dynion o ddeddfau iechyd? Pa fodd y gall aroglau brwnt ac afiach beidio â dyfod i'r ty, pan fyddo celloedd yn llawn budreddi o fewn ychydig latheni i'r drws?

Yn wir, pan drôwn i ambell ffermdy, pa beth a welir yno ond yr iâr a thyrfa o gywion gyda hi mewn un man, yr hwyaid mewn man arall, yr "oen swca" mewn man arall drachefn, a thri neu bedwar o gŵn gwancus ger llaw y tân, yng nghyd â thri neu bedwar o foch yn rhwchian yn ymyl y drws, ac wfft y fath le sydd o gwmpas y creaduriad glân (?) hyny. Mae yn bur debyg hefyd fod rhai o'r ymwelwyr a nodwyd yn talu ymweliad â'r parlwr ambell dro, os digwydd iddynt gael y drws yn agored; ac os bydd rhyw fwydydd ar y bwrdd heb eu rhoddi o'r neilldu, bydd ambell un o'r creaduriaid pluog wedi cymmeryd ei ryddid i gyfranogi o hono, os na bydd y feistres wrth law ar y pryd Dyna ddarlun rhy gywir, ysywaeth, o agwedd rhai teuluoedd ag y gwyddom yn dda am danynt. Yn wir mae rhai teuluoedd yn "yr oes oleu hon" yn byw dan yr un gronglwyd ag y mae eu ceffylau a'u gwartheg yn trigo, ac heb nemawr ddim yn gwahanu rhyngddynt â hwy; mae holl sawyr yr ystabl a'r beudy yn gwibio trwy y ty y preswyliant ynddo. Goddefant i'w cŵn a chreaduriaid ereill gysgu o dan eu gwelyau. Atolwg, ar ba gyfrif y dysgwylia y cyfryw ddynion i'w hiechyd fod yn ddianaf, tra y maent hwy eu hunain mor ddiystyr o ddeddfau iechyd? A ydynt yn dysgwyl i ragluniaeth gadw eu hiechyd heb ammharu, tra y maent megys ar eu heithaf yn ei ddistrywio? Pe na byddai yr un meddyg na llyfr yn yr holl fyd, mae eu rheswm hwy eu hunain yn condemnio eu hymddygiadau yn gryf.

Yn wir trugaredd fawr i'n gwlad ydoedd ffurfio Byrddau Iechyd ynddi; ond yr ydym bron â chredu fod yn rhaid gwneyd eu rheolau yn llymach eto, o herwydd y mae llawer o aflendid heb ei ysgubo ymaith hyd yn hyn, a dynion yn dyoddef o'i herwydd. Y dynion hyny ag y mae glanweithdra yn gas-beth ganddynt, nid oes un ffordd i'w diwygio ond trwy roddi gwialen gorfodiaeth yn

drwm ar eu cefnau. Trueni dybryd fod y werin yn gorfod dyoddef heintiau a chlefydau marwol yn herwydd yr ychydig mewn cymhariaeth sydd yn meithrin y cyfryw glefydau cyn iddynt ymdaenu yn eu rhwysg ofnadwy dros wyneb yr holl wlad, a lladd miloedd o'i phreswylwyr. Pe buasai mwy o ofal teuluol yn cael ei ddangos, ni fuasai ein trefi mawrion yn lleoedd mor ddinystriol i iechyd a bywydau dynion. Dywedai un gwr enwog mai y ffordd i ysgubo holl heolydd Llundain mewn ysbaid hanner awr o amser oedd trwy i bob dyn ysgubo o flaen ei dy ei hun. Dywedwn ninnau mai y ffordd i wneuthur ein trefi a'n dinasoedd yn fwy rhydd oddi wrth glefydau, ac i welläu cyflwr cymdeithas ym mhob ystyr, ydyw trwy i bob teulu arfer trefn a glanweithdra manwl; gwnelai hyny fwy o les na llonaid gwlad o grachfeddygon. Prysured yr amser dedwydd i ben pan ddelo pob teulu, mewn gwlad a thref, i werthfawrogi eu hiechyd i'r fath raddau nes carthu allan bob aflendid a llygredd o'u preswylfëydd, a gwneuthur pob ymdrech teilwng i gael awyr pur a dilwgr i anadlu ynddi. Pan ddaw hyn i ben, fe ychwanegir dedwyddyd ac iechyd dynolryw yn fawr iawn.

4. *Glanweithdra yn ei berthynas â chrefydd bersonol a theuluol.* Teimlir mai nid rhyw lawer sydd i'w draethu ar y pen hwn, yn gymmaint a bod amryw o'n sylwadau ar y cangenau blaenorol yn gyfrwng ag y gellir eu cymhwyso yn briodol hefyd at bersonau a theuluoedd yn eu perthynas â phwnc pwysig eu crefydd. Er hyny, teimlwn ei fod yn gwbl angenrheidiol i ni wneuthur rhai sylwadau uniongyrchol ar lanweithdra yn ei gyssylltiad â chrefydd, yn gymmaint a'n bod yn credu fod gan y naill ddylanwad pur neillduol ar y llall; ac y mae o bwys i ni i ddyfod i ddeall rhyw gymmaint am natur a graddau y dylanwad hwnw, gan mai crefydd ydyw y peth pwysicaf o lawer i ddyn yn y pen draw. Mae yn beth agosach ato na dim arall, a'i dylanwadau yn fwy parhaol a phwysig. Felly, ein dyledswydd arbenig ydyw ceisio cael gafael yn y rhedwelyau cuddiedig hyny sydd yn arwain i mewn i galon dyn o bob cyfeiriad, ac yn taflu maeth neu wenwyn yn barhäus i'w gymmeriad crefyddol. Credwn mai un rhedwely pwysig ag sydd yn arllwys dylanwad parhäus i galon dyn ydyw y ffurf o fywyd personol neu deuluol a arweinia mewn perthynas i ddeddfau trefnusrwydd a glanweithdra. Y teuluoedd hyny sydd yn fwyaf brwnt ac aflêr gyda dyledswyddau allanol y teulu, ydynt fel rheol, mor belled ag y cyrhaedda ein hadnabyddiaeth a'n profiad personol ni, y rhai mwyaf esgeulus a difater gyda'u dyledswyddau crefyddol hefyd Y mae annrhefn yn y lleiaf yn cynnyrchu ei ryw yn y mwyaf hefyd. Dangoser i ni deulu ag y mae annhrefn a bryntni yn nodweddion amlwg ynddo, a ninnau a ddangoswn deulu ag mae dyledswyddau crefyddol yn cael eu dibrisio a'u sathru dan draed ynddo. Y mae glanweithdra yn rhwym o wasanaethu fel math o ragredegydd i dduwioldeb a chrefydd ym mhob man. Y teuluoedd hyny ag ydynt yn byw yn aflan a didrefn, maent gan amlaf yn rhy ffrystgar a diwyd gyda'u gorchwylion bydol i hebgor amser at gynnal dyledswyddau crefyddol yn eu tai. O herwydd eu haflerwch yn eu dull o fyw, nid oes ganddynt ddim amser i'w hebgor at bethau gwir fuddiol a da—y pethau hyny ag ydynt yn dyrchafu ac yn puro y galon. Mae diffyg glanweithdra hefyd mewn teuluoedd crefyddol yn anghymhwyso dynion yn aml i bresennoli eu hunain mewn cyfarfodydd crefyddol buddiol a da, yr hyn sydd yn colledu yr enaid yn fawr o rai o brif ffynnonau ei gysur a'i gynnydd. Llawer gwr crefyddol sydd wedi cael ei luddias i fyned i'r Eglwys ar foreu'r Sul o herwydd

esgeulusdod y wraig yn peidio golchi ei grys neu dacluso rhyw ddilledyn arall iddo. Mae troion o'r fath yma yn dygwydd yn fynych mewn teuluoedd crefyddol a pharchus; ond nid ydyw eu hamldra yn cyfiawnhau dim arnynt, eithr yn hytrach yn mwyhau y drwg. Yn wir clywsom am un gweinidog yr Efengyl enwog iawn (yr hwn a fu dipyn yn anffodus yn ei ddewisiad o gymhares bywyd) ag oedd i fod yn pregethu ryw Sul yng nghyfarfod blynyddol rhyw Eglwys, ac ar foreu y Sul hwnw, aeth cyfaill iddo heibio i alw am dano, yr hwn oedd yn weinidog yn yr un cyfundeb ag yntau, a gofynodd iddo os oedd yn barod i gychwyn gydag ef i'r cyfarfod pregethu. "Na, yn wir," ebai yntau yn bruddglwyfus ac isel ei ysbryd, "nis gallaf ddyfod heddyw am nad oes genyf yr un crys glân i'w ddodi am danaf." Ond yn ffodus, dygwyddodd fod gan ei gyfaill grys yn y *carpet bag* oedd ganddo, a rhoddodd ei fenthyg am y tro i'w gyfaill anffodus Onid ydyw gwragedd mor esgeulus a'r uchod yn wenwyn ac yn ddinystr i grefyddolder eu gwŷr a'u teuluoedd?

Ym mhellach, y mae holl athrawiaethau y grefydd Gristionogol ar eu hyd yn dysgu dyn i fod yn lanwedd a threfnus. "Gwnewch bob peth yn weddaidd ac mewn trefn" ydyw y cyfarwyddyd dwyfol, ac y mae tôn yr holl Ysgrythyr yn cefnogi y cynghor syml a gwerthfawr yna. Yn wir y mae holl ddeddfau natur yn cael gwarogaeth a pharch uchel gan Air Duw, ac y mae dyn yn cael ei annog i gydffurfio â hwynt i'r llythyren, cyn belled ag y mae a fynont â phwnc ei iechyd a'i gysuron. Ym mhellach hefyd, gan mai yr un ydyw Awdwr llyfr natur a llyfr dadguddiad, nis gall yr hwn a oleuwyd gan Ysbryd Duw, ac a ddysgwyd i ufuddhau i gynghorion a chyfarwyddiadau y naill beidio ag ufuddhau i ddysgeidiaeth a rheolau y llall hefyd. Felly byddai gweled dyn gwir dduwiol yn gwisgo ymddangosiad allanol brwnt ac afler, yn ddarlun o greadur yn gweithio allan ar yr un pryd ddwy egwyddor gwbl groes i'w gilydd, yr hyn, yn ol tystiolaeth bendant Gair Duw, sydd gwbl ammhosibl mewn cyssylltiad â phob materion ereill; ac felly yn dra thebyg o fod yn ammhosibl yng nglŷn â phwnc ein sylw hefyd. Gweled dyn â chalon lân, wedi ei phuro drwy waed Crist, yn ymhyfrydu mewn gwisgo dillad aflan ac afiach! Na, rhy brin y coeliwn fod y fath beth yn bosibl. Y mae gormod o ddymunoldeb ac o werth sylweddol yn perthyn i lanweithdra, i enaid un Cristion gwirioneddol allu ymddwyn yn ddiystyrllyd tuag ato. Ond ei dueddfryd gwastadol ydyw ei feithrin a'i barchu yn addas, ac fel ffrwyth naturiol i hyn, mae ei gymmeriad moesol a chrefyddol yn persawru yn hyfryd yng ngŵydd Duw a dynion.

Dyma ni bellach wedi gorphen ein sylwadau ar y pedwar penawd, i ba rai y rhanasom ein testyn. Cyn rhoddi ein hysgrifell heibio, dywedwn eto mai un o'r gemau naturiol dysgleiriaf a gwerthfawrocaf i harddu cymmeriad pob person a theulu yw glanweithdra; mai un o'r cyfryngau hwylusaf i gludo cysuron i fynwes pob person a theulu ydyw, a'i fod yn ddiogelwch mawr i iechyd personol a theuluol, ac yn addurn allanol o'r fath ddysgleiriaf a phuraf ar grefydd bersonol a theuluol. Yng ngwyneb yr holl ragoriaethau hyn a berthynant iddo, pwy mor ddŵl eu golygon fel nas gwelant ei degwch? a phwy mor gyndyn eu calonau fel na roddant ufuddhâd i'w ddeddfau? Buan, ynte, y delo pob person a phob teulu drwy ein gwlad i deimlo ei werth, ac i rodio yn unol â'i gyfarwyddiadau buddiol a gwerthfawr.

MYFENYDD.

*Treorci.*

---

Yr hwn sydd yn gwneuthur dim sydd ar ffordd drygioni bob amser.

## HANES TRIGOLION, DEFODAU, AC OFERGOELION EWROP CYN CRED.

### GAL A PHRYDAIN CYN CRED.

*Cyf. Glanmor, o waith Julius Cæsar, Tacitus, &c.*

#### I.—TERFYNAU A BRODORION GAL.

Y MAE tir Gal i gyd yn rhanedig i dri pharth, o ba rai y Belgiaid a breswyliant un; yr Aquitaniaid y llall; y rhai a elwir yn eu hiaith eu hunain yn Celtiaid, yn yr eiddom ni yn Galiaid, a breswyliant y drydedd. Y rhai hyn oll a wahaniaethant yn eu plith eu hunain o ran tafodiaith, trefniadau, a chyfreithiau Yr afon Garonne a wahana'r Galiaid oddi wrth yr Aquitaniaid, y Marne a'r Seine oddi wrth y Belgiaid.[1] O'r rhai hyn oll y Belgiaid ydynt gadarnaf;[2] o blegid eu bod yn bellaf oddi wrth wareiddiad a diwylliad y Dalaeth; ac yn anaml iawn yr ymwêl masnachwyr â hwynt, ac y dygant iddynt y pethau a berthynant i awyddfryd merchedaidd; ac y maent yn agos i'r Ellmyn, y rhai a drigant tu hwnt i'r Rhine, gyda pha rai y cariant ryfel gwastadol. O ba herwydd y mae'r Helvetiaid hefyd yn rhagori mewn gwrolder ar y Galiaid ereill, yn gymmaint a'u bod beunydd o'r bron yn ymryson mewn brwydrau â'r Germaniaid, naill ai pan rwystrant hwynt i dd'od i'w cyffiniau, neu pan gariant ryfel i mewn i'w terfynau Un rhan o'r rhai'n,[3] yr hon y dywedwyd i'r Galiaid ei heunill, a gymmer ei chychwyniad oddi wrth yr afon Rhone, a gyffinir gan yr afon Garonne, yr Eigion, a gororau'r Belgiaid. Cyffyrdda hefyd (o du'r Sequaniaid a'r Helvetiaid) â'r afon Rhine; gorwedd tua'r Gorllewin. Y Belgiaid a godant o gyffiniau eithaf y Galiaid Cyrhaeddant hyd barth isaf yr afon Rhone. Edrychant tua'r Gogledd, a chodiad haul Y mae Aquitania, oddi wrth yr afon Garonne, a mynyddoedd y Pyrenees, a'r parth hwnw o'r môr a berthyn i'r Hispaen, yn edrych rhwng machlud haul a'r Gogledd.—*De Bello Gallico, Lib. I., cap* 1.

Nid oedd y dalaeth Rufeinig yn Gâl yn cynnwys ond rhan o'r wlad—darn o Switzerland a deheubarth Ffrainc—a gyfanneddid gan yr Albiciaid, yr Alobrogiaid, yr Helviaid, y Ruteniaid, y Salluviaid, y Vocantiaid, y Volcæaid, y Deciatiaid, yr Oxybiaid, y Sordoniaid, y Caturigiaid, y Centroniaid, a'r Graioceliaid. Y rhai'n, wedi ymostwng dan iau Rhufain, a dderbyniasant eu defodau, eu heilun-dduwiau, eu gwareiddiad, a'u moethusder; neu a dalent warogaeth a theyrnged i Rufain.

Y diriogaeth Belgiaidd a gynnwysai hefyd lawer o genedloedd neu dylwythau, megys yr Aduaticiaid, yr Ambianiaid, yr Ambivaretiaid, yr Atrobatiaid, y Bellovaciaid, y Caletiaid, y Lenciaid, y Mediomatriciaid, y Menapiaid, y Moriniaid, y Nerviaid a'u deiliaid, y Remiaid, y Suessoniaid, y Treviriaid, y Condrusiaid, yr Eburoniaid, y Ceresiaid, y Paemaniaid, y Segniaid, y Tribociaid, y Veliocapiaid, a'r Veromanduaid. Tylwythau anwar a rhyfelgar oedd y rhai'n, ac ymffrostient eu bod wedi amddiffyn eu tiriogaethau rhwng y Cymry[4] a'r Teutoniaid. Dywedid fod y Bellovaniaid yn 100,000 o wŷr arfog.

Y Celtiaid a renid yn dylwythau lawer, megys yr Averniaid, yr Eleutheriaid, y Gabaliaid, y Vellaviaid, yr Aulerciaid (tri llwyth), y Biturgiaid, y Carnutiaid, yr Æduiaid, gyda'u deiliaid o amryw dylwythau; yr Essuviaid, yr Helvetiaid, y rhai gyda'u cynghreiriaid a ffurfient giwdod o 368.000 o wŷr, a gwragedd, a phlant, a 92,000 o filwyr, pan aethant

[1] Garumna, Matorna, a'r Sequana.
[2] Fwyaf rhyfelgar.
[3] O dri pharth Gâl.
[4] Cimbri, y Rhufeiniaid.

i chwilio am wlad well.[1] I attal eu symmudiad yr aeth Cæsar allan o Rufain, ac y daeth o'r diwedd i Brydain. Wedi iddo eu gorthrechu drwy alanas mawr mewn dwy frwydr greulawn, nis dychwelodd ond 110 000 o honynt yn ol i'w hen fro —*De Bell. Gall.*, *Lib. I.*, *c.* 21.

Yma hefyd y cawn y Lemoviciaid, y Ligoniaid, y Mandubiaid, y Parisiaid, oddi wrth ba rai y galwyd eu prif dref *Lutetia* ar ei henw presennol *Paris;* y Petrocoriaid, y Rauraciaid, y Ruteniaid, y Senoniaid, y Sequaniaid, a'r Turoniaid.

Y Cymry priodol neu'r Llydawiaid, a drigent yn Armorica, a renid i lawer o lwythau, sef yr Ambibariaid, yr Ambilatiaid, yr Andiaid, y Curosolitiaid, y Lemoviciaid, y Lexoviaid y Namnetiaid, a'r Osismiaid. Hefyd y Celtiaid Alpaidd, sef y Nantuatiaid, y Seduniaid, a'r Veragriaid. Heb law tylwythau ereill ar oror y môr a elwid yn Pictoniaid, y Redoniaid, y Santoniaid, yr Unelliaid, a'r Venetiaid.

Yn Aquitania hefyd yr oedd tylwythau lawer, megys yr Ausciaid, y Bigerroniaid, y Cocosatiaid, yr Elusatiaid, y Gatiaid, y Garumniaid, y Putianiaid, y Sibuzatiaid, y Sotiatiaid, y Tarbelliaid, y Torusatiaid, a'r Voscatiaid, heb law amryw lwythau nad yw Cæsar yn eu henwi.

## II.—PRYDFERTHWCH, GWISGIAD, CELFYDDYDAU, DEFODAU, AC ARFERION Y GALIAID.

Pobl dal oedd y Galiaid, gan mwyaf yn deg o bryd, gyda llygaid gleision, a gwallt goleu neu felyngoch, yr hwn a liwient yn aml. Gwisgent ffurf laes, oddi eithr eu pendefigion, y rhai a'i heillient. Ni wisgent ond crys, par o lodrau, a mantell wedi ei hadduruo â brwydwaith arian ac aur. Y rhai tlotaf a wisgent grwyn anifeiliaid; y cyfoethogion dorchau neu goleri aur, clustdlysau, modrwyau, breichledau, a gwddf-gadwynau gwerthfawr. Gweithient weoedd, a brethynau, a metelau yn fedrus. Yr oeddynt yn fwnwyr a thoddwyr haiarn da, yn enwedig y Biturgiaid. Gweithient efydd (copr) ac alcam (tin), ac yr oedd yn eu plith ofaint arian ac aur cywrain. Ond trin tir a rhyfela oedd galwedigaeth y rhan fwyaf o honynt. Bwytaent lawer o gig moch ac anifeiliaid gwylltion a helid, wedi ei halltu a'i sychu. Yfent laeth eu praidd, cwrw, a medd yn aml hyd feddwdod. Yr oeddynt yn hynod o barablus, caredig, a chroesawgar; ond yn goegfalch, dadleugar, ac ymrysongar, yn enwedig yn eu diod, ond heb falais wedi hyny. Yr oeddynt yn hoff iawn o bobpeth newydd, yn gyfnewidiol ac anwadal yn eu bwriadau. Enwa Cæsar un ar hugain o drefi Gâl.

## III.—GRADDAU, DYSGEIDIAETH, DERWYDDIAETH, &c.

"Wedi d'od i'r fan yma," medd Cæsar, "nid ymddengys yn beth annmherthynasol draethu am arferion y Galiaid a'r Ellmyn, ac ym mha fodd y gwahaniaethant oddi wrth eu gilydd Yn Gâl y mae ymbleidiau *(factions)* nid yn unig ym mhob gwladwriaeth, ac ym mhob pentref ac ardal, ond agos ym mhob ty; a phenaethiaid y pleidiau hyny yw y rhai y cyfrifir eu bod yn meddu yr awdurdod fwyaf yn eu bradwriaeth, at benderfyniad a barn pa rai y cyfeiriant yr achosion a'r dadleuon penaf oll. Ac ymddengys mai yr achos o hyny yw hen osodiad, na bo neb o'r werin yn fyr o nawdd rhag ei drech o blegid ni oddefir i neb o'u plaid gael ei orthrymu na'i dreisio; ac nid oes iddo (sef pen y blaid) os gwna'n amgen, un awdurdod mwyach yn eu mysg hwynt. Yr un peth hwn sy'n fawr yn holl Gâl, o blegid yr holl wladwriaethau a renir yn ddwy blaid."—*De Bell. Gal.*, *Lib. VI. c.*

[1] Y dalaeth Rufeinig yn Gâl.

"Yn holl Gâl en gwŷr, y rhai sydd o unrhyw gyfrif ac anrhydedd, ydynt o ddau fath; o blegid prin y medd y gwerinwyr le gweision; a'r hwn ni faidd wneyd dim o hono ei hun, ac ni elwir i gymmeryd rhan o ddim mewn cynghor. A chan mwyaf, tra naill ai mewn dyled neu fawredd teyrnged neu orthrwm eu galluocach, dodant eu hunain mewn gwasyddiaeth i'r pendefigion. Ond o'r ddau rywogaeth yma un yw y Derwyddon, a'r llall y Marchogion; y naill a ymdriniant â materion dwyfol, a ofalant am yr ebyrth cyhoeddus a dirgel.[1] ac a ddeonglant grefydd. At y rhai'n yr ymgasgl nifer mawr o ieuenctyd er mwyn cael addysg, ac y mae y rhai'n mewn bri mawr yn eu mysg; o blegid penderfynent agos bob dadleuon cyhoeddus a phersonol, ac os cyflawnir unrhyw ddrwg; os gwneir llofruddiaeth; os yn achos etifeddiaeth; os yng nghylch terfynau y bydd dadl dyfarnant y peth, penderfynant ddirwyon a chospedigaethau.[2] Os bydd neb anghyhoedd neu g'oedd ni saif wrth ei rheithfarn, gwaharddent iddo ef ddyfod i'r aberthiadau.[3] Dyma'r gospedigaeth drymaf yn eu mysg a'r rhai fônt wedi eu gwahardd felly, y rhai'n a gyfrifir yn nifer annuwiolion a rhai ysgeler. Pawb a ochelant y rhai hyn: ymgiliant rhag eu dynesiad a'u lleferydd, fel na dderbyniont ddim niwed oddi wrth aflanhâd.[4] Ac nis caniatëir iddynt gyfiawnder drwy appeliad, ac nis cyfrenir iddynt un anrhydedd. Ond y mae un yn ben ar yr holl Dderwyddon hyn, yr hwn a fedd yr awdurdod uchaf yn eu mysg. Ar farwolaeth hwn, os rhagora neb o'r lleill mewn teilyngdod, efe a olyna; ond os bydd amryw cyffelyb, dewisir Archdderwydd drwy bleidlais y Derwyddon. Weithiau hefyd cyndynant ag arfau am y flaenoriaeth. Y rhai'n, ar dymmor penodol o'r flwyddyn, a ymgasglant mewn lle cyssegredig yng nghyffiniau y Carnutiaid, yr hon fro a gymmerir megys canolfan holl Gâl. Yma pawb o bob man—y rhai fo ganddynt gwynion—a ymgyrchant, ac ymostyngant i'w barn a'u dedfryd Cafwyd y ddysgyblaeth ym Mhrydain, ac oddi yno y cyfrifir iddi gael ei throsglwyddo i dir Gal; ac yn awr, y sawl a ddymunant ddeall y peth hyn yn fanylach, gan amlaf a ânt[5] yno er mwyn dysgu. Y Derwyddon a arferant fod yn absennol o ryfel, ac nis talant drethi yng nghyd ag ereill; meddant ryddhâd oddi wrth wasanaeth milwraidd, a phob peth wrth fraint Yn cael eu denu â'r fath fanteision, ac o'u tueddfryd eu hunain, y mae llawer yn d'od i'r ddysgyblaeth, ac yn cael eu danfon gan eu rhieni a'u cyfnesafiaid. Yno dywedir i nifer dirfawr o bennillion gael eu dysgu, ac am hyny, rhai a barhânt ugain mlynedd dan addysg, ac nis cyfrifant ei fod yn iawn i drosglwyddo y rhei'ny i lythyrenau, tra ym mhob materion cyhoedd ereill o'r bron, ac achosion personol, arferant lythyrenau Groeg.[6] Hyn, fe ymddengys i ni, a sefydlasant am ddau achos o blegid nid ewyllysiant i'w dysgeidiaeth gael ei throsglwyddo i'r bobl gyffredin,[7] nac i'r rhai a ddysgant, gan ymddiried i ysgrifen, arfer cof lai; canys y mae'n dygwydd agos yn wastad, fod gyda chadwraeth llythyrenau i ddiwydrwydd dysgiad trwyadl, a chof gael eu hesgeuluso. Yn bendifaddeu dysgant hyn, na ddifodir eneidiau, ond eu bod wedi marw yn cael eu trosglwyddo o'r naill (gorff) i'r llall.[8] a thybiant drwy hyn fod gwrolder yn cael ei fawr ennyn wedi diystyru ofn marw-

[1] Neillduol, personol, neu deuluol.
[2] Poenydiau.
[3] Cyfranogi neu fwyta o'r ebyrth.
[4] Heintiad.
[5] A deithiant hyd yno, sef Prydain.
[6] Diau eu bod yn fwy cyfaddas i'r Gymraeg na'r rhai Rhufeinaidd.
[7] I'r werin.
[8] Trawsfudiad eneidiau, treigliad "cylch abred."

olaeth. Dadleuant hefyd yngnghylch y ser a'u hysgogiadau. am faintioli'r byd a'r gwledydd. am natur pethau. am allu ac awdurdod yr anfarwol dduwiau, a thraddodant hyn i ieuenctyd.

"Y radd arall yw'r marchogion.[1] Y mae y rhai'n, tra y mae'n arfer, a phan ddygwyddo rhyw ryfel (yr hyn cyn dyfodiad Cæsar a arferai ddygwydd agos bob blwyddyn), pan naill ai y gyflawnent hwy eu hunain dreisiadau, neu y gwrthbladdent ymosodiadau.[2] oll yn gyfarwydd mewn rhyfel. ac fel y mae neb o honynt ablaf o radd a chyfoeth, felly y mae ganddo o'i amgylch fwyaf o ymlynwyr ac ymddibynwyr. Hyn yn unig a gydnabyddant yn urddas a gallu.

(*I'w barhau.*)

---

## DARLUN O'R PARCAU, HENLLAN AMGOED.

MAE meusydd y Parcau
Yn orlawn o ffrwythau,
O laswellt yn tyfu,
A gwenith yn toni.
Y dolydd gwyrdd hardd-deg
Sydd gyflawn o wartheg,
O ŵyn ac ebolion,
A defaid glân gwynion.
Ir goedydd mawreddog,
Mor dalion a deiliog,
Sydd yma yn lwysfad
Yn harddu'r adeilad,
Gan roddi mwyn gysgod
Rhag mawrwres neu gawod;
Ac ynddynt mae adar
Yn canu yn gerddgar:
Ar foreu o wanwyn,
Mor hyfryd eu canlyn,
Yn cywrain gydbyncio
Rhyw ber *oratorio;*
Tra'r deryn du dewriaith,
A'r fonedd lân fronfraith,
Mewn acen ac ysbryd
Yn cathlu yn hyfryd.
Ond yn y Palasdy
Mae merched teg llon-gu,
Rhyw dair o rianod,
Cantorion da hynod;
Eu gwedd sydd yn siriol,
A'u lleisiau yn swynol;
Yn fynych cydganant,
Ac hefyd chwareuant;
Eu bysedd glân cryno
Ant dros y *piano*
Mor gyflym, mor fedrus,
Mor gerddgar, mor ddawnus,
Nes byddo'r swn odiaeth
Yn fôr o beroriaeth;
Tra'r tad a'r fam fwynlon
Yn hyfryd eu calon,
A phawb yn *symphonic*
Ag adlais a *music;*
Eu lleisiau wnânt ennyn,
Yng nghyd â'r offeryn,
Ryw dân o lawenydd
Yn enaid y prydydd.
A phwy a ryfeddent,
Wrth ganfod fath dalent,
Pe byddent yn cofio
Fod Rowlands Llangeitho,
Trwy linyn olyniaeth,
Yn byw yma eilwaith,
Yn awen, yn ysbryd,
Yn llawen, yn hyfryd,
Yn fwyn ac yn foesol,
Yn ddwys ac yn dduwiol?
'Nol angeu a'i ingoedd,
O bydded y nefoedd
Yn Eden, yn gartre'
I deulu y Parce,
A Thad pob daioni
Yn ben ar y teulu.

JOANNES.

---

## BRAS NODION O FUALLT.

AR ol gweithio yn galed. yn gorfforol a meddyliol, foreu a hwyr, am amser maith, rhaid cael gorphwysdra, neu beth bynag, rhaid newid gwaith. Ar ol bod yn sefydlog yn yr un man am fisoedd, mae tuedd ym mhob dyn i deithio a gweled rhyw gymmaint o'r byd o ddeutu. Yn wir, ychydig ydyw gwybodaeth wirioneddol y meudwy na fu erioed dros derfynau ei blwyf genedigol. neu y sir yn yr hon y ganed ef. Po mwyaf mae dyn wedi deithio, ac wedi gwneyd iawn ddefnydd o'i lygad, ei glust, a'i dafod, mwyaf i gyd ydyw ei wybodaeth. Mae teithio dros fynyddau a thrwy gymoedd hen Gymru anwylaf, ac yfed awelon iachus y bryniau. yn adfywio cyfansoddiad y teithiwr blinedig. Sonir cymmaint am Ysgotland, yr Iwerddon, a'r Cyfandir, fel pe buasai golygfëydd prydferth ac awelon balmaidd yn gyfyngedig i'r gwledydd hyn yn unig. Yn wir, os

---

[1] Pendefigion.
[2] Oddi wrth y cenedloedd ereill, &c.

oes ar ryw Gymro mwyn eisieu gweled golygfëydd swynol, nid oes angen iddo fyned allan o'i wlad enedigol i ganfod harddwch natur, gan fod yng Nghymru lawer o *scenes* ysplenydd. Na ddiystyred y rhai sydd wedi teithio trwy Switzerland greigiog, neu Itali hafaidd, hen Gymru.

"Land of brown heath and shaggy wood,
Land of the mountain and the flood,
Land of my sires! what mortal hand
Can e'er untie the filial band
That knits me to thy rugged strand?"

Penderfynodd yr ysgrifenydd na wnai groesi Clawdd Offa eleni, a threuliodd rai wythnosau dedwydd ym Muallt. Ymdrechir rhoddi ger bron darllenwyr yr HAUL fras nodiadau ar olion hynafiaethol a hen deuluoedd a phersonau o nod, ar Eglwysi Buallt, a chynnydd neu ddirywiad Ymneillduaeth yn y blynyddau a aethant heibio, ac hefyd traethir gair ar yr iaith Gymraeg—pa un a ydyw yn marw ai peidio, &c.

BRYCHEINIOG.

Gelwir y swydd yn Brycheiniog oddi wrth Brychan, tywysog y wlad. Dywed MS. yng Ngholeg Iesu, Rhydychain, ei fod yn byw tua'r flwyddyn 400 o oed Crist, ac iddo farw tua 450. Yr oedd tywysogion brodorol y wlad yn ddig iawn wrtho o herwydd ei fod yn disgyn o achau Gwyddelig. Bu iddo dair o wragedd, a lluaws mawr o fechgyn a merched, y rhai a dyfasant i fyny i fod yn gedyrn yn yr Eglwys Gymreig. Addysgwyd rhai o honynt gan Dyfrig yn ei athrofa ger Caerlleon ar Wysg. Yn y "Trioedd," sonir am Brychan a'i deulu fel un o dri "Teulu Sanctaidd Ynys Brydain."

Enw cyntefig Brycheiniog oedd Garth Madryn, a gelwid y swydd wrth yr enw hwn am lawer o ganrifoedd.

Cylchynir y swydd ar y gogledd gan yr afonydd Claerwen ac Elan, a rhan o'r afon Wy; ar y deheu gan siroedd Morganwg a Mynwy; ar y dwyrain gan yr afon Wy a swyddi Maesyfed a Henffordd; ac ar y gorllewin gan siroedd Caerfyrddin a Cheredigion. Mesura tua 35 milltir o'r gogledd i'r deheu, ac o ddeutu 30 milltir o'r dwyrain i'r gorllewin, a chynnwys tua 460,158 o erwau o dir. Rhed yr afon Gwy rhwng Maesyfed a Brycheiniog, o Raiadr ar Wy hyd y Gelli (Hay). Rhan hynod o anwastad yw y rhan hon o Gymru. Mae yma lawer o fryniau a mân fynyddau, a lluaws mawr o gymoedd, rhai cul, rhai eang; a thrwy y cymoedd hyn ymlithra y cornentydd rhuadwyllt i lawr o'r bryniau i'r fam afon sydd yn ymddolenu trwy y dyffryn is law.

MYNYDDAU BRYCHEINIOG.

Mae dwy restr o fynyddau yn rhedeg trwy y sir, un restr ar y gogledd, a'r llall yn agos i'r rhan ddeheuol o honi.

1. *Mynyddau Eppynt a Bwlch y Groes.* Ystyr y gair Eppynt ydyw *hill, slope, ascent.* Dechreu y mynyddau hyn ar y gogledd-ddwyrain ger Llanfair ym Muallt, a rhedant tua'r deheu-orllewin hyd at dueddau swydd Caerfyrddin, am tua deunaw neu again milltir. Gorwedd gwlad Buallt (yn briodol felly) ar y tu gogleddol i fynyddau Eppynt, ond nid ydyw yr ysgrifenydd yn y llithiau hyn yn meddwl cyfyngu ei hun i'r rhan o'r wlad y tu gogleddol i fynyddau Eppynt. Yn yr hen amseroedd, perthynai gwlad Buallt briodol i dywysogion Dinas Fawr (h.y., Dinefawr, Dynevor). Yn 1164, rhoddodd Rhys ab Gruffydd y rhan hon i Fynachlog Ystrad Fflur. Yr oedd dyffryn Irfon, yn gystal a'r cwm trwy yr hwn y rhed Chwefri, ac hefyd diroedd ar lanau yr Wy, ar wahanol amserau yn rhanau o diriogaethau tywysogion Powys ac arglwyddi Elfel. Ym mhell ar ol i'r rhan hon o'r wlad gael ei gorchfygu gan Bernard Newmarch, cys-

sylltwyd hi â swydd Frycheiniog. Philip de Breos, Arglwydd cyntaf Brycheiniog, a unodd y rhan hon â'r rhanau ereill o'i diriogaethau. Daethant i feddiant o honynt trwy ei wraig. Ar ol hyn, cymmerai y Mortimers feddiant o honi, ac weithiau ffurfiai ran o Arglwyddiaeth Melenydd ym Maesyfed. Yn wir, mae natur megys wedi gwahanu gwlad Buallt briodol oddi wrth Brycheiniog trwy godi mynyddau talgryfion Eppynt rhwng y ddwy ran. Rhai oer a llwm ydyw Eppynt. Sonid llawer am fugeiliaid Eppynt yn yr HAUL flynyddau yn ol. Pobl hynod gall, ac Eglwyswyr selog oedd rhai o honynt!

2. *Banau Brycheiniog* (Fforest Fawr). Rhed y mynyddau hyn yn yr un cyfeiriad (o'r gogledd-ddwyrain i'r deheu-orllewin) a mynyddau Eppynt trwy Frycheiniog hyd Banau sir Gaer. Mae pigyn uchaf y mynyddau hyn yn 2862 o droedfeddi uwch law *level* y môr. Mae Pencader Fawr yn 2630. Dyma y mynyddau uchelaf yn Neheudir Cymru.

> "The beauties of the wilderness are His
> That make so gay the solitary place,
> Where no eye sees them."

### AFONYDD BRYCHEINIOG.

Gan fod cymmaint o fynyddoedd a bryniau, dyffrynoedd a chymoedd yn y sir, fel y dywedwyd yn barod, edrychir yn naturiol am luaws mawr o afonydd a chornentydd. Y prif afonydd ydynt Gwy, Wysg, Irfon, Dichonw, Eithon (rhan fwyaf ym Maesyfed), Marteg, Cammarch, Dulas, Ainon, Bachwy, Edw, Clettwr, a Chwefri.

*Gwy.* Ystyr flaenaf y gair *wy* yw *tarddiad* neu *rediad allan*, ac yn ail gellir deall *wy* am *ddwfr*. Gwy ydyw yr enw priodol, ond gadewir yr *g* allan weithiau. Mae llawer o afonydd yng Nghymru yn terfynu yn *wy*, megys Con-*wy* (prif afon neu ffrwd); To-*wy* (afon daenedig); El-*wy* (afon soniarus); Llug-*wy* (afon lled dywell); ac hefyd Cydweli neu Cyd*wy*li, Aberg*wy*li, Myn*wy*, On*wy*, G*wy*ach, G*wy*dd, &c. Mae yr Wy yn ddiarebol am ei throadau. Nid oes afon yn Lloegr na Chymru yn gwneyd mwy o droion. Mae yn debyg yn hyn i'r afon Meander yn Asia Leiaf.

> "Meander's amber waves
> In lingering labyrinths creep."

Yn y rhan uchaf o'i chwrs, rhed dros greigiau yn rhaiadrog a gwyllt drochionog, gan gludo pob peth o'i blaen, ond yn y rhan isaf rhed yn dra chwarian, gan ymdroi yn ol a blaen fel pe yn anfoddlawn myned i'r môr.

> "Fields, lawns, hills, valleys, steeples, *caerau*, mounds,
> Meandering waters, waving woods, deep glens,
> And cattle scattered in each distant green;
> The curling smoke from cottages ascends,
> There towers the hill, and there the valley bends."

Gan fod Brycheiniog, fel y dywedasom, yn wlad lawn o fynyddau uchelgrib, a bryniau ban yn ymgodi i entrych awyr las, dolydd gwastadlyfn, cymoedd cafnog, afonydd crisialaidd, nentydd trochionog, creigiau crogedig (weithiau yn guddiedig gan goedydd), a meusydd o lafur melynwawr, mae y teithiwr yn dysgwyl gweled golygfëydd prydferth. Ac ni siomir neb. Nis gall dychymmyg ddysgrifio y wlad. Dyma le am iechyd. Ym mhell o swn torf a chynhwrf dinas, heb fwg afiach y gweithfëydd na dim arall i ammhuro yr awyr; dyma wlad i astudio anian fawr.

> "O Nature, how I love thee! how my soul
> Delights to gaze on thy resplendent form,
> Till like Pygmalion, raptured by the sight,
> And passionately fond. God gives thee life
> In every feature. And thou art not matter,
> But vital essence. In thy streams and hills,
> And vales and mountains, trees, herbs, and flowers,
> And all the living creatures that they hold,
> I see and feel the active soul of heaven."

Yr ydym yn awr mewn gwlad ag sydd yn gyfoethog yng nghofnodion yr hen oesoedd, ac yn fwy cyfoethog

byth yn ei holion daiaregol o greaduriaid a fuont feirw oesoedd maith cyn i un traddodiad dynol gael ei ddechreuad. Mewn papyr a ddarllenwyd o flaen aelodau Cymdeithas Hynafiaethol yn Llanfair ym Muallt rai blynyddau yn ol, mae y geiriau canlynol:—"Y mae yn ammhosibl i'r hanesydd a'r hynafiaethydd grwydro dros fryniau a thrwy ddyffrynoedd Cymru heb adgofio am y genedl ddewr a heriodd y Rhufeiniaid am flynyddau, a orthrechodd y Sacsoniaid gwaedlyd, ac a yrodd lawer brenin Normanaidd agos allan o'i synwyrau o herwydd eu hymdrech dros ryddid."

Drachefn cawn y geiriau hyn:—"The scenery which we have so much admired is due to physical causes, and those forces of nature which through long ages have been at work shaping the mountains and hollowing out the vales. Earthquake and volcanic action; denudation by the action of former seas; denudation by atmospheric and subaërial forces in later times, have all been active in the Builth country."

### Olion Hynafiaethol.

Mewn rhai manau gellir canfod gweddillion y ffyrdd Rhufeinig—Sarn Helen a Via Julia Montana.

1. *Sarn Helen.* Rhed o'r Gaer, ger Aberhonddu, trwy ran orllewinol plwyf Llandyfaelog, a thrwy Merthyr Cynog i'r Cwm, Llanhir. Gwelir hefyd olion ger Dyfynog ac Ystrad Fellte.

2. *Via Julia.* Gwelir rhan o hon yn agos i Rhyd y Briw. Rhed o'r Cwm, Llanhir, trwy Lanfair ar y Bryn i Maridunum (Caerfyrddin).

### Llanfair ym Muallt.

Saif y dref fechan hon mewn man rhamantus, ar ochr ddeheuol yr Wy, o ddeutu dwy filltir is law goferiad yr Irfon, ac o ddeutu pymtheg milltir i'r gogledd o Aberhonddu. Nid yw y lle wedi ei adeiladu yn rheolaidd iawn. Cynnwysa ddwy ystryd, yn rhedeg yn gyfochrog. Y mae yr ystrydoedd yn gulion iawn, yr hyn sydd brawf o hynafiaeth y lle. Yn yr hen amser yr oedd yn llawer mwy o faint nag ydyw yn bresennol. Poblogaeth 1200. Ymwelodd pla mawr â'r lle yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, ac ysgubwyd ymaith luoedd o'r preswylwyr. Fe ddangosir man o'r enw Nant yr Ariau, o ddeutu milltir o'r dref fel y lle yr arferai trigolion y wlad oddi amgylch ddwyn eu nwyddau i'w gwerthu. Telid yr arian trwy eu taflu i ddwfr rhedegog, rhag ofn i'r dynion iach gael eu llygru trwy gyffyrddiad â'r rhai ag oedd yn dyoddef oddi wrth y pla. Ar yr 20ain o Ragfyr, 1691, dinystriwyd rhan fawr o'r dref gan dân. Yr oedd y golled tua 13,000p. Rhoddodd y brenin ganiatâd i'r trigolion fyned o ddeutu i gasglu, er gwneyd y golled i fyny.

*Y Castell.* Y mae yn debyg fod Llanfair ym Muallt yn safle Rufeinig. O ganlyniad yr oedd yma gaer neu gastell yn fore iawn. Mae olion llawer o amgaerau (*entrenchments*) i'w gweled yn y gymmydogaeth. Ar echr ddwyreiniol y dref, ar godiad bychan o dir uwch ben yr Wy, mae gweddillion mur gogleddol hen gastell cadarnwych i'w gweled hyd heddyw. Mae y mur yn drwchus iawn, ac wedi sefyll rhuthriadau ystormydd cannoedd o aeafau, ond nid yw y ceryg yn barhäus iawn. Dengys y ffosydd o ddeutu pa beth oedd dull a maintioli y castell. Yr oedd y *keep* ar fryn bychan, gyferbyn a'r hen bont (is law yr un hardd bresennol). Mesurai o ddeutu cant a hanner o droedfeddi mewn cwmpas. Yr oedd yma ddwbl ffos. Ni wyddis yn gywir pwy adeiladodd y castell. Dywed rhai mai Bernard Newmarch, Arglwydd Buallt, yr hwn oedd yn byw tua'r unfed ganrif ar ddeg. Bernard oedd y Normaniad cyntaf a orchfygodd y dalaeth hon. Priod-

odd â Nest, merch Gruffydd ab Llywelyn. Dywed Syr Richard Colt Hoare yn ei nodiadau yng ngweithiau Giraldus Cambrensis:—"The name of Newmarche appears in the Chartulary of Battel (Battle. ger Hastings) as a witness to one of the charters granted by William the Conqueror to the monks of Battel in Sussex, upon his foundation of their house. He obtained the territory of Brecheinioc by conquest from Bleddyn ab Maenyrch, the Welsh regulus thereof, about the year 1092, soon after his countryman, Robert Fitzhamon, had reduced the county of Glamorgan. He built the present town of Brecknock, where he also founded a priory of Benedictine Monks. According to Leland he was buried in the cloister of the Cathedral Church at Gloucester. though the mutilated remains of an effigy and monument are still ascribed to him in the Priory Church at Brecknock."

Dywed ereill mai ei ganlynydd. Philip de Breos. oedd sylfaenydd y castell. Yn 1221, gwarchaewyd y lle gan Llywelyn ab Iorwerth, ond gorfuwyd ef i gilio yn fuan gan fyddinoedd Henri III. Priododd Reginald de Breos ferch Llywelyn ab Iorwerth, a disgynodd Arglwyddiaeth Builth a thiriogaethau ereill i'w fab, William de Breos, yr hwn oedd yn bleidiwr selog i Henri III., er cymmaint oedd ei dad yng nghyfraith, Llywelyn, yn milwrio yn erbyn y Seison. Yn ystod y rhyfel, cymmerwyd William de Breos yn garcharor gan Llywelyn, ei dad yng nghyfraith. a rhoddwyd Arglwyddiaeth Buallt a swm mawr o arian am ei ryddhâd. Dywed rhai haneswyr i Llywelyn feddiannu y castell hyd ei farwolaeth.

Pan oedd "Llywelyn ein llyw olaf" ar encilio o Aberedwy (fel y traethwn yn ein llith nesaf), ceisiodd gan wŷr B..allt ei gynnorthwyo, ond yr oedd Humphrey de Bôhun a Roger l'Estrange yno mewn awdurdod dan y brenin Edward I., ac yn meddiannu y castell

Ar ol hyn mae cofnodiad fod y castell wedi cael ei roddi yn feddiant i John Giffard, un o lywyddion y fyddin Seisonig

(*I'w barhau.*)

to p. 69 — in 1877

## CAROL NADOLIG.

DEFFROWN! fe ddaeth y dydd,
A hyfryd wawr yn awr o'r nef,
Sain hedd ar ddaiar sydd;
Llawenydd sydd uwch ben:
Doed mawr a mân i draethu'r gân
I wir Eneiniog Nen.
Clywch newyddion yr angylion
Yng nghyd â'r nefol lu:
Unwn ninnau yn y ganiad,
Bore geni'r Ceidwad cu:
Cyfododd Haul Cyfiawnder maith
Ar dir anobaith du.

Yng nghysgod Angeu prudd,
Heb lewyrch dydd na gweled dawn,
Eisteddai dynol ryw,
Eu cyflwr athrist oedd!
Ond draw yn ninas Dafydd lân
Caed testyn cân o hyd:
Darfu, darfu'r tew gysgodau,
Daeth y goleu, dyma'r dydd;
Mewn gwedd isel yn y preseb
Dwyfol Bresennoldeb sydd!
Daeth Crist ei Hun i brynu dyn;
Na fyddwn mwyach brudd.

Gosteged cynhwrf byd,
Gwrandäwn y gân sy'n treiddio'r nen;
Aed tônau'r môr yn fud;
A doed trigolion llawr
I ganu'n awr yn un eu llef
A theulu'r nef ei hun:
Boed anfarwol gerddi moliant
A gogoniant i'n Duw ni,
Gan ddynolion ac angylion
Yn y goruchafion fry,
Un llais, un llef gan lawr a nef,
Am eni'r Ceidwad cu!

DYFNIG.

---

## Y PWNC DWYREINIOL.

DYWEDODD un llywod-ddysgawdwr unwaith, "Yr wyf yn mesur barn y cyhoedd, ac yn gwenu; ond pan yr wyf yn darllen y newyddiadur, yr wyf yn chwerthin allan." Yr ydym ni, y rhai sydd o'r tu allan i'r llen, yn gweled gwenau y llysgenadwyr,

ond nid ydym yn gallu treiddio i mewn i'w dybenion cuddiedig, a'u cytundebau dirgelaidd. Yr ydym yn gwybod fod y galluoedd mawrion wedi cymmeryd y gorchwyl mewn llaw o heddychu y Tyrciaid a'r Serfiaid. Yr ŷm yn gwybod fod Lloegr, Rhwssia, Germani, yr Eidal, ac Awstria wedi cynnyg gwneyd hyn: yr ŷm yn gwybod hefyd iddynt fethu. Y mae rhyw ddylanwadau ar waith ag sydd yn rhwystr ar y ffordd. Nid oes gan Awstria ddim i ennill, ond llawer i golli oddi wrth y tryblith y mae Twrci ynddo yn awr. Os torir i fyny yr Ymherodraeth, dichon y caiff teulu Hopsburg ran y gwas o gig yr iâr; ond pe ychwanegid yr elfen Sclafonaidd, dichon y byddai i hyn chwythu teulu Hopsburg yn ganddryll. Y mae y cwestiwn hwn o'r pwys mwyaf i Germani: ar y cyfan y mae llywodraeth y wlad hòno yn ddifater. Y mae hyn yn annealladwy, o blegid nis gall gael unrhyw beth yn gyfatebol i golli yr afon Danube. Nid yw Ffrainc yn barod i gymmeryd un rhan yn yr ornest: y mae ganddi hi ddigon o waith i wylio ei gelynion Teutonaidd. Nis gall yr Eidal ennill dim pe torai rhyfel allan yfory, canys taflai rhyfel hi yn ol am hanner can mlynedd, dim ond am ymeangiad o'i thiriogaeth tua Tyrol. Dywedir mai amcanion Rhwssia a Lloegr sydd ar y ffordd. Gallwn bron ddywedyd y bydd i ddyfarniad hanesyddiaeth gyhoeddi yn groew nad oedd Lloegr am achosi rhyfel yn Ewrop. Mor bell ag a fyno dynoliaeth â'r cwestiwn, tebyg bod Lloegr a Rhwssia yn un. Yn uniongyrchol nid ydym am bleidio Ymherodraeth Twrci. Y mae y Twrc wedi pardduo ei enw yn barod ar lechres hanesyddiaeth, o herwydd ei greulonderau a'i ormes. Y mae ein holl gydymdeimlad o blaid y Cristionogion; ond dylem, wrth roddi ein cydymdeimlad moesol iddynt, fod yn ofalus nad ydym yn cefnogi uchelgais Rhwssia. Yn awr y mae y pleidiau yn cymmeryd eu hanadl, gan eu bod wedi arwyddo arf-attaliad am chwech wythnos, ar y dealltwriaeth iddo gael ei ohirio am ddeufis arall, os na all y galluoedd gytuno yn y gynnadledd, yr hon sydd i benderfynu yn foddhaol pa fodd y bydd i Serfia gael ei llywodraethu yn ol llaw. Dichon mai arf-attaliad i ryfel o ochr Rhwssia ydyw. Mae un peth yn ddigon amlwg; os tor y rhyfel allan, Rhwssio fydd yn sicr o daro yr ergyd cyntaf.

Mae rhai aelodau seneddol, megys Mr. Bright, Mr. Reed, sir Benfro, &c., wedi dadgan eu barn yn ddifloesgni ei bod yn berffaith gyfreithlawn i Rwssia gymmeryd meddiant o'r Llywodraeth Ottomanaidd — i ddwyn ei milwyr i Dwrci, a honi hawl yng Nghaergystenyn; ac os myn, i ychwanegu ei llongau rhyfel, a chadw llynges ym Môr y Canoldir. Ond ofnwn nad oes un gradd o wladgarwch yn y personau ag sydd yn cyhoeddi hyn; o herwydd nis gall fod lles a ffyniant eu gwlad eu hunain yn agos at eu calonau. Mae wedi ei fynegu gan rai o'n seneddwyr mwyaf manylgraff—dynion y gallwn roi ymddiried yn eu barn—y gwaethygir i raddau pell y fasnach rhyngom ag India pe caniatëid i Rwssia gymmeryd meddiant o Gaergystenyn, am fod y porthladd hwn megys yn agoriad i India; ac y mae yn fwy na thebyg fod Rhwssia yn gwybod hyny yn dda. Ym mhellach, pe caniatëid i Rwssia gymmeryd meddiant o Dwrci, fe fuasai lawer yn fwy nerthol nag un gallu arall yn Ewrop: a'r canlyniad naturiol yn y dyfodol a fyddai, nad gwiw i un o alluoedd ereill Ewrop yngan dim mewn un mater, na sefyll i fyny am eu hiawnderau; canys y mae yn hysbys ddigon mai Llywodraeth ormesol a chyndyn yw eiddo Rhwssia tuag at ei thaleithiau ei hun. Mae gwedi dangos ysbryd barbaraidd a llofruddiog tuag at ei deiliaid ei hun cyn hyn. Mae achos ofni y ceir

gweled Rhwssia yr un fath a Ffrainc yn amser Napoleon Bonaparte, yr hwn y gorfuwyd ei alltudo cyn cael adferiad heddwch i Ewrop.

Nid oes neb a ŵyr ond Rhwssia ei hun beth fydd tynged Twrci. Y mae ei hymddygiad yn ddiweddar tuag at yr olaf yn ddrwgdybus. Pan welodd y fuddugoliaeth yn troi o ochr Twrci, perodd i'r Sultan gyhoeddi arf-attaliad cyn pen wyth awr a deugain. Pa un a fydd iddi godi rhyw gweryl ag a fydd yn debyg o arwain i ryfel, amser yn unig a ddengys. Os yr ä dros derfynau cyfiawnder ac uniondeb, gan beryglu masnach a manteision Prydain, dyna'r adeg i'r wlad hon fynegu pa un a ydym i sefyll i fyny dros ein iawnderau ai peidio.

---

## HANES LLOFRUDDIAD WILLIAM POWELL, YSW., GLANARAETH, SIR GAERFYRDDIN, YN 1770.

(*Parhâd o dudalen* 347.)

ELIZABETH Charles, merch William Charles, a alwyd. Dywedodd Sergeant Jephson ei bod dan oed. Gan ei bod yn gwybod natur llw, derbyniwyd ei thystiolaeth. Dywedodd ei bod yn adnabod William Williams, Llanymddyfri; gwelodd ef yn nhy ei thad ar y dydd Llun y llofruddiwyd Mr. Powell. Daeth yno cyn tori y wawr, a chydag ef Watt Evan y tincer, John Isaac, Dafydd Llewelyn, a D. Morgan y tincer. Yr oedd William Thomas, Morgan James, William Spiggot, William Morris, mab y saddler, a Will Watt Evan yno yn y prydnawn. Yr oedd Evan yno yn y boreu hefyd. Aethant oll allan gyda'r nos, ond nid oedd yn gwybod i ba le. Clywodd rai o honynt yn dywedyd fod ganddynt *writ* ar Mr. Powell. Yr oedd yn credu fod cleddyf gan Williams. Daethant yn ol ym mhen awr a hanner. Yr oedd yn credu fod gwynebau William Williams, Morgan James, Watt y tincer, Dafydd Morgan y tincer, a John Isaac wedi eu duo. Daeth Dafydd Llewelyn yno yn gyntaf, ond nid oedd yn sicr pa un a oedd ei wyneb ef yn ddu. Arosasant yno am gwarter awr. Aeth i'r ystafell unwaith, ond ni ddarfu iddi aros yno. Yr oedd hi yn edrych ar ol y gwartheg a phethau ereill, canys nid oedd gan ei thad ddim un morwyn.

Tystiodd Margaret Jones ei bod yn dygwydd aros yn nhy Mr. Powell ym mis Ionawr. Tua chwech o'r gloch, nos Lun, yr 8fed, yr oedd Mr. Powell yn eistedd yn y parlwr gyda William Rees Bowen, Lewis Summers a'i nai, John Jones. Yr oedd hi yn y gegin. Clywodd guro wrth ddrws y cefn, ac agorodd yr eneth Sarah y drws. Yr oedd sŵn mawr amryw ddynion yno. Heb law hi, yr oedd John Williams, *clerk* Mr. Powell, Dafydd William Owen, John Morgan, a Hugh Eynon. Daeth dyn ym mlaen â chleddyf noeth yn ei law. Cododd John Williams y rhaw i'w daro, a gwaeddodd y dyn, "taniwch;" a gwnawd hyny. Dywedodd un o'r fyntai, "Dewch ym mlaen, fy mechgyn i." Yn lle gwneyd hyny, aethant allan, ac yr oedd hi yn llefain yn y gegin. Rhedodd un o'r dynion oedd gyda hi i'r ardd. Pan ddaeth John Morgan yn ol, daeth y dyn yn ol, a chymmerasant ganwyll, ac aethant i'r parlwr. Yr oedd y drws yng nghauad, a dywedodd, "Y mae arnaf ofn: os yw gwŷr Lan'ddyfri i mewn, fe fydd iddynt ein lladd." Curodd wrth y drws, ond nid oedd dim atebiad. Agorodd y drws, ond yr oedd rhywbeth o'r tu cefn iddo. Cafodd Mr. Powell ar ei gefn ar y llawr â'i wyneb at y drws. Yr oedd ei drwyn a'i hirfys wedi eu tori bron ymaith, ac yr oedd ei *ruffles* hefyd wedi eu tori. Yr oedd gwaed ar ei ddwylaw, ac yr oedd ei ymysgaroedd yn y golwg tua maint het. Gwelodd y

meddyg yn gwnïo amryw glwyfau ar ei fol. Yr oedd Mr. Powell y diwrnod hwnw mewn cot las, gwasgod wen, a llodrau duon. ac yr oedd John Morgan, John Williams, Dafydd William Owen, Hugh Eynon, a'r eneth Sarah yn y parlwr ar y pryd. Yr oedd gwaed ar y wasgod yna cyn iddi gael ei golchi.

Tyngodd John Morgan ei fod yn y gegin pan gyflawnwyd y llofruddiaeth Curodd rhywun wrth y drws. a dywedodd Margaret Jones wrth y ferch. Sarah. am ei agor. a phan wnaeth hyny. rhuthrodd amryw bersonau i mewn yn ddisymmwth. ac aethant tua'r parlwr. Nis gallai weled sawl un oedd yno. na phwy oeddynt. Gwelodd un â chleddyf yn ei law, a dywedodd. "Myn ——, sefwch yn ol." Cymmerodd ef, y tyst. raw o law John Williams, a chadwodd ef yn ol o'r gegin. Dywedodd y dynion. "D ——, taniwch;" ar hyn saethodd Watt Evan. Buont yn y ty o ddwy i dair mynyd. Pan adawsant y ty, aeth John Williams ar eu hol am 20 neu 25 o latheni, a daeth yn ol drachefn i'r gegin Aeth ef a Margaret Jones i'r parlwr. Cafodd Mr Powell ar ei gefn ar y llawr yn anadlu, ond yn analluog i siarad. Yr oedd wedi cael ei archolli yn arswydus Ni ddarfu i'r tyst chwilio ei archollion nes i'r meddyg ddyfod yno

Tystiodd William Bowen, cymmydog i Mr Powell ei fod yno ar yr amser yn eistedd yn y parlwr gyda Lewis Summers a John Jones. Yr oedd y drws yn hanner agored Yr oedd ef yn eistedd â'i gefn at y drws. yr un fath a Mr. Powell, pan glywodd y drws yn cael ei agor. Yr oedd y dyn cyntaf a welodd â'i wyneb wedi ei dduo, a *frock* am dano Arosodd dipyn i edrych arnynt. a cheisiodd fyned yn ol cyn i Mr. Powell ei weled, ond gwthiodd amryw ereill ef i mewn. Pan welodd Mr. Powell hwynt. rhedodd i gornel y parlwr, o gwaeddodd, "O Dduw, O Dduw!" Ceisiodd yr un ddaeth mewn gyntaf roddi ei freichiau am wddf Mr. Powell. Ceisiodd y tyst ddianc allan, ac ni wyddai beth gymmerodd le ar ol hyn. Nis gallai ddywedyd pa sawl un aeth heibio iddo wrth fyned allan. Wrth geisio dianc, gwthiwyd ef yn ol, a tharawyd ef â rhyw offeryn, a chlwyfwyd ei wyneb, a cheisiodd y dyn ei drywanu. Ni welodd mo'u gwynebau, ac nid oedd yn cofio am eu dillad. Pasiodd pump neu chwech o honynt yn y fynedfa; ac wrth ddrws y cefn, tarawodd un. a chwympodd arno. ac aeth nai Mr. Powell drostynt ill dau. Clywodd ergyd o lawddryll, ac aeth ymaith, a dychwelodd gydag un arall.

Tystiodd Mr. William Protheroe, meddyg, iddynt anfon am dano tua saith o'r gloch yn yr hwyr i fyned i Glanaraeth i weled Mr. Powell. Cafodd ef yn ei eistedd wrth y drws, yn cael ei ddal gan ddyn arall. Nid oedd un arwydd o fywyd ynddo. Yr oedd ei drwyn wedi cael ei dori, a'i fys bron cael ei dori ymaith. Wedi iddo agor ei wasgod, gwelodd glwyf mawr a hir naill ochr i'w fogail, lle yr oedd tri chlwyf arall. Yr oeddynt oll o'r un faint, oddi gerth y clwyf ar yr ochr chwith i'w fogail. Cafodd ddeuddeg clwyf ar y corff. Mor belled ag oedd ef yn gwybod, yr oedd saith o honynt yn farwol. Cafodd ffon-ddagr yn y parlwr, yr hon oedd ger eu-bron, a gwaed arni, a *hat* a *wig* a adawyd ar ol. Ni chafodd y tyst ei groesholi.

Dafydd Bowen oedd y nesaf. Tystiodd iddo fyned i dy Mr. Powell dranoeth. Er cael allan y llofruddion, darfu iddynt ganlyn ol traed amryw bersonau trwy'r eira, a gwaed yr holl ffordd, llawer o hono mewn manau o fewn ugain llath i dy Charles Dafydd Morgan. Yr oedd yr ymchwilwyr yn dri ar ddeg mewn nifer, ac yn eu plith yr oedd Mr. Pogson. Ni chroesholwyd y tyst. Tystiodd Mr. William Pogson ei fod yn Glanaraeth

ar y 9fed o'r mis, y diwrnod ar ol y llofruddiaeth. Yr oedd llawer o eira ar y llawr. Canlynodd ol traed o dy Mr. Powell i dy Charles Dafydd Morgan. Gwelodd waed ar yr eira tua chwech llath oddi wrth berth yr ardd; ac wedi myned dros y berth, gwelodd ol traed yn myned a dyfod o dy Mr. Powell. Dymunodd arnynt oll gadw o'r ol traed nes iddynt eu mesur; wedi mesur amryw, gwelodd un yn fwy hynod na'r cyffredin, yr hon a brofwyd o flaen y crowner oedd eiddo Charles Dafydd Morgan. Yr oedd pump o hoelion mawrion o'r tu allan i'r sodlau. Yr oedd ol troed arall daclus iawn, nid yn debyg i ol troed ffermwr. Mesurodd hi, ac adnabyddodd mai troed Williams oedd, a dywedodd hyn wrth Dr. Edwards. Yr oedd ef a William Williams yng Nghaerfyrddin, a dangosodd yr olaf ei esgidiau iddo, y rhai oedd wedi cael eu gwneyd gan y crefftwyr goreu yn Llundain, wedi cael eu gwneyd â'r un *last* ag esgidiau brenin Denmarc. Cymmerodd hyn le yn amser Brawdlys Awst. Cymmerodd ofal i fesur esgidiau pob un o'r carcharorion pan gymmerwyd hwy. Yr oedd esgidiau C. D. Morgan yn ateb i'r dim mewn hyd a lled, a'r hoelion hefyd, ond nid oedd un o'r esgidiau ereill yn ateb. Wrth ei groesholi, dywedodd iddo weled ol traed a gwaed o fewn deuddeg neu bymtheg llath o'r tu allan i'r ardd. Gofynodd Charles D. Morgan i'r tyst, "Pa le y gwelsoch chwi y gwaed gyntaf?" "Yn y cae wath gefn ty Mr. Powell."

Tystiodd y Parch. M. Lewis iddo, ar ol clywed am lofruddiaeth Mr. Powell, fyned i gynnorthwyo i ddal y llofruddion, ac yr oedd yn bresennol pan gymmerwyd Dafydd Llewelyn. Pan oeddynt yn myned ag ef o flaen yr ynad, gwaeddodd y bobl, "Y mae Dafydd Llewelyn wedi cyffesu." Dywedodd Llewelyn wrtho iddynt fyned o'r *New Bear*, Llanymddyfri, i dy Charles Dafydd Morgan, ac iddynt fyned i dy Mr. Powell, ac i Williams ei wthio i mewn i'r parlwr, ac na wnaeth ef ddim ond cydio yn Mr. Powell, a dal cyllell yn ei law, a phan ddaeth ereill i mewn, diangodd ef allan, ac iddo ymguddio wrth gefn y drws. Pan ymadawodd y lleill, aeth ar eu hol, a daliodd hwy wrth Llain y Pwll; ac yr oedd ef allan o wynt. Curasant ef am nas gallai gadw ei wynt, a beiwyd ef am beidio gwneyd ei ddyledswydd. Gofynodd i Morgan beth oedd yr achos iddo ymyraeth. Dywedodd ei fod yn ddeiliad i Williams, ac yr oedd ofn arno y buasai iddo ei ladd. Dywedodd Morgan wrth y tyst droion na wnaeth ef ddim i Mr. Powell. Gofynodd i Morgan faint o arian a dderbyniodd. Atebodd, "Dau swllt a phar o esgidiau."

Mewn amddiffyniad, dywedodd William Spiggot na fu un llaw ganddo ef yn y llofruddiaeth. Gofynodd Williams iddo am ei helpu trwy *writ* i ddal Mr. Powell, a bod yn rhaid iddo gael chwech i'w ddal, o blegid y buasai ef yn sicr o ladd dau neu dri. Dywedodd wrth Williams nas gallai gydsynied â'i gas, o blegid fod Mr. Powell yn ddyn nad oedd ef am ei ddigio. Yr oedd ef allan yn pysgota yn hwyr, a phan aeth ef i dy Charles Dafydd Morgan, yr oeddynt yn cychwyn tua thy Mr. Powell i'w ddal. Yr oedd gan rai lawddrylliau, drylliau, a chleddyfau. Safodd y carcharor wrth yr ysgubor, gydag un arall, pan aethant i mewn. Daeth Williams ac ereill yn ol maes o law, a gofynodd William Spiggot a welodd ef Mr. Powell. "Do," meddai Williams, "cymmerais ef, ac mi heriaf yr holl feddygon." Dywedodd iddo ef ac un arall drywanu Mr. Powell, ac ni feiddiai neb ei alw i gyfrif. Deallodd fod Mr. Powell wedi cael ei ladd. Dymunodd ar y barnwr am ystyried ei achos ef. Pan ofynwyd i John Spiggot beth oedd ganddo ef i'w ddywedyd, atebodd i Williams giniawa yn nhy ei feistr dydd Sul

cyn y llofruddiaeth. Yr oedd ar y carcharor ofn Williams, canys curodd ef ddau neu dri diwrnod cyn hyny am beidio gwasanaethu Mr. Powell â *writ*. Gofynodd drachefn iddo nos Sul am ei helpu i gymmeryd Mr. Powell, a dywedodd nas gallai. Ar ol ciniaw, dywedodd wrth ei feistr fod eisieu arno fyned i siop y gof. Pan oedd ef yn ymyl Glanaraeth, cyfarfu â'r dynion hyn wedi duo eu gwynebau. Gofynodd iddynt pa ham y darfu iddynt wneyd hyn. Atebasant nas gallent wneyd eu gwaith heb ymddyeithrio. Yr oedd ef yn credu eu bod yn myned i ddal Mr. Powell. Pan oeddynt yn dyfod yn ol, dywedodd Williams iddynt orphen Powell, ac os gwnai ef gilio y lladdai ef yn y fan. Rhoddodd Williams gini i dri o honynt, ac arian i'r lleill. Dywedodd Williams os nad elai ef gyda hwynt i Lanymddyfri, y buasai iddynt ei ladd. Dywedodd William Morris ei fod yn eistedd wrth y tân dydd Sul, a'r Llyfr Gweddi yn ei law pan anfonwyd am dano i'r *New Bear*. Gofynodd Williams iddo am ei gynnorthwyo i ddal dyn oedd yn ei ddyled, a dywedodd fod yn rhaid iddo fyned o'r dref dranoeth, a'i bod yn rhaid iddo yntau ddyfod hefyd. Aeth William Morris i bysgota dranoeth, a galwodd yn nhy Charles Dafydd Morgan i'w gweled. Yr oedd rhai â'u gwynebau wedi eu duo. Dywedodd Williams bod cyfraith rhyngddo ef â Powell, a'i fod wedi rhoddi *bond* am 500p. Dywedodd nas gallai fyned am ei fod wedi bod yn pysgota trwy'r dydd, a bod ei draed yn wlyb. Safodd y carcharor ar ol. Daeth Williams yn ol, a bygythiodd ef, a dywedodd y buasai iddo ladd Powell, a rhoddodd gini yr un i'r tinceriaid. Dywedodd William Thomas i Williams anfon Dafydd Morgan i'w gyrchu i'r *New Bear* dydd Sul. Dywedodd Williams wrtho fod yn rhaid iddo fyned â *writ* i gymmeryd Powell. Dywedodd yntau ei bod hi yn ddydd Sul. Tyngodd Williams y buasai iddo ei faeddu os nad elai. Aethant tua deg o'r gloch tua thy Morgan, a chyrhaeddasant yno am un o'r gloch yn y boreu. Aeth tri i'r gwely, a phan godasant, dywedodd Williams fod yn rhaid iddynt fod yn ffyddlawn, a gwneyd y *job* y noswaith hòno. Pan aethant hwy i mewn, safodd ef ar ol. Ar ol dyfod yn ol, aeth y pump i Llwyn y Bendu, a churodd Williams ef nes oedd yn ddu ac yn las am beidio myned i'r ty. Ar ol hyn, aethant i dy Charles Dafydd Morgan. Aeth y carcharor a John Spiggot i ystafell ar ben eu hunain i lefain. Rhoddodd Williams ychydig sylltau i Llewelyn, a gini yr un i'r tinceriaid a'r pedler. Dywedodd Dafydd Morgan nad oedd ganddo un llaw yn y llofruddiaeth, ond i Williams anfon am dano i'r *New Bear*, a cheisio ganddo fyned i gymmeryd Mr. Powell. Talodd Williams am eu bwyd a'u diod. Nid oedd gan Dafydd Llewelyn ddim i ddywedyd yn fwy nag a ddywedodd Mr. Lewis.

(*I'w barhau.*)

## BUGEILIAID Y BANAU.

*Iwan.* Y mae y gwr drwg wedi meddiannu Toriaid sir Aberteifi yn siwr ddigon. Yn 1869, cymmerodd erlidigaeth chwerw le yno; tröwyd llawer o amaethyddwyr cyfrifol allan o'u ffermydd am bleidleisio fel yr oedd eu cydwybodau yn eu cyfarwyddo; ac mae erlidigaeth newydd wedi tori allan yno yn awr. Y brawd dysgedig, y *Reverend* William Thomas, gweinidog Undodaidd Llwynrhydowen, sydd yn y pair, ac yr ydym ni yn cydymdeimlo yn ddwys ag ef a'i gynnulleidfa.

*Hywel.* Mae yn ffaith anwadadwy eich bod chwi fel enwadau yn casäu Sosiniaeth a Sosiniaid; yr ydych yn edrych arnynt fel cyfeiliorwyr digred: Pan ofynodd gwas yr *auctioneer* hwnw o Lanbedr pa fodd yr oedd myned i dd—l, "Dos i gapel yr Undodiad,"

oedd yr ateb, "a thi a fyddi ar ben dy siwrnau." Ar ol y cyfan yr ydych yn teimlo yn rhyfedd dros frodyr parchus Llwynrhydowen.

*Gwilym.* Fe losgwyd. Michael Servetus gan John Calvin am ei fod yn Sosin, a gwnai llawer yr un peth heddyw pe bai yr awdurdod yn eu llaw, er eich bod yn cynffonloni yn achlysurol ar y naill y llall, ac yn cydymdeimlo â'ch gilydd; gosod eich gilydd i fyny fel merthyron ar *small scale,* fel ag a wnaethpwyd yn amser y merthyron Cymreig ar ol lecsiwn 1868. Nid oes ond ychydig fisoedd er pan ymosodwyd yn farbaraidd ar y brawd John Davies, Alltyplaca, pan y bu mor anturiaethus a chynnyg darlithio ar ochr yr Undodiaid yn nhref Llanelli: bu achos iddo ffoi am ei fywyd, cymmaint oedd brawdgarwch Rhyddfrydwyr y dref oleu hòno. Eto, rhaid credu eich bod yn teimlo yn rhyfedd dros weinidog Undodaidd Llwynrhydowen a'i gynnulleidfa. Yr wyf fi yn barnu fod rhyw hawl gan feistr tir ar ei eiddo ei hun.

*Dewi.* Nid oes gan un Tori na thirfeddianwr hawl i gau capelaid o bobl allan o'u capel ar foreu Sul, a'u gyru i addoli yn ochr y clawdd. Y mae yn afresymol, yn greulawn, yn Bashi-Bazoukaidd.

*Hywel.* Cauwyd capel Llwynrhydowen trwy orchymmyn *agent* Allt yr Odyn. Y mae yn debyg nad oedd yno lawer o grïo a thywallt dagrau ar yr achlysur, fel y cyhoeddwyd yn y papyrau: nid yw gwŷr Llwynrhydowen yn hynod am eu tynerwch.

*Dewi.* Yr wyt ti yn siarad yn ddideimlad am bobl sydd yn cael eu herlid am eu hegwyddorion gan ormeswyr Torïaidd ac eglwysyddol, fel *esquire* Gallt yr Odyn.

*Hywel.* Nid wyf yn gwybod dim mwy am *esquire* Gallt yr Odyn na'r dyn yn y lleuad, nac am ei egwyddorion politicaidd; ond y mae yn debyg fod pregethwr Llwynrhydowen wedi cael ei feddiannu gan ysbryd pregethwrol yr oes, sef ysbryd politicaidd hanner crefyddol. Mae ef yn arfer eu hieuo yng nghyd, ac nid yw yn gadael un cyfle i fyned heibio heb ollwng cawellaid o saethau at bercheuog Gallt yr Odyn, yr hwn sydd yn barnu yn wahanol iddo ef. "Y gwelltyn olaf a dyr gefn y camel." Penderfynodd *agent* Gallt yr Odyn ymaflyd ym marf y llew yn ei ffau, ac mae wedi cael ei wahardd rhag pregethu *politics* yn Llwynrhydowen mwyach; gan fod y capel wedi ei rentu iddynt er mwyn "addoliad dwyfol yn unig." Ef allai mai nid peth doeth oedd cau y capel ar unwaith, am nad oedd ond tair blwyddyn i derfynu y *lease;* ond torwyd yr ammod gan ddeiliaid y capel, a safodd yr *agent* yn unig ar iawnderau ei feistr.

*Gwilym. Sarve him right;* nid oes gan un gweinidog yr Efengyl un hawl i fusnesau, ac ymrwbio, a bolaheulo mewn politiciaeth wyllt yr oes. Tangnefyddwyr mae'r nefoedd yn anfon o amgylch, ac nid ffaglwyr. "Ffagler, ffagler," yw iaith llawer pulpud a *platform* yn awr, a gwneyd dynion i ymladd, ymdaeru, cecru, a'r cwbl dan gochl crefydd.

*Dewi.* Nid oes achos gan Eglwys Loegr i feio neb, o blegid y mae y ffraeon a'r cweryla sydd rhwng yr uchel a'r isel Egwlwyswyr yn ddiarebol ym mhob man. Yr ydym ni fel enwadau yn wahanol i hyn; mae ein gweinidogion ni yn arwain eu praidd i mewn ac allan, i feusydd moes a rhinwedd, ac yn byw yn dawel dan eu holewwydden eu hunain.

*Gwilym.* Y mae dy gof di yn gwaethygu, Dewi, neu ni fyni gofio. Beth am yr holl ymraniadau sydd wedi bod—sism o sism, hollt o hollt? Capeli *split* yw y rhan fwyaf o gapeli Merthyr heddyw.

*Iwan.* Yr wyf yn taflu yr haeriad yna yn ol gyda dirmyg; anwiredd bob gair.

*Gwilym.* Gan dy fod yn fy ammheu, dos at Jones o'r Plas Uchaf, a gofyn

iddo ddarllen *Hanes Merthyr* gan Wilkins. Y mae ymrafael ar droed mewn capel i lawr yng Nghwm Taf, lle yr oedd haid o wenyn gwirion yn byw; ond mae piccwn wedi myned i'w plith, ac maent yn ceisio troi yr hen bobl allan; ac mae y *mortgagees* yn bygwth gwerthu y capel oni fydd i'r arian gael eu talu cyn y Calan. Os na ddaw rhywun ym mlaen ni gawn *eviction* arall tua'r gwyliau yma. "Cythraul ymraniad eglwysig," chwedl Mr. Morris, Soar, Llandyfaen, sydd wedi peri hyn.

*Gruffydd.* Gwilym, garw na ddywedet ti air yng nghlustiau yr offeiriaid yna am feindio busnes eu hunain yn lle gosod eu bysedd ym mhob pastai a gweithio dan law.

*Hywel.* Ym mha le?

*Dewi.* Ym mhlwyf Gelligaer, yn ol hanes cyfarfod Bwrdd Ysgol y plwyf hwnw.

*Gruffydd.* Gadëwch i ni newid yr ymadrodd; gadëwch i ni gael tipyn o *bolitics.*

*Dewi.* Ho! ho! wyt ti, Gruffydd, wedi troi yn *bolitician?* Mae arnaf ofn mai *politician* glasdwraidd wyt ti, math o Sion bob ochr.

*Gruffydd.* Pe baet ti a'th gyfeillion yn ymdrafod llai â pholitics, byddai yn well i chwi.

*Iwan.* Y cwestiwn yw, beth sydd i fod mewn perthynas i Fesur y Claddfëydd; y mae hwn yn gwestiwn ag sydd yn parhau i losgi. Ni bia y mynwentydd, ac ni ddylem eu cael.

*Gwilym.* Onid yw yn wirionedd noeth fod y rhan fawr o'r mynwentydd wedi cael eu helaethu yn ddiweddar, a rhoddwyd y tir i'r perwyl gan dirfeddiannwyr. A oes gan unrhyw ddyn hawl i ddywedyd mai eiddo y plwyfolion yw y tiroedd hyn. Nid oes gan y cyhoedd ddim mwy o hawl ynddynt nag sydd gan Jones y person ym mynwent capel Salem.

*Gruffydd.* Nid oeddwn i wedi meddwl am hyn o'r blaen, y mae rheswm yn y peth hefyd.

*Dewi.* Nid ydym ni am gael Gwasanaeth Eglwys Lloegr o gwbl, ac y mae y Wladwriaeth yn unol ar y pen hwn.

*Hywel.* Yr wyf yn gwybod yn amgen; nid oes gan yr Ymneillduwyr ddim un gwrthwynebiad i Wasanaeth yr Eglwys; ac y mae yn well gan lawer gael Gwasanaeth ardderchog y Gladdedigaeth na ffregodau difyfyr a draddodir yn aml mewn angladdau.

*Iwan.* Y mae yn gas genyf glywed ffurfwasanaeth yr Eglwys; Pabyddiaeth rhonc yw yr oll.

*Gwilym.* Yr un hen 'stori; nid oes dim un o naw o'r rhai sydd yn condemnio ffurfwasanaeth Eglwys Lloegr wedi ei darllen erioed. Y maent yn pino eu credoau, ac yn ffurfio eu barnau, ac yn saernïo eu hopiniynau yn unol ag eiddo eu harweinwyr deillion, culfarn. "Dall yn arwain y dall." Nid oedd Robert Hall, Howel Harries, Rowlands Llangeitho, Williams Pantycelyn, ac Elïas enwog o Fon, yn condemnio y Gwasanaeth fel y gwneir gan ddynion tair modfedd ein hoes ni.

*Dewi.* Nid oes dim bywyd yn Eglwys Lloegr: nid oes yno ddim "bwyd enaid," fel byddai Tomos y gwëydd yn arfer dywedyd. Y mae llawer o'r offeiriaid yn darllen yn oeraidd a diflas.

*Hywel.* Os oes ambell i offeiriad yn myned trwy y Gwasanaeth yn ddifater, ac yn meddwl mwy am y bregeth na'r gweddïo, nid ar y Gwasanaeth mae y bai. Cyn y gall dyn fwynhau y Gwasanaeth, y mae yn rhaid iddo fyned i ysbryd y Gwasanaeth.

*Iwan.* Y mae yr amser i weddïo o lyfr, a phregethu o bapyr wedi myned heibio.

*Gwilym.* Y mae eich pregethwyr ieuainc chwi yn hoff o ddarllen eu pregethau. Mi glywais fod y Parch. David Charles yn darllen eu bregethau.

*Gruffydd.* Mi garwn ni yn fawr i ryw ffurfwasanaeth gael ei gyfan-

soddi i wneyd y bechgyn a'r merched gwammal yma sydd yn mynychu ein capeli dipyn mwy difrifol a sobr eu hagwedd. Y mae lle i ofni fod mwy o ysgafnder a choegni yn ein cynnulleidfaoedd yn awr nag a fu erioed. Y mae yn rhaid i mi addef fod y gwasanaeth yn cael ei gario ym mlaen yn fwy gweddaidd a defosiynol yn yr Eglwysi nag yn ein cyrddau ni

*Dewi.* Yr wyt ti yn perthyn i ddosbarth yr hen bobl.

*Gruffydd.* Yr wyf yn ffodus yn hyn, fy mod yn perthyn i ddosbarth ag sydd wedi cefnu ar bethau amser; dynion a wnaethant les mawr yn eu dydd. Eu prif amcan hwy oedd pregethu Crist i'r bobl, ac nid ymgroesi, eiddigeddu, a siarad yn isel am eu cyd-Gristionogion.

---

## Adolygiad y Wasg.

THE TRINITY OF MAN, *showing the consistency of Free Will with the Grace of God. By Thomas Boys. Llundain: J. Parker.*

Pwnc dwfn, pwnc anhawdd ei drin, ïe pwnc dyrys iawn yw prif bwnc y llyfr hwn; ac fel y rhan fwyaf o ysgrifenwyr sydd wedi ei ragflaenu yn y gorchwyl y mae wedi anturio i'w gyflawnu, nid yw'r awdwr wedi taflu llawer o oleuni arno. Yn wir, y mae yn eglur nad ydyw yn amgyffred yn iawn ystyr yr ymadrodd, "rhyddid yr ewyllys;" ac felly y mae ei resymiadau ar yr anhawsdra o'i gyssoni â phriodoleddau Duw, fel y dadguddir hwynt yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd, yn wan ac aneffeithiol. Byddai yn fuddiol iddo sylwi ar ateb a roddwyd i haeriad Esgob Bramhall, bod "athrawiaeth yr ewyllys rydd yn gred holl ddynolryw, yr hon nad ydym wedi ddysgu oddi wrth ein hathrawon, ond ei bod wedi ei hargraffu ar ein calonau gan natur:" sef hyn, "Y mae yn wir mai ychydig iawn sydd wedi dysgu oddi wrth athrawon nad yw dyn yn rhydd i ewyllysio, ac nad ydynt yn cael llawer o hono mewn llyfrau. Yr hyn a gânt mewn llyfrau, yr hyn a gân y prydyddion yn y chwareudai, a'r bugeiliaid ar y mynyddoedd; yr hyn a ddysg y pregethwyr yn yr Eglwysi, a'r doctoriaid yn y prifysgolion; yr hyn y mae y werin yn y marchnadoedd a holl ddynolryw trwy yr holl fyd yn ganiatäu, yw yr hyn yr wyf finnau yn cydsynied ynddo; sef bod gan ddyn ryddid i wneyd os ydyw yn ewyllysio: ond os oes ganddo ryddid i ewyllysio, sydd bwnc na feddyliodd yr esgob na hwythau am dano erioed. Byddai top pren a lachir gan y bechgyn, yn rhedeg yma ac acw, yn erbyn y naill wal a'r llall, yn awr yn troelli, ac yn y man yn taro dynion ar eu coesau, pe bai yn ymwybodol o'i symmudiadau, yn meddwl eu bod yn deilliaw o'i ewyllys ei hunan pe na theimlai y careion a fyddent yn ei lachio. Ac a yw dyn yn ddoethach pan yn rhedeg i'r naill le am fywoliaeth, ac i'r llall am fargen, yn blino'r byd wrth ysgrifenu ei gamdybiau ac yn ceisio atebion, am ei fod yn meddwl ei fod yn gwneuthur felly heb unrhyw achos ond ei ewyllys ei hunan, ac heb weled beth yw'r llachiadau sydd yn creu yr ewyllys hyny?" Cyfaddefir ar bob ochr fod gan ddyn allu i wneyd os ydyw yn ewyllysio; ond dyweyd bod ganddo allu neu ryddid i ewyllysio os ydyw yn ewyllysio sydd ymadrodd ffol a disynwyr.

Y mae amcan yr awdwr yn dda, ond y mae wedi ymaflyd mewn peth ag sydd ym mhell uwch law ei allu. Y gwir yw bod yr anhawsdra yng nghylch yr ateboldeb y mae dyn yn sicr argyhoeddedig am dano, a rhagluniaeth Duw neu ddeddfau natur, yn gyssylltedig â phob cyfundrefn o grefydd ac athroniaeth hefyd. Yr unig esboniad a all foddloni'r meddwl yw yr hyn a geir yng ngeiriau Sant Paul, ac nid oes eisieu arnom un arall: "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwil-

iadwy yw ei farnau Ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!"

Cynnwysa ail ran y gwaith ddeugain o ofyniadau ac atebion, y rhai sydd yn llenwi mwy na hanner y llyfr. Maent oll yn brofiadol ac ymarferol yn ei natur, ac yn dangos bod meddwl yr awdwr wedi bod yn myfyrio er lles ar bethau crefyddol dros amser maith.

---

## Congl y Cymreig.

### GWEHELYTH Y DIWEDDAR J. JOHNES, YSW., DOLAU COTHI.

(*Parhâd o dudal.* 366.)

Y mab henaf o Mari Pughe oedd Thomas Johnes, yr hwn a ganlynodd ei dad yn Dolau Cothi, a briododd Elizabeth, merch ac aeres Thomas Lloyd o Lanfair Clydogau, a chafodd,

1. Thomas Johnes, Ysw.

2. James Johnes, Dolau Cothi, yr hwn a briododd Cornelia, merch William Lloyd, Llanllyr, o'r hon y cafodd fab, Thomas Johnes o Dolau Cothi a Phenybont, yr hwn yn ol llaw a etifeddodd yr ystâd, &c.

1. Eliza, yr hon a briododd ei pherthynas, Richard Jones o Abermâd, mab ac etifedd i John Jones, Abermâd, ac Anne, merch Howel Gwynne, Glanbrân, Ysw., a chafodd fab, James Jones, Abermâd. Terfynodd y gangen hon gyda'i mab, Thomas Jones.

2. Anne, yr hon a briododd Morgan Lloyd o Llwyd Jac.

Y mab henaf, Thomas Johnes o Lanfair Clydogau, Uchel Sirydd Aberteifi, 1705, a briododd Anne, merch David Lloyd o Crynfryn, Ysw. Cafodd ddwy ferch, Grace, gwraig Lewes Vaughan, Ysw., ac Elizabeth, gwraig Gwyn Williams, Penybont, a'i olynydd, Thomas Johnes o Lanfair Clydogau, Arglwydd Raglaw, ac Aelod Seneddol dros sir Aberteifi o 1713 i 1722. Ei wraig gyntaf oedd Jane, merch ac aeres William Herbert, Hafod Ychtryd, yr hon a fu farw yn ddiblant. Ei ail wraig oedd Blanche, merch David Vaughan o Llanwern, Ysw., yr hon a fu farw yn ddiblant, 1733. Gadawodd yn ei ewyllys, dyddiedig Mai 28, 1733, ei ystâd i'w gefnder.

Thomas Johnes o Dolau Cothi a Phenybont, a briododd Mary Anne, merch ac aeres Jeremïah Powell, Ysw., o Curumele, sir Faesyfed, a chafodd blant,—

1. Thomas Johnes o Lanfair Clydogau a Croft Castle, sir Faesyfed, A.S. dros y sir, a briododd Elizabeth, merch Richard Knight, Croft Castle, a'i wraig Elizabeth, merch Samuel Powell, Ysw., a chafodd Thomas Johnes o Hafod Ychtryd, A.S. dros Aberteifi, 1774. Deisebodd Syr Robert Smith yn ei erbyn, ond cafwyd allan iddo gael ei ethol yn ddyladwy fel A S. dros sir Faesyfed yn 1780, 1784, 1790, a thros sir Aberteifi yn 1796, 1802, 1806, 1807, ac yn 1812 bu yn Arglwydd Raglaw dros yr un sir. Ei wraig gyntaf oedd Maria Burgh o sir Fynwy, a'i ail wraig oedd Jane, merch John Johnes, Dolau Cothi. Bu farw yn ddiblant Ebrill 23ydd, 1816. Bu ei unig ferch, Maria Anne, farw o'i flaen.

Y Parch. Samuel Johnes, yr hwn a gymmerodd yr enw "*Knight*," periglor Walwyn, Herts. Priododd ei ferch Louisa â Syr John Shelley, ac Elizabeth â John Hanbury Williams, Ysw.

2. John Johnes.

1. Elizabeth a briododd John Lewis, Ysw.

2. Mary Anne a briododd John Hughes, Ysw., Ty Mawr.

3. Grace a fu farw yn ddiblant.

4. Catherine, gwraig George Lewis o Barnsfield, Ysw.

Yr ail fab, John Johnes, Ysw., Dolau Cothi, a briododd Jane, merch Hector Rees, Cwrt Penbre, a chafodd,

1. John, ei etifedd.

2. Jane, gwraig Thomas Johnes o Hafod Ychtryd.

3. Mary Anne a briododd yn gyntaf y Parch. John Lloyd, Bru-

nant; yn ail â John Phillips, Ysw., Llandeilo.

4. Elizabeth.

5. Charlotte, a fu farw yn ddibriod. Bu Mr. Johnes farw yn 1781, a chanlynwyd ef gan ei fab, John Johnes o Dolau Cothi, Ysw., yr hwn a briododd Elizabeth, merch John Bowen, Ysw, Maes Llanwrthiol, a chawsant—

1. John Johnes.

2. Elizabeth a briododd William Bonville, Ysw., Bryn Tywy.

3. Jane, gwraig y Cadben James Beck.

4. Mary Anne, gwraig Walter Lloyd, Ysw., Caerfyrddin.

John Johnes, Ysw., Barnwr y Llysoedd Sirol, Cofiadur Caerfyrddin. Cadeirydd Cwarter Sessiwn y sir, D.Ll.D., Y.H., D.L, &c., a briododd Elizabeth, merch y Parch. John Edwards o Gileston, yr hon a fu farw yn 1848.

1. John Frederick a fu farw yn ei fabandod. 2. Charlotte Anna Maria a briododd Charles Corsar Cookman, Monast House, Wexford. 3. Elizabeth.

Mr. Johnes oedd yr olaf o'r llinell wrywaidd o'r teulu enwog hwn. Fe wel y darllenydd nad oedd dim un sail i'r hyn a gyhoeddwyd yn y papyrau fod Mr. Johnes yn ŵyr i Mr. Powell, Glanaraeth. Nid oedd dim un cyssylltiad rhyngddynt—dim mwy nag â'r hil ddynol yn gyffredin.

GIRALDUS.

---

## CYWYDD Y FFANATICIAID.

*Yng nghylch y flwyddyn* 1645 (*ond odid*) *y cânt Edward Dafydd o Fargam hyn o Gywydd—Cywydd y Ffanaticiaid.*

(Cywydd Cwyn Eglwys Loegr, a sen i'r Ailfedyddwyr a'r Iddewon difedydd).

Y MAE'N awr yma'n irad,
Chwithigrwydd mawr ar glawr gwlad,
Efrau ar gynnydd hyfryd
Ym mhlith y gwenith i gyd;
Aeth crefydd o waith cryfweilch
I rwydau bâr dan draed beilch;
Aeth y byd yn boeth ei ben,
Yn dryffwyl oll bendraphen;
Aeth yr Eglwys wiwlwys wâr,
O Dduw! oddi ar y ddaiar;
Aeth pawb ar ol rhyw ffoliaid,
Aeth y gwir o dir ei daid,
Aeth y gras, mae'n waith gresyn,
I bydew hyll o'r byd hyn;
Aeth ynfydrwydd ar lwyddiant,
Aeth pob call ar ball i bant.
Ein Eglwys a fu'n eglur
Yn galw pawb i'r goleu pur,
A soddodd—nid oes iddi
Glod yn awr yn ein gwlad ni;
Torwyd ei phen, trow'd ei pharch
Ymaith, a'i rhoi dan ammharch;
Caed o'r baw au athrawon
Baw-lin hyll yn blino hon,
Yn dysgu rhyw frad asgen,
Athrawiaeth twyll, nid pwyll pen:
Yn lle'r gwir a'i gywir gais,
Ymaelyd y mae malais;
Ofer grefydd rhydd y rhed,
A'i fin ym mlaen wrth fyned,
Ac anffod ar y gynffordd
Yn ffest yn ei harwain i'w ffordd;
Gwyddones hagr, hen Ragrith,
Wŷr da, sy fal pla'n ein plith;
Mae marchogion hon o hyd
I'w deall yn wŷr diwyd,
Yn arwain cad drwy'r wlad lân,
O weflog filwyr aflan;
A'u llwyr gais, dyna drais drwg,
Yw ymladd â'r gwir amlwg;
Yn troi'u gwlad â'u brad o'r bron,
O Dduw! yn wlad Iddewon;
Llygru cred, gwardd y Bedydd,
Newid yn ffol nodau'n ffydd,
Ac enwi'r plant, cant fel cŵn,
'N ddig'wilydd beunydd gwelwn.
Cynta' mab crog enwog yw,
Yn hudol, a'u pen ydyw
*Wiliam Erbri* lwm oerbryd
Yn troi'r gwir o'n tir i gyd;
Iddew penwag neu bagan
Dyla' rôg a Diawl o'i ran;
A chydag ef gad gref gron
O ffolsyth dreiswyr ffeilsion.
Un hylaw, deheulaw hwn,
Yw'r Bastard Coch o'r Bistwn;
*Hopcin*, mae'n hawdd ei hepcor,
Iuddew dig yn chwyddo'i dor,
A'r hen *Wroth*, dan drwyn-rythu,
Hen foncath, ei fath ni fu.
Un arall o'r blaenoriaid,
A'i ben yn berwi'n ddi baid,
Cnyw ofer hyll, cnaf a rhôg,
Ar y crwydr, *Walter Cradog.*
*Siencyn Sion*, un o honynt,
Aml grog o'i daid a gaid gynt.
Mae'r twrch glew, *Hywel Lewys*,
Hwn yw cenaw Blaen Canaid,
Tylwythau'r blaenau'n ei blaid.
Dyma nhwy, 'strain y domen,
Sy'n arfer twyll, nid pwyll pen:
Y mae rhai'n fel brain i'n bro,
Rhai deillion yn mawr dwyllo;
Gwadu cred, gwardd y Bedydd,
Yn ffol ymdrafod â'n ffydd;

Iddewon, rhai ni ddeuant,
Eisieu serch, at Iesu Sant.
Mae ereill, luoedd mawrion,
Ar led yn haid drwy'r wlad hon;
Cywion oll o'r un cawell,
Ofer eu gwaith, nid fawr gwell;
Yn eu ffydd bob dydd ar don
Y ddaiar nag Iddewon,
A naws diawl bob nos a dydd,
Ynfydant am ail fedydd;
Gwaeliaid, ac ni a'u gwelwn
Dros Gymru'n gwresgynu gwn,
Yn ben ac yn gapteniaid
Anhydyn ar hyn o haid.
Mae llawer drwy falchder fyth
Yn hwylio'r flin wehelyth:
*Sion Miles*, nid oes un mwlsyn
Ar dir mor bengam a'r dyn;
A'r gwalch ffrom o Dredomen,
*Wiliam Thomas* bas ei ben;
Gwreiddiodd ei hud ehud e
Yn fonog yn sir Fynwe:
Urddodd ei hun, nid llun lles,
Yn fochyn yn Llanfaches;
*Thomas Sioseb*, wrthebwr,
Rhyw anynad anfad wr,
Gyr lawer o'n amser ni
A byddin gwlad i'w boddi.
*Dafydd Edward*, wr difiog,
Cellweirus anrasus rôg;
A'r hen Browd, yr un brydwyllt,
E ferai nwyf a'i farn wyllt;
*Hywel Thomas*, lew twymiaith,
A gaf yn frwd [iawn] yn y gwaith;
*Hopcin Abram* siglgam syth,
Un o halog wehelyth,
A red i'w frys 'r hyd y fro,
Dyn dall yw ef dan dwyllo;
*Harri Lewys*, rhy leuog,
Ffalsted yw gwên yr hen rôg;
Llanwa' i dric yn llunio drwg
Yn dadol yn Llandydwg;

[Llinell ar goll yma]

Trochwr mewn afon trychwyllt;
Llawer merch â'i serch y sydd
Ar fyned i'r afonydd
I'w throchi (beth yw'r achos?)
Yn wlyb gyffelyb i'r ffos.
*Dafydd Dafis*, ddibris ddyn,
A'i ddeiliaid yn ei ddilyn,
A ddysg y'nt fedydd esgawb,
Ac i gwrw yn eu bwrw bawb;
Un arall, gwalch annhirion,
A'r geneu syth, *Morgan Sion;*
*Wat Prosser* gydag eraill,
Un drud yw ef yn ei draill;
*Lewis Hafart* a'i barti
Yn troi'n awr yn ein tir ni;
*Gruffydd ab Ifan* graffaidd
A dry bob cariad o'i wraidd;
Ysgub wellt, esgob yw e,
Wr hatrog yn y rhyttre,
Yn golchi pawb o gylchon
Yn y ffrwd yn frwd ei fron.

*Edward Siams* sydd bob amser,
Ofer ei swydd, rhifwr ser,
Ac adrodd dyben gwir-drefn,
Sioncen fochwen ar ei chefn.
*Harri Fflemmin*, wr fflamog,
Yn bwn i rai 'n bena' rhôg,
Trwy'r wlad hon mae'n gylchonydd
Ar ei ol bob ffol ei ffydd.
*Rhowland Siarls* y rheolwr,
Er meddu swydd, gŵydd yw'r gwr,
A *Thomas Sion*, iaith ammhur,
Clywir o'i ben bob sen sur;
*Wiliam* y Bragwr eilwaith
Y sydd bob dydd ar ei daith
Yn twyllo'r wlad, irad yw
Ei swydd a'i anras heddyw:
Dyma'r offeiriaid ammhur,
Rhai didal sy'n cynnal cur,
Ellyllon eigion agos,
Meibion annoethion y nos,
Yn dal tybiau brydiau brith,
Llawn mallder llyn y melldith;
Ail-fedyddwyr, hudwyr hyll,
A'u tuedd at bob tywyll
Dyn a fedyddiwyd unwaith
Yn y Drindod, wiwnod waith,
Pam y cred i ail-fedydd
Yn ffest, fal yn bwnc o'n ffydd?
Crefydd iawn yw llawn wellâu,
A chadw o rwyd pechodau,
A chynnal ein tryddal trwch
Oferwaith edifeirwch;
Credu Crist â'r llais distaw
I ddyn drwy wir-ffydd a ddaw,
A chael bedydd, coel-ffydd cu,
Dewisol yng ngwaed Iesu;
Caru heddwch, cyrhaeddyd
Ofn Duw tra fo byw'n y byd;
A chawn gan uchel Geli
Y nef dragwyddol i ni.

EDWARD DAFYDD O FARGAM
*a'i cânt.*

[Edward Dafydd o Fargam ydoedd detholydd a phrif awdwr *Cyfrinach Beirdd Ynys Prydain*, a ymddangosodd o'r wasg, wedi ei olygu gan Iolo Morganwg, yn y flwyddyn 1829. Ganed ef tua dechreu y 17fed ganrif, a bu farw yn 1690. Tebygol mai yr ail enw, a roddir uchod rhwng crynfachau, oedd yr enw a roddodd yr awdwr i'r cyfansoddiad. Yr oedd Edward Dafydd yn llygattyst o'r gweithredoedd ac yn gydnabyddus â'r personau y crybwyllir am danynt yn y cywydd—cywydd y gellir yn briodol ei alw yn Gywydd Seintiau Cromwel.]

---

## Hanesion.

### AILAGORIAD EGLWYS SANT PEDR, BLAENAU GWENT.

Ar ddydd Gwyl yr Holl Saint, sef y dydd cyntaf o Tachwedd, ailagorwyd yr Eglwys uchod ar ol bod dan adgyweiriadau pwysig. Adeiladwyd yr Eglwys o ddeutu dwy flynedd ar hugain yn ol, ar y fan lle y dyrchafai yr *hen* Eglwys ei phinacl tua'r

nefoedd. Dywedir fod yr Eglwys hòno y chweched a adeiladwyd ar yr un sylfaen; a chyn i'r gweithiau haiarn a'r gloféydd ymddangos, ymfalchïai y fynwent mewn amryw o goed yw—rhai digyffelyb mewn maintioli a harddwch yn Ewrop, yn ol barn yr hen bobl. Darfu i'r tân ddifa yr hen adeilad, a'r mwg ddinystrio y coedydd, ac nid oes yn awr ond un boncyff anferth yn aros. Ychydig mewn cymhariaeth oedd nifer y boblogaeth yn amser yr hen batriarch ffyddlawn, y Parch. Daniel Rees eto yr oedd yr Eglwys yn orlawn ar y Sul, gan nad oedd Ymneillduaeth ond yn ei babanod. Yn fuan wedi adeiladu yr Eglwys bresennol, galwyd yr offeiriad gweithgar i dderbyn ei wobr, gan adael y gwaith o fugeilio y praidd i ddwylaw ereill. Fel adeilad, saif yr Eglwys bresennol yn un o'r rhai harddaf yn y Dywysogaeth. Treuliwyd 300p. yn ddiweddar mewn adgyweiriadau. Gosodwyd to byrddau arni; rhoddwyd mwswm o dan y llechi; pointiwyd y muriau oddi allan, ac addurnwyd hi oddi mewn. Ar ddydd yr ailagoriad ymgasglodd tyrfa yng nghyd, pryd y cafwyd Gwasanaethau am un ar ddeg, am dri, ac am chwech o'r gloch. Llafarganwyd y Gwasanaeth yn ddieilydd gan ficer Abersychan, a phregethodd y Parchn. Canon Griffiths, Castellnedd; W. Evans, Rhymni; a W. S. Williams, Caplan Carchardy Abertawy. Yr oedd yr Eglwys yn orlawn yn y Gwasanaeth Hwyrol, a dywedai un hen frawd ymneillduol yn ddifrifol wrth ei gyfaill, "Yn wir i chwi, 'rwi'n crettu taw yr Eglwys sy'n iawn wetti'r cyfan." Pa un ai y dull deheuig a gwresog yr aethpwyd trwy y Gwasanaeth, ai gwres mwy tanbaid hyawdledd Canon Griffiths a barodd yr argyhoeddiad sydd ansicr. Eglur yw nad oes gan y Cymro difrifol ddim adgasrwydd at hen Eglwys ei dadau pan fo offeiriaid duwiol yn blaenori. Yr ydym yn hyderu y bydd ymdrechion a llafur y ficer a'r curad presennol yn cael eu coroni â llwyddiant, ac y mynychir yr Eglwys sydd yn addurn i'r gymmydogaeth gan dyrfa fawr o ddifrifol addolwyr.

### OFERGOELEDD YR OES.

Cyhuddwyd ni y Cymry, fel cenedl, o fod yn genedl ofergoelus ac anwybodus, yn credu mewn ymddangosiadau ysbrydion, drychiolaethau, canwyllau cyrff, rheibiaeth, consuriaeth, &c. Yr oedd ofergoeledd yn frigog ddeugain mlynedd yn ol yn ein plith yn Neheudir Cymru. Yr oedd y fath ddynion a Harris Cwrt y Cadno, pendewin sir Gaerfyrddin, Nansi Glandwr, yr hen Savage, Llangurig, yn gwneyd masnach ar hygoeledd y werin. Diolch i'r HAUL a'r anfarwol Brutus, dyhuddwyd masnach y dewin o Gwrt y Cadno. Nid oes nemawr o neb ond anwybodusion yn credu hyn yng Nghymru heddyw. Ond nid y Cymry anwybodus yn unig sydd yn hygoelus. Hygoeledd mwyaf yr oes hon yw hygoeledd y *Spiritualists*, y rhai dan rith o godi ysbrydion, sydd yn lledrata y bobl o'u harian; nid y tlodion anwybodus, ond gwŷr a gwragedd cyfoethog, y rhai sydd wedi cael y ddysgeidiaeth uchaf, ac yn troi mewn cylch aristocrataidd, yw y credinwyr mewn ysbrydion. Torodd y Proffeswr Lankester a Dr. Donkin y mwgwd yn achos Slade, yr hwn oedd yn gallu galw ysbrydion o'r dyfnderoedd i ysgrifenu ar lech â phwyntel cwarter modfedd o hyd. Yn awr y mae Dr. Slade, merthyr y gyfraith, dan glo ac allwedd. Daeth Mr. Flowers, un o ynadon y Brifddinas, i'r penderfyniad nad oedd Ysbrydoliaeth ddim ond hud a lledrith, a bod yr Ysbrydolwyr yn perthyn i ddosbarth y darllenwyr tesni, cnafiaid crwydrol, ac y dylai Henry Slade gael ei gospi am dwyllo deiliaid ei Mawrhydi. Dyfarnodd Slade i dri mis o garchariad â llafur caled; ond y mae yr Ysbrydolwyr yn meddwl appelio yn ei erbyn. Os cymmer barnwyr ei Mawrhydi yr un olwg a Mr. Flowers ar y pwnc, gwneir byr waith ar Ysbrydolwyr ac Ysbrydoliaeth. Gall fod pethau yn y nefoedd a'r ddaiar nad ydym ni wedi breuddwydio am danynt yn ein philosophi, ond profodd Mr. Maskeline ar y treial y gellir gwneyd yr hyn a wnaeth Dr. Slade trwy gonsuriaeth. Y mae un arall o'r frawdoliaeth ysbrydoledig mewn helbul, sef y Parchedig Dr. Monck, unwaith gweinidog y Bedyddwyr ym Mryste. Nid ydym yn gwybod pa un ai pregethu ai codi ysbrydion oedd y mwyaf ennillfawr, ond y mae ei yrfa ysbrydol ef, fel y brawd Slade, wedi cael ei chwtogi. Daliwyd y gwr parchedig yn y fagl yn Huddersfield, lle yr oedd ef yn twyllo ffyliaid. Dygwyddodd fod un Mr. Lodge, consuriwr proffesedig, yn y *séance*. Wele ddysgrifiad o'r hyn a gymmerodd le:—"Pan ddeallais nad oeddym yn myned i gael dim yn ychwaneg, codais oddi ar y gadair, a rhoddais fy nghefn ar y drws, a dywedais i mi gael fy moddloni yn rhai o'r ymddangosiadau, a'u bod yn ymddangos yn rhyfedd i'r anghyfarwydd mewn hudgastiau. 'Ond yr wyf fi heb gael fy moddloni,' meddwn: 'ac i fod yn blaen, doctor, cefais allan eich holl gastiau. Dan yr un telerau, gwnaf yr un peth a chwithau. Cefais y pleser i ddynoethi amryw o'r cyfryngau o'r blaen, ac mi a'ch dynoethaf chwithau.' Dechreuodd cadair y doctor fyned yn anesmwyth, ac nis gallai eistedd yn llonydd, ac ymddangosai yn anneddwydd. 'Peidiwch cyffroi, doctor, yr wyf yn myned i ofyn un neu ddau o gwestiynau i chwi: a fyddwch chwi mor garedig a gadael i mi agor y blwch a'ch chwilio cyn

myned allan?' Gwaeddodd nerth ei ben yn gynhyrfus na wnai. Gofynais 'pa ham? os nad oes genych offerynau, ac os nad yw llaw yr ysbryd genych, mi a droaf yn *Spiritualist;* ac os yw yr hyn a ddywedasoch yn wir, mi a weithiaf drosoch fel teigr.' Gwaeddodd mewn llais dychrynllyd, 'Na wnaf.' Parhaodd i farchogaeth y ceffyl uchel am amser. O'r diwedd, appeliodd at wr y ty i'w amddiffyn rhag yr anfri. Dywedodd yr olaf ei fod yn barod i amddiffyn pob dyn gonest, ond yr oedd ef yn drwgdybio mai cnaf oedd y doctor. Daeth dwy foneddiges at y drws, a phan agorwyd ef, rhuthrodd y doctor allan, a tharawodd Lodge ym mon ei gern, nes oedd ef yn ei hyd, a diangodd i'w ystafell i'r llofft, a chloiodd y drws, a gwrthododd ei agor. Anfonwyd am heddgeidwad, a thorwyd y drws; ond yr oedd yr aderyn wedi dianc. Diangodd allan trwy y ffenestr, trwy gylymu *sheet* wrth y bib ddwfr. Gadawodd un o'i flychau ar ol. Galwodd droion ar Mr. Lodge: erfyniai a bygythiai bob yn ail. Cymmerwyd ef mewn dalfa, a chafwyd tri blwch yn llawn o offerynau." Pan yr ydym yn ysgrifenu, mae ei brawf heb ei orphen.

## ESGORODD,

PRYCE—Tach. 7, yn Cambray House, Caerfyrddin, priod y Parch. Shadrack Pryce, A.C., ar ferch.

## PRIODWYD,

DUCKFIELD—REES—Tach. 7, yn Eglwys Sant Pedr, gan y Parch. L. M. Jones, B.D., Mr. Edward Duckfield, â Mary Jane, merch y diweddar Mr. D. Rees, Heol y Capel, yn y dref hon.

## BU FARW,

BURNHILL—Tach. 17, yng Nglan y Fferi Mr. John Burnhill, 89 oed, o'r flwyddyn 1825 hyd 1844 yn geidwad Carchar Caerfyrddin, cyn hyny yn allweddwr yng Ngharchar Rhydychain.

MAINWARING—Hyd. 4, yn Orion, sir Richland, Wisconsin, U.D., Mr. John Mainwaring, adeiladydd, gynt o Gaerfyrddin, 86 oed.

THOMAS—Tach. 12, Mr. Wm. Thomas, mab y diweddar Mr. Enoch Thomas, 66 oed.

## Y LLITHIAU PRIODOL, RHAGFYR, 1876.

| Rhag. | Suliau a Gwyliau. | Boreu. | Prydnawn |
|---|---|---|---|
| 8 Sul | 1 Sul yn Adfent* | Esai i.<br>1 Pedr v. | Esai ii.; neu iv. 2<br>Ioan xiii. hyd 21 |
| 10 Sul | 2 Sul yn Adfent | Esai v.<br>1 Ioan iii. hyd 16 | Esai xi. hyd 11; neu xxiv.<br>Ioan xviii. hyd 28 |
| 17 Sul | 8 Sul yn Adfent | Esai xxv.<br>Dad. i. | Esai xxvi.; neu xxviii. 5—19<br>Dad. ii. hyd 18 |
| 21 Iau | Sant Thomas, Ap. a Mer. | Iob xlii. hyd 7<br>Ioan xx. 19—24 | Esai xxxv.<br>Ioan xiv. hyd 8 |
| 24 Sul | 4 Sul yn Adfent | Esai xxx. hyd 27<br>Dad. xiv. | Esai xxxii.; neu xxxiii. 2—28<br>Dad. xv. |
| 25 Llun | Y Nadolig† | Esai ix. hyd 8<br>Luc ii. hyd 15 | Esai vii. 10—17<br>Titus iii. 4—9 |
| 26 Maw. | Sant Stephen, y Mer. cyntaf | Gen. iv. hyd 11<br>Actau vi. | 2 Cron. xxiv. 15—23<br>Actau viii. hyd 9 |
| 27 Mer. | Sant Ioan, Ap. ac Efeng. | Ecs. xxxiii. 9<br>Ioan xiii. 23—36 | Esai vi.<br>Dad. i. |
| 28 Iau | Dydd y Gwirioniaid | Ier. xxxi. hyd 18<br>Dad. xvi. | Baruch iv. 21—31<br>Dad. xviii. |
| 31 Sul | 1 Sul gwedi'r Nadolig | Esai xxxv.<br>Dad. xxi. 15 hyd xxii. 6 | Esai xxxviii.; neu l.<br>Dad. xxii. 6 |

* Y Colect am y Sul cyntaf yn Adfent i'w arfer gyda'r Colectau ereill yn Adfent hyd y nos cyn y Nadolig.

† Y Salmau Priodol: Boreu—19, 45, 85; Prydnawn, 89, 110, 132. Credo Sant Athanasius i'w arfer. Y Rhagymadrodd Priodol yng Ngwasanaeth y Cymmun i'w arfer hyd Ion. 1. Colect y Nadolig i'w arfer hyd y nos cyn Calan.

CARMARTHEN:

Printed and published by WILLIAM SPURRELL, at his Printing Office, situate and being at No. 37, King-street, in the Parish of Saint Peter, in the County of the Borough of Carmarthen, on Thursday, the 30th of November, 1876.

# CYNNWYSIAD.



× 24 chapter altering

CYNNWYSIAD.



SPURRELL, ARGRAFFYDD, CAERFYRDDIN.

